# CYNNWYSIAD.

# Y TRAETHODYDD.

---

## GWIR WERTH ADDYSG.

Y MAE yn debyg y gall y TRAETHODYDD gymeryd yn ganiatäol fod pob un o'i ddarllenwyr, dros ryw gyfran o'i oes, wedi mwynhâu mwy neu lai o'r hyn a elwir yn addysg. Ond odid nad ellir cymeryd y ffaith ei fod yn un o'i ddarllenwyr, fel prawf boddhâol o hyn. Ond a ystyriaist ti, ddarllenydd hoff, pa beth oedd dyben mawr dy addysgiad, ac ymha beth yr oedd ei wir werth yn gynnwysedig? Os do, da y gwnaethost; os naddo, eistedd i lawr ychydig fynydau, a bydded i ti a minnau gael ymddyddan difrifol a chyfeillgar ynghylch hyn; ac ymdrecha feddiannu dy amynedd tra y byddwyf yn amcanu gwasgu at dy ystyriaeth y fath wirioneddau â hyn,—mai dyben mawr addysg, yn ei berthynas â thydi, ydyw dy wneuthur yn ddyn, ac yn gyfryw ddyn ag y mae Duw yn ymhyfrydu ynddo; ei fod yn estyn nid dros gyfran o'th oes, ond yn rhedeg yn gyfochrog â'th dragywyddol barhâd; ïe, mai yr un, o'u holrhain i'w gwraidd, yw bywyd dyn a'i addysgiad. O herwydd pa beth yw bywyd dynol? Ai tyfiant corfforol, ychwanegiad at ronynau y cnawd, cylchrediad y gwaed, cnöad a threuliad bwyd, anadliad a chwsg? Na ato Duw! canys yna, ni byddai dyn ond anifail. Bywyd dyn ydyw dadblygiad graddol ei alluoedd, tyfiant a bywiogrwydd ei holl fôd, a chynnydd yr enaid. Nid bywyd mo hono ond i'r graddau ag y mae yn addysgiad, neu ddadblygiad yr enaid.

*Yr enaid*, meddaf; o herwydd *fod* enaid a gymeraf yn awr yn ganiatäol, fel fy modolaeth a'm unoliaeth personol fy hun; ac nid cynt yr ammheuwn y blaenaf na'r olaf. Gwirionedd ydyw, nid i'w brofi drwy ffurfiau cyfreswm, ond i'w deimlo yn ngwres ymwybodolrwydd; a thruenus yn wir yw cyflwr yr hwn na ddeffröwyd erioed i deimlad o hono. Pa beth yw yr enaid hwn, pa berthynas sydd rhyngddo â phethau eraill mewn natur, pa gysylltiad sydd rhyngddo â gïau, ymenydd, neu waed, pa mor agos berthynas ydyw i'r cylla neu i'r cyllnodd, gadawaf i eraill benderfynu; ond o fodolaeth y *reality* hwnw, ag sydd yn rhoddi gwerth a sylweddolrwydd i bob peth arall—i ser, a moroedd, a mynyddoedd, heb son am *galvanic batteries*, a pheirianau bwyd-dreuliol—nac ammheued neb. O bob peth sylweddol, hwn yw y mwyaf—yr ardderchocaf; yn rhinwedd hwn y mae gwir yn wir, a dyn yn ddyn, ac fel dyn yn gallu llefain—

> "Fy ysbryd a gaethgluda'r bydoedd fry,
> A gwasga'u cyfoeth allan."

Yr enaid hwn, gan hyny, yr hwn sydd o herwydd fy mod i, neu yn hytrach o herwydd yr hwn yr wyf fi, yw ffaith sylfaenol fy modolaeth—

ffynnonell fy mywyd. Y mynyd cyntaf y daethum yn ymwybodol o hono, yw y mynyd y ganwyd fi i fywyd. Hyd hyny, nid oeddwn ond *embryo;* er hyny, yr ydwyf yn ddyn. Pa beth bynag yw, neu y gall dyn fod, enaid yw hyny. Pa beth yw ei hanfod, ni pherthyn i mi ymholi; o herwydd onid enaid yw y gwir *Sphinx*, yr hon y mae mynegiad ei dammeg yn ddinystr i'w bodolaeth? O herwydd pe gallem ddyweyd pa beth yw enaid, ei ddarostwng i ddeddfau, olrhain ei weithrediadau, a gosod i lawr ei derfynau, pa beth a ddeuai o'r ENAID hwnw, yr hwn, o herwydd ei fod yn anghynnwysadwy, yn anolrheinadwy, ac yn anamgyffredadwy, a'm synai â'i ddirgelwch, tra ar yr un pryd, y gwnai i mi deimlo cymaint uwchlaw yr hyn ag yr oedd ef ei hun yn ei gynnwys ac yn ei derfynu? Na fydded i mi ofyn, gan hyny, pa beth ydyw? Digon i mi wybod mai hwn sydd yn rhoddi gwerth ar ddyn, a gwerth ar bob peth arall i ddyn; yn rhwymo yr oll wrthyf fi, ac yn fy nghysylltu i â'r Anfeidrol.

Enaid, meddaf, ydyw mesur gwerth dyn; wrth yr hyn y golygaf nid, bid sicr, ei werth marchnadol, fel anifail neu aradr, ond ei werth ysbrydol, fel cyfrwng dadguddiad yr Anfeidrol. Enaid, meddaf eto, sydd yn rhoddi gwerth ar bob peth arall; nid, mae yn wir, y gwerth sydd yn tynu llygad y trethwr, ar ba un y mae yn sylfaenu ei raddfa ardrethol; ond y gwerth sydd yn tywynu ar lygad y deall, ac yn cyfoethogi y galon; y gwerth ag y mae yr enaid yn ei roddi ar bob peth, trwy ei gylchynu â'i gogoniant ei hun, anadlu iddo ei fywyd ei hun, a'i gyfnewid i'w ddelw ei hun. Holl ogoniant a mawredd natur, i'r enaid yn briodol y perthyn. Prydferthwch gwirionedd yw mai adlewyrchiad Ysbryd ydyw; a pha faint bynag o werth sydd yn y blaenaf, ac o gynnwys yn yr olaf, cymaint a hyny o werth a chynnwys sydd yn enaid dyn.

Cymaint a gwerth yr enaid yw pwysigrwydd ei ddadblygiad. Pa beth bynag o werth sydd yn mywyd dyn, sydd yn mywyd yr enaid; o herwydd bywyd yr enaid yw bywyd dyn. Dadblygiad ac amlygiad cynnyddol y bywyd ysbrydol mewnol hwn sydd yn cyfansoddi hanfod a sylwedd, dechreu a diwedd addysg. Fel pob bywyd, y mae ei ffynnonell a'i ganolbwynt o fewn, o'r hwn le y mae yn myned allan. Dyma fel y treigla llif bywyd bob amser, oddifewn—allan; nid oddiallan—i fewn. Gwir fod y gorchwyliaethau a'r dylanwadau sydd yn cynnal ac yn addfedu bywyd oddiallan, fel y defni gwlaw a'r haulwen sydd yn llifo ar y blodeuyn. Ond nid yn y defnyn grisialaidd sydd yn curo arno, na'r pelydryn serchiadol sydd yn chware â'i ddail, y mae bywyd y blodeuyn, ond o fewn; yn yr enaid hwnw sydd yn ymlawenychu ynddo ei hun, tra yn ymgilio yn wylaidd rhag carwriaeth anfwyn y naill, neu yn yfed serch o gusanau tyner y llall. Felly gyda dyn; y mae ei gynnydd a'i fywyd yn tarddu oddifewn iddo. Y mae ei gynnydd yn gynnwysedig yn ymddadblygiad ei alluoedd ei hun. Gellir dyweyd fod yr oll o'i ddyfodol, y cyfan o'r hyn a fydd ar ol hyn, yn gynnwysedig ynddo yn awr, gyda mwy o briodoldeb nag y dywedir fod y dderwen ddyfodol wedi ei rhwymo i fyny yn mesen y dydd heddyw. O herwydd rhaid i'r fesen, neu yn hytrach egwyddor bywyd o'i mewn, sugno llawer oddiallan iddi ei hun, cyn y gall ddyfod yn dderwen; ond yr enaid nis gall gynnyddu ynddo ei hun. Nid unrhyw ychwanegiad at ei faint neu ei gynnwys gwreiddiol yw ei gynnydd, ond ei ymweithiad graddol i oleuni ymwybodolrwydd. Ymagoriad yr enaid ydyw helaethiad cylch gwybodaeth, fel y blaguryn yn agor deilen ar ol deilen, nes dyfod yn rhosyn

gwridog llawn. Gelwir y "meidrol" felly, o herwydd ei fod yn "fesuradwy" gan, ac yn gynnwysedig yn yr enaid. Priodol, gan hyny, y dywedai Plato, "Dyn ydyw mesur y grëadigaeth."

Os ydyw hyn mewn un gradd yn anhawdd ei amgyffred neu ei gredu, yr achos yw ein bod yn byw yn ormodol o'r tu allan i ni ein hunain; ac mewn canlyniad wedi arfer ein hunain i edrych ar ddyn fel rhan o natur, yn lle edrych ar natur fel rhan o ddyn, fel cysgod allanol o ysbryd. Y mae natur, fel y cyfryw, hyny yw, fel cyfundrefn fawr o ddealltwriaeth, cysondeb a harddwch, yn bodoli yn a thrwy yr enaid. Heb ddyn, byddai natur* yn anmhosiblrwydd. Dywedwch, os mynwch, y gallai y crynswth, y sylwedd, pa beth bynag yw, y mae y meddwl yn ei wisgo â'r ffurfiau, lliwiau, perthynasau, a'r cysonderau hyn, hanfodi yn annibynol ar y meddwl; beth er hyny? Nid natur fyddai hyny, o herwydd y mae natur yn rhagdybied deddf, dyben, cysondeb, undeb; a pha fodd y gall y pethau hyn hanfodi yn annibynol ar feddwl yn canfod ac yn gweithredu? "Perffeithrwydd uchaf athroniaeth naturiol," medd Coleridge, "fyddai perffaith ysbrydoliaeth holl ddeddfau natur, nes eu dyfod yn ddeddfau ymwybyddiaeth (*intuition*) a deall. Rhaid i ymddangosiadau (*y sylweddol)* ddiflanu yn hollol, a rhaid i ddeddfau (*y ffurfiol*) yn unig aros. O hyn y daw fod yn natur ei hun, fel ag y mae egwyddor deddf yn dangos ei hun, y plisgyn yn syrthio ymaith, yr ymddangosiadau eu hunain yn dyfod yn fwy ysbrydol, ac o'r diwedd yn darfod yn hollol yn ein hymwybodolrwydd. Nid ydyw ymddangosiadau *optical* ond mesureg goleuni, ac y mae materolrwydd y goleuni hwn ei hun eisoes wedi dyfod yn beth ammheus. Yn ymddangosiadau attyniad (*magnetism*) y mae pob ôl o fater yn colli; ac o ymddangosiadau dysgyrchiad, yr hyn y mae llawer o'r Newtoniaid mwyaf enwog wedi ei gyhoeddi yn anamgyffredadwy, ond ar y dybiaeth ei fod yn ddylanwad ysbrydol uniongyrchol, nid oes dim yn aros ond ei ddeddf; gweithrediad yr hon, ar gynllun ëang, sydd yn cyfansoddi symudiadau y bodau nefol. Bydd egwyddor athroniaeth naturiol yna wedi ei pherffeithio, pan y profir fod holl natur yr un o ran hanfod a'r hyn sydd yn ei ffurf uchaf o nerth yn bodoli mewn dyn, fel dealltwriaeth a hunanymwyddiaeth; pan y bydd y nefoedd a'r ddaear yn dadgan nid yn unig allu eu Gwneuthurwr, ond gogoniant a phresennoldeb eu Duw, fel yr ymddangosodd i'r prophwyd mawr, yn ngweledigaeth y mynydd, yn ngodre ei ddwyfoldeb."†

Sylwer eto pa fodd, trwy ysbrydoli natur fel hyn, y mae undeb uwch yn parhâus ddangos ei hun; fel y mae nid yn unig ymddangosiadau yn ymgolli mewn deddfau, ond fel y mae y deddfau hyn drachefn yn ymgolli mewn deddfau eraill uwch, fel ag y mae llawer o rywiau yn ymgolli mewn un *genus*, a'r *genus* hwnw eilwaith yn gynnwysedig mewn un uwch; a pha fodd drwy ymddyrchafu fel hyn o uchel i uwch, ac o uwch i uwch fyth, y mae dyn yn rhwym o gyrhaedd o'r diwedd y ddeddf gyffredinol hono ag sydd yn cynnwys yr holl grëadigaeth ynddi ei hun, yr hon ddeddf, pa beth a all fod ond gweithrediad ysbryd? O herwydd pa beth yw pob deddf ond gweithrediad ysbrydol, gwaith ysbryd yn cyfuno, yn cysoni, yn cysylltu

* I ochel camgymeriad, fe allai y dylid egluro mai wrth natur yn yr ysgrif hon y golygir y byd allanol, neu wrthddrychol *(objective)*, ag sydd yn hanfodi y tu allan i'r meddwl, ac o herwydd hyny, yn wrthddrych gweithrediadau y meddwl; a'i fod yn cynnwys pob peth meidrol ag sydd yn allanol i ymwybyddiaeth yr enaid, ac nid i synwyrau y corff yn unig.

† Biographia Literaria, chap. xii., lle y caiff y darllenydd grynodeb byr ond cyflawn o egwyddorion sylfaenol athroniaeth.

ynghyd? Y mae deddf yn ei natur yn ysbrydol, pa beth bynag yw natur yr hyn y mae yn amlygu ei hun ynddo. Y mae deddfau dysgyrchiad, symudiad, a chrisialiad, ynddynt eu hunain mor wirioneddol ysbrydol â deddfau y meddwl, er mai mewn careg, neu bluen, neu rew, y maent yn dangos eu hunain. Gan mai gweithred ysbrydol ynte ydyw deddf, a chan mai un cyfangorff o ddeddfau ydyw natur, oll fel cynifer o freichiau, a mânfysedd ymwahanol yn cael eu huno ynghyd mewn un ddeddf fawr ysbrydol, pa beth ydyw natur ond ysbryd neu feddwl yn gweithredu mewn amser a lle? Tynwch ymaith y meddwl, ac ni fyddai na deddf, nac amser, na lle, yn bodoli; o herwydd ffurfiau ydyw y rhai hyn, o dan ba rai y mae y meddwl yn amgyffred bodolaeth. Nid oes, ac nis gall fod ganddynt un safle ond yn y meddwl; a hwnw, daliwch sylw, yn feddwl meidrol, o herwydd i'r Meddwl Anfeidrol y mae deddf yn ymgolli mewn bodolaeth; amser yn dyfod yn dragywyddoldeb, a lle yn anfeidroldeb.

Trwy dy enaid di, ddarllenydd, o ganlyniad, y rhoddir bod i'r oll a weli, a glywi, ac a deimli. Y nefoedd a'r ddaear, y ser a'r môr, y coed a'r blodau, goleuni a gwres, ffeithiau dy enaid di ydynt wedi eu traws-symud, a'u trawsosod megys o'r tu allan i ti dy hun. Ond odid nad wyt ryw dro wedi gweled gweithrediad yr hyn a elwir y "*magic lantern.*" Yr wyt yn cofio dy fod yn cael dy gau mewn ystafell dywyll, a bod offeryn yn cael ei ddwyn i mewn yn gynnwysedig o ganwyll, gwydrau, a darlun, wedi eu cyfosod yn y fath fodd ag i daflu adlewyrchiad mwyedig o'r darlun ar y pared tywyll, neu ar len estynedig. Tybia yn awr fod y darlun bach hwnw yn cael ei gynnysgaethu â bywyd ac ymwybodolrwydd, a'i fod yn alluog i weled ei ddelw adlewyrchedig ei hun, i ganfod ei ysgogiadau, ac i feddwl ac ymsynio yn ei gylch; fe allai y bydd hyn yn rhyw gynnorthwy bychan i ti ddeall *y berthynas* rhwng Duw, dyn, a natur.* "Goleuni yw Duw." Y meddwl ydyw y darlun. Amser a lle yw yr edafedd cymhlethedig sydd yn gwneyd i fyny y llen ar ba un y darlunir y grëadigaeth.† Y goleuni anfeidrol yn llifo trwy dy enaid di: dy enaid dy hun wedi ei *brojectio* y tu allan i ti dy hun, ac yn gweithredu mewn amser a lle yn llewyrch y Duwdod: dyna yw y byd allanol. "Beth yw lliwiau yr enfys? Beth yw tegwch y lili? Beth yw pob dymunoldeb daearol? Y mae y cwbl yn cael eu cynnyrchu gan oleuni y byd tragywyddol, yr hwn sydd yn tywynu trwy feddwl dyn, ac yn gwisgo yr holl grëadigaeth â phrydferthwch."‡ Yr ysgogiadau mawrion, y symudiadau aruthrol, ag yr wyt ti yn eu canfod ar y llen, ysgogiadau a symudiadau dy ysbryd ydynt. Yr heuliau, y bydoedd, y cyfundraethau mawrion, a weli di yn cylchdroi yn y rhodau, gwirioneddau dy fod di ydynt, wedi eu gosod i droi yna. Y cymylau duon sydd yn crogi uwchben, y mellt bolltenawg sydd yn gwibio trwyddynt, a'r "taranau dreigiau draw" sydd yn carlamu drostynt—cysgodau y tymhestl-elfenau sydd o'th fewn ydynt. Y dysgleirdeb tanbaid sydd yn goleuo gwyneb y grëadigaeth, y

* Gocheled y darllenydd gario y gymhariaeth yn ddim pellach nag fel help i ffurfio rhyw feddwl ynghylch *y berthynas* a nodir.

† "These (Space and Time) as spun and woven for us from before birth itself, to clothe our celestial ME for dwelling here and yet to blind it, lie all-embracing as the universal canvas, or warp and woof whereby all minor illusions in this Phantasm Existence weave and paint themselves."—Carlyle, "Sartor Resartus." Gwneir y dyfyniad hwn ac eraill, yn arbenigol er mwyn y cyfryw o'n cyfeillion llênyddol ag sydd mor dra hoff o gyfarfod â meddyliau gwŷr mawr yn nghyfansoddiadau eu hefelychwyr bychain.

‡ "Athroniaeth Coleridge," TRAETHODYDD, Llyfr II, tu dal. 334; neu, Y TRAETHODYDD YN AMERICA, Rhif. 1, &c, tu dal. 111.

gogoniant nefol sydd yn cysgu arno, yr harddwch dwyfol sydd yn ymledu drosto—gogoniant a harddwch ysbryd ydyw.

Y mae yn canlyn oddiwrth hyn nad ydyw dyn wrth ddyfod i ymgydnabyddiaeth â'r grëadigaeth drwy ei deddfau (o herwydd trwy ei deddfau yn unig y mae dyfod i ymgydnabyddiaeth â hi), yn dyfod i feddiant o ddim ag oedd yn flaenorol o'r tu allan iddo ei hun. O ganlyniad, nid oes modd ychwanegu at yr enaid, neu roddi ynddo yr hyn nad oedd ynddo o'r blaen. Dyben addysg, o ganlyniad, ydyw, nid cyfranu iddo, ond tynu allan o hono (yr hyn yw ystyr priodol y gair Saesoneg *educate*); ei wneuthur yn ymwybodol o'r ffeithiau, y deddfau, a'r gwirioneddau sydd yn gorwedd yn guddiedig yn ei ddyfnderoedd ei hun. Nid rhywbeth ydyw gwybodaeth i'w dywallt i'r meddwl fel dwfr i lestr gwag; ond hedyn o fywyd i'w wresogi, a'i fywiocâu, a'i dynu allan. Nid ymhlith y ser y cafodd Newton afael ar ddeddfau attyniad; ond yn ei enaid ei hun, yn ei ystafell wrth oleuni hwyr ei lamp. Y mae yr un deddfau yn dy enaid di, fy nghyfaill, ond i ti droi dy lygaid i mewn i syllu arnynt. Nid yn y byd allanol y darganfyddodd Euclid briodoleddau y cylch (*circle*). Nid oes cylch perffaith yn bod ond yn yr enaid, a'r enaid sydd yn dyweyd y cyfan am dano. Dacw athronydd yn Paris yn olrhain deddfau ei enaid fel y maent yn cael ei harddangos yn symudiadau y ser. Nid yw ei lygad corfforol yn alluog i ganfod y tu hwnt i bedwar mur yr ystafell y mae yn eistedd ynddi; ïe, y mae yn ammheus a ydyw yn gweled dim ond y papyr gwŷn a'r ffugyrau brithion o'i flaen. Y mae bron gorphen ei *broblem*. Y mae ei lygaid yn fflachio, ei dalcen yn gwrido, a'i law yn crynu gan y cyffro sydd yn ei feddiannu. Dacw fe yn taro y ffugr olaf i lawr, ac yn neidio i fyny, gan waeddi Eureka! Eureka! "Mi a'i cefais!" Pa beth? BYD! Ië, trwy ddilyn deddfau ei enaid, y mae wedi cael allan fod byd arall yn rhwym o hanfodi; ac nid hyny yn unig, ond ei faint, ei bellder, a'i sefyllfa; o herwydd y mae yn ysgrifenu at gyfaill o seryddwr, gan ddyweyd "Tro dy yspïenddrych i'r cŵr a'r cŵr o'r nefoedd, yr amser a'r amser, a thi a gei weled byd newydd." Y mae y seryddwr yn gwneyd, ac yn ei weled!

Pob darganfyddiad, gan hyny, ag y mae meddwl dyn yn ei wneuthur, darganfyddiad ydyw o'r hyn oedd o'r blaen yn guddiedig yn y meddwl ei hun. Pob byd newydd a ychwanegir at ei grëad, gwirionedd ysbrydol ydyw. Felly wrth gynnyddu mewn gwybodaeth, cynnyddu y mae mewn ymgydnabyddiaeth âg ysbryd yn ngweithrediadau ac ymddangosiadau ei ddeddfau hanfodol.

Gallwn ymhellach weled *yr anghenrheidrwydd* o hyn, pan ystyriom nad oes ond yr ysbrydol a all foddloni ysbryd. Nis gall mater, fel crynswth marw, ei foddloni, mwy nag y gall cibau a phlisgion y ddaear foddhâu un o blant y nef ag sydd wedi arfer ymborthi erioed ar ei manna a'i nectar. Fel y nefolanedig Psyche yn crwydro y ddaear am ei chariad nefol, felly yr ymchwilia yr enaid am wirionedd a harddwch ysbrydol. Ar y cyntaf, y mae yn wir dan ddylanwad math o syndod, gyda theimladau gordyner, a chalon agored i'r cariad cyntaf sydd yn ymgynnyg iddi; y mae yn rhoddi ei hunan i fyny yn gaethes i ymddangosiadau daearol, ac yn

"Anghofio 'r harddwch welodd gynt,
A'r llys breninol o ba un y daeth.*

* "Earth fills her lap with pleasures of her own;

Y mae yr hudoles fawr, Synwyr, yn ei denu i'w chastell swynedig, yn arledu ei gwleddoedd danteithiol o'i blaen, yn ei meddwi â phleserau dyeithr, a chyda'i hudol gerddi twyllodrus yn ei swyno i gysgu. Ond cyn hir torir y gyfaredd, chwelir y breuddwyd, diflana'r castell a'i swynion, ac y mae hithau yn deffro ac yn cael ei hun yn unig ynghanol anialwch. Yna y dychwel ati weledigaethau o harddwch ysbrydol, y mae prydferthion anfarwol ei chartref fry yn ymlithro i'w chof, ac y mae hiraeth diderfyn yn ei meddiannu i ail fwynhâu yr hyn y mae wedi ei golli. Yna y mae yn ymgodi, ac yn crwydro anialwch y byd mewn ymchwiliad am yr harddwch ysbrydol, y beroriaeth angelaidd, a'r pleserau nefol, pa rai yn unig, o hyn allan, a'i boddlonant. Yna, y mae ei Thad nefol yn tosturio wrth ei hunigedd a'i hanghen, ac yn peri i haul ei ogoniant gyfodi i oleuo y grëadigaeth, a lluchio ei belydrau fel mantell dros bob peth, nes y mae yr enaid yn llawenhâu ac yn gorfoleddu—fel aderyn ar ol tymhestl, pan y bydd yr haul yn tori allan o'r tu cefn i'r cwmwl du, ac yn bedyddio y byd â'i oleuni. Y mae yn gallu dywedyd yn ngeiriau y bardd :—

"Mi deimlais Wyddfod mawr yn fy nghyffroi
A'i londer cryf mewn derch feddyliai sydd,
Ymwybodolrwydd uchel o ryw beth
Mwy dwfn yn dywalltedig drwy bob peth,
Sydd yn cartrefu 'n ngoleu machlud haul,
A'r weilgi gron, a'r awyr fywlawn fry,
Ac yn y wybren las, a meddwl dyn :
Ysgogiad, ysbryd sydd yn gweithio 'n mlaen
Bob peth meddyliol, meddyliedig sydd,
A thrwy bob peth yn treiglo."

Y mae ysbryd gan hyny yn hunan-ddychweliadol. Y mae yn ceisio ei hun drwy bob peth. Nis gall natur fel y mae yn feidrol ei foddloni. Y mae yn ceisio ei hun yn natur, gan ymwthio drwyddi at yr Ysbryd anfeidrol sydd o'r tu cefn. Yn y grëadigaeth, rhaid iddo gael nid casgliad mawr o bethau, ond un cyfanwaith byw; nid pentwr o unau *(units)*, fel pentwr o geryg ar fin y ffordd, ond adeilad ysbrydol fel hen *Gathedral* ardderchog, yn cenedlu parch ac addoliad, a'i holl feini wedi symud i'w lle dan ddylanwad cerddoriaeth Amphionaidd deddf ddwyfol harddwch. Beth oedd

"Lluniau amgyffredadwy yr hen Feirdd,
A dynolderau teg crefyddau hen,
Yr Harddwch, Nerth, a'r Mawredd ag oedd yn
Mynychu 'r glynoedd a'r mynyddoedd pîn,
Neu 'r goedwig wrth y ffrwd, neu 'r ffynnon glir,
Neu 'r ogof, neu dyfnderoedd dwfr,"

ond cynifer o dystion o'r reddf annilëadwy hon ? Ac er fod y "rhai hyn wedi diflanu, ac nad ydynt fyw mwyach yn ffydd rheswm," y mae'r hen reddf er hyny yn fyw, ac yn cynhyrfu dyn i ysbrydoli'r cyfan, ac i chwilio

Yearnings she hath in her own natural kind,
And, even with something of a mother's mind,
And no unworthy aim,
The homely Nurse doth all she can
To make her Foster-child, her Inmate Man,
Forget the glories he hath known,
And that imperial palace whence he came."—WORDSWORTH.

ymhob peth am arwyddlun *(symbol)* o wirionedd, ffurf gorfforol i ryw feddwl ysbrydol, pelydryn o oleuni o'r haul nefol. Os nad yw mwyach yn poblogi'r goedwig a'r afon â bodau Dwyfol, yr achos yw, am fod fforest a ffrwd eu hunain yn llawn o wirioneddau ysbrydol o ddwfn a chyfoethog ystyr. Os nad yw mwyach yn rhoddi ei dduw ei hun i'r awyr, y môr, y tân, a'r dyfnder, hyny sydd, am ei fod yn gweled pob un yn llawn o'r Presennoldeb ysbrydol hwnw sydd yn bywhâu pob peth. Os yw y duwiau wedi ffoi o blith y ser, nid yw y ser yn llai dwyfol o ddyfod yn heuliau, yn gyfundraethau, ac yn gyfundraethau o gyfundraethau, yn troi o amgylch gorsedd y Goruchaf.

Yma, gan hyny, y gorwedd natur a dirgelwch cynnydd ysbrydol dyn. Y mae dadblygiad ei enaid yn anhebgorol er dadblygiad ei ddynoliaeth—yn un o anghenrheidiau ei fod, heb yr hyn nis gall barhâu yn ddyn, oherwydd rhaid naill ai i'r ysbrydoliad *(spiritualisation)* hwn fyned ymlaen ynddo ei hun, ac ymhob peth arall yn ei berthynas âg ef, neu yr hyn sydd yn wrthwyneb iddo. Rhaid iddo fyned naill ai yn fwy ysbrydol neu yn fwy cnawdol. Rhaid iddo naill ai gwneyd y grëadigaeth yn eiddo iddo ei hun, neu, gael ei gymeryd yn eiddo gan fyd y synwyrau, a dyfod yn rhan o hono.

Yma hefyd gwelwn werth addysg fel dadblygiad galluoedd dyn. Y mae athroniaeth addysg yr un ag athroniaeth bywyd, yn gymaint a bod y naill fel y llall yn dibynu ar berthynasau gwirioneddol dyn â'r byd oddiallan; yr hwn fyd, fel y sylwyd eisoes, sydd yn derbyn ei bwysigrwydd oddiwrth yr enaid, ac oddiwrth ei anhebgorolwydd i wybodaeth yr enaid, o'r deddfau a'r ffeithiau sydd ynddo ei hunan. O herwydd wele ddirgelwch; sef fod ysbryd, er yn egwyddor, yn ffynnon, ac yn wrthddrych gwybodaeth, er hyny yn analluog i'w adnabod ei hun ynddo ei hun. Y mae yn crëu delw allanol o hono ei hun, er mwyn adnabod ei hun ynddo. Fel hyn y mae y naill yn anhebgorol i'r llall; ac fel ag y byddai elfenau y byd naturiol yn hollol ddiwerth ar wahân oddiwrth yr egwyddor o fywyd ag y maent wedi eu cymhwyso a'u bwriadu i'w gynnal,—tra ar y llaw arall, nas gallasai y bywyd hwnw bara am fynyd awr heb gael ei gynnal gan yr elfenau hyny—felly byddai y grëadigaeth yn hollol farw a diwerth heb yr enaid, yr hwn sydd yn rhoddi iddi gysondeb, bywyd, a harddwch,—tra y byddai yr enaid yr un mor farw oni bai fod presennoldeb y grëadigaeth yn dylanwadu arno, fel y Gwanwyn ar y ddaear iâ-rwymedig, yn peri iddi ymagor mewn blodau a pherarogl; ac os yw y gwirionedd cyntaf yn bwysig fel prawf o werth yr enaid, nid yw yr olaf yn llai felly fel prawf o werth natur—fel cynnwysydd yr hyn ag y mae yr enaid drwy ei wybod yn ymagor ac yn dyfod yr hyn a ddylai fod. O herwydd ni bydd i'r hedyn ysbrydol o fewn dyfu i fyny a blaguro yn ngardd Duw, os gadewn ef yn y cysgodau sydd yn amgylchynu ei ddyfodiad i'r byd, mwy nag y bydd i'r hedyn naturiol wedi ei adael ar y graig noeth, mewn ogof oer, dyfu i fyny yn hardd o lun ac yn dlws o liw. Yn hytrach bydded i'r hen ddaearfam ei fynwesu â gwres ei chalon, bydded i'r haul-dad ei fendithio â'i wên bywhäol, bydded i'r awelonchwiorydd beroriaethu yn llawen tra yn dawnsio o amgylch ei gryd, a bydded i'r wybrenau wlawio eu dylanwadau bendithlawn arno; ac fe dyf, ac a êl yn bren mawr, a daw adar y nefoedd i nythu a chanu yn ei gangenau.

Gan mai peth perthynol i'r meddwl fel meddwl ydyw gwybodaeth, y

mae yn canlyn fod pob perchen meddwl yn feddiannol ar holl elfenau gwybodaeth. Yr hyn sydd yn wybodadwy i ddyn, y mae yn wybodadwy i ti, ddarllenydd. Yr hyn a ellir ei ddeall a'i amgyffred gan un, gellir ei ddeall a'i amgyffred gan bawb. Y deddfau a ddarganfyddodd Pythagoras, Euclid, a Kepler, y maent yn hanfodi yn dragywyddol yn dy ddeall di. Syniadau uchel, nefoldreiddiol, bydamgylchol Plato, Shakspeare, a Milton —fel y nerthoedd tanddaearol ag sydd yn glöedig yn ystafelloedd y ddaear, yn anweledig ond i lygad yr Anfeidrol, nes o'r diwedd y maent yn ysgwyd i lawr furiau eu carchar, ac yn crynu y ddaear â'u camrau—felly y mae y rhai hyn yn ymweithio yn ddirgel mewn rhyw gongl o'th enaid, gan ddysgwyl amser eu rhyddhâd. Llawer bachgen oddirhwng dwy gorn yr aradr, na feddyliodd neb fod ei feddwl yn cyrhaedd ddim pellach na blaen y swch oedd yn agor y dywarchen o'i flaen, a welwyd pan oedd un o feibion athrylith yn dadblygu rhyw feddylddrych gogoneddus o'i flaen, â'i enaid yn tanio, a'i lygaid yn dysgleirio fel bardd yn edrych ar weledigaeth o brydferthwch. O dan y trwch o gnawdolrwydd oedd wedi caenenu dros ei deimladau, o dan yr hunlle o ddylni oedd yn gwasgu ac yn llewygu ei ddyn oddimewn, yr oedd enaid byw. Y galon ddifywyd ag oedd yn ymddangos mor farw â'r dywarchen o dan ei draed,—yr oedd cysylltiad rhyngddi â chalon fawr y grëadigaeth, ac yn alluog i gydguro â hi mewn undeb a phob peth sydd yn oruchel a hardd. Y meddylddrych gogoneddus hwnw—yr oedd yn cysgu yn dawel yn nghilfachau ei enaid, ynghanol miloedd eraill o rai cyffelyb, hyd nes y daeth Athrylith heibio, gan gyffwrdd âg ef â'i dewinffon, nes y llamodd i fyny fel ysbryd o brydferthwch. Fe ddaw yr amser pan yr adgyfodir yr holl ysbrydoedd meirw hyn, ac y gwel y dyn fyd newydd o'i fewn na freuddwydiodd am dano erioed. Yr enaid ag sydd yn llawenhâu yn ngoleuni byrbarhäol y fellten sydd yn ymsaethu drwy y tywyllwch, fe ymlawenhâ hwnw yn ngoleuni yr hafddydd tragywyddol yn y man.

Yn llyfr y meddwl y mae y *gwirioneddau* tragywyddol wedi eu hargraffu; ond yn natur y mae y *llythyrenau* â pha rai y maent wedi eu hargraffu. Cymylau, ser, coed, blodau, moroedd, mynyddoedd, anifeiliaid, dynion, ffurfiau, lliwiau, seiniau, dyma y llythyrenau, ac yn y rhai hyn y mae darllen y meddwl. Nid y naill heb y llall. Y mae y byd oddifewn, o syllu arno ynddo ei hun, yn gaddug o dywyllwch; tywyllwch, fe allai, o herwydd "gormod goleuni," ond er hyny, tywyllwch i ddyn. Y mae y byd allanol ar wahân oddiwrth ysbryd yn dryblith o bob peth crëedig, wedi eu hyrddio ynghyd mewn cymysgedd dibendraw, ac fel gronynau llwch mewn corwynt yn cael eu hysgubo ymlaen, heb reol, trefn, na deddf yn ein golwg ni. Ond pan y mae ysbryd yn ymddangos, y mae yr annhrefn yn gostegu, tryblith yn dyfod yn drefn, anghydseiniau yn ymdoddi mewn cynghaneddion, hwrlibwrli yr elfenau yn dyfod yn ddawns brydferth y tymmorau, y bydoedd yn rhedeg wrth bwys a mesur, llwybr yr eryr drwy y cymylau bythsymudol yn dyfod yn llinell arianaidd o oleuni, a'r "ddeilen weddw olaf" yn syrthio i'r bedd y mae llaw Hollalluog wedi ei ddarparu iddi. Megys ag yn y nos y mae golygfëydd prydferthaf natur yn ymddangos fel y ddaear yn y dechreuad "yn afluniaidd a gwag," pob gwrthddrych yn ymwthio o'n blaen fel drychiolaeth, ac ysbryd y tywyllwch yn lledu ei esgyll duon dros bob peth, yn nghysgod gwywol pa rai y mae pob blodeuyn tlws a gwelltyn îrlas fel yn ymgilio mewn diflandod, nes o'r diw-

edd y mae'r haul yn dyfod gan chwalu cysgodau marwolaeth, ailfywhâu y blodau, a dadguddio y prydferthwch oedd yno o'r blaen,—ond yn anweledig. I feddwl yr anwarddyn y mae tudalen o Lyfr y Dadguddiad mor ddiystyr â'r marciau sydd yn cael eu hysgrifenu ar y tywod; i'r meddwl deallgar y mae yn ddrych sydd yn adlewyrchu gogoniant y Jerusalem nefol. Felly i'r difeddwl y mae y byd allanol yn gyfrol o arwyddluniau diystyr; ond i'r meddwl, ac yn enwedig y meddwl addolgar, y mae yn dyfod yn ddadguddiad o'r cysondeb, y trefn, a'r harddwch anfeidrol sydd yn bodoli yn Nuw.

I ysbryd, gan hyny, y dadguddir natur, ond o anghenrheidrwydd i ysbryd yn gweithredu ac yn meddwl. Y mae natur yn wybyddus i ni yn unig mor bell ag y mae yn cael ei huno âg ymwybodolrwydd yr enaid. O hyn y tardd yr anghenrheidrwydd am weithred feddyliol yn effeithio yr undeb hwnw, yn dwyn natur i mewn i'r ymwybyddiaeth. Yr enw a roddir ar y weithred hon ydyw—*meddwl.* Y weithred o feddwl, gan hyny, ydyw—cael meddwl yn natur; mewn geiriau eraill, cael deddf a chysondeb yno, a gwneyd gweithrediadau natur yn un â deddfau ysbryd, a thrwy hyny meddiannu natur fel eiddo yr ysbryd. Cyn y gallaf wybod dim rhaid i mi ei wneyd yn eiddo i mi fy hun. Er enghraifft, yr wyf yn cymeryd i fyny lyfr i'w ddarllen. Os ar ol ei ddarllen y byddaf yn alluog i adrodd ei gynnwys air am air o'r dechreu i'r diwedd, a wyf o herwydd hyny i dybio fy mod yn ei wybod? Nac wyf mewn un modd. Rhaid i mi ei drawsblanu i fy enaid, ei ailgynnyrchu o'm mewn, cael ynof fy hun yr holl gyflyrau, yr holl feddyliau, yr holl deimladau a ddesgrifia. Gynifer sydd wedi rhedeg dros areithiau Hamlet, ïe, wedi sefyll ar y chwareufwrdd yn esgidiau Hamlet, heb erioed ei adnabod,—heb erioed wneyd ei enaid yn enaid iddynt eu hunain,—heb erioed gael ynddynt eu hunain y dyfnder hwnw o drueni o ba un yr oedd Tywysog Denmark wedi ei ddarostwng, pan nad oedd y ffurfafen ag oedd yn ymddangos i'w lygad barddol yn "do gogidog wedi ei dryfritho â thânau euraidd, i'w galon ond cydgasgliad ffiaidd a heintus o darth!" Gwybod unrhyw beth, fy nghyfaill, yw rhoddi dy law arno ger gŵydd y grëadigaeth, a'i hawlio yn wrol fel yr eiddot dy hun. Taro arno sel dy enaid ydyw. Gwybod y gwir, ydyw ei sylweddoli ynot dy hun—ei wneuthur yn ganolbwynt dy deimladau,—yn wraidd dy ysgogiadau, yn fywyd dy weithrediadau. Gwybod egwyddor ydyw ei gwneuthur yn egwyddor dy feddwl di. Gwybod deddf ydyw ei chael fel un o anghenrheidiau dy fod; yr hon y mae ei bodolaeth yn anhebgorol i gyfanrwydd *(integrity)* dy reswm. Gwybod natur yw gwybod pob peth yn ei ddeddf; a chael pob deddf yn yr enaid.

Y mae yn canlyn fod y weithred o feddwl yn anhebgorol er cyrhaedd gwybodaeth o wirionedd ysbrydol, mai hi ydyw offeryn dadblygiad yr enaid; ac o ganlyniad fod *meddwl*, a thrwy feddwl *gwybod*, yn ddyledswydd arbenig ar bob dyn. Y mae dyn yn fawr yn ol graddau dadblygiad ei enaid; y mae helaethrwydd y dadblygiad hwn yn cyfateb i'r hyn y mae wedi ei feddwl; dangoseg o'r hyn y mae dyn wedi ei feddwl ydyw ei wybodaeth, o ganlyniad y mae dyn yn fawr yn ol graddau ei wybodaeth. Sylwa, fy nghyfaill, nid wyf yn dyweyd gwybodaeth o'r gwyddorau, y celfyddydau, ieithoedd, rhifnodau, a ffeithiau; o herwydd gwn yn dda fod aml un ag sydd wedi rhedeg drwy holl gylch gwybodaeth brif athrofäol, ac wedi gorlenwi celloedd ei gof â gwersi, gosodiadau a ffeithiau, heb fod er y cwbl

yn ddim amgen na llyfr yn rhodio, wedi ei rwymo, fe allai, fel y dywedwyd am un, mewn croen llo! Nid yr hyn y mae dyn wedi ei ddarllen, nid yr hyn y mae wedi ei dywallt i gwd y côf, nid nifer y ffeithiau y mae yn gyfarwydd â hwynt, ydyw mesur ei wybodaeth; ond yr hyn y mae wedi ei feddwl, yr hyn y mae wedi ei ganfod a'i ddarllen o'r byd ysbrydol o'i fewn —ac y mae llawer un wedi darllen mwy o hyn yn y mynyddoedd oesol, ag sydd fel cynifer o golofnau wedi eu codi gan y gallu Dwyfol i gynnal i fyny y ffurfafen a "ledodd ei law;" yn y môr mawr llydan sydd yn ymestyn o'n blaen fel tragywyddoldeb, neu yr llynoedd gloewon ag sydd fel dafnau wedi eu taenluchio ganddo pan yn ymgynhyrfu gan "nerthoedd y byd a ddaw;" yn y llwyn deiliog, côr yr "eurog engyl ar gangau," neu'r blodau gwychion ag sy fel garlantau angelion wedi syrthio i liniau yr hen ddaear; yn y ser sydd fel "eneidiau o oleuni," yn edrych i lawr mor ddifrifol, mor ddystaw, ac eto mor serchoglawn pan y mae

"Nos dawel yn dystewi,—caddug
Yn cuddio 'r Eryri,
Yr haul yn ngwely 'r heli,
A'r lloer yn arianu 'r lli;"

ac uwchlaw y cwbl yn yr hen Fibl llwyd, sydd yn cyfansoddi, fe allai, holl lyfrgell y bwthyn, ac er hyny yn dysgu mwy na'r cyfan ynghyd; a thrwy y pethau hyn wedi dyfod i wybod, i deimlo, ac i amgyffred mwy am Dduw, dyn, tragywyddoldeb, amser, daioni, enaid, a dedwyddwch, syniadau a ffeithiau mawrion eu dynoliaeth, nag eraill a allant enwi y ser, rhifo y llysiau, ac adrodd hanes y byd er dyddiau Adda hyd yn awr. Y "Galileaid anllythyrenog ac annysgedig" hyny, onid oeddynt yn fwy na'r holl Rabbiniaid titlawg, dysgedig, ac anrhydeddus aelodau y Sanhedrim? Mohammed ddiddysg, onid oedd yn fwy na doethion y Dwyrain? Gwir; ond onid oeddynt yn gwybod mwy? Onid oedd y pysgotwyr tlodion hyny wedi gweled ac wedi bod yn ymddyddan â'r Gwirionedd Dwyfol ei hun, wedi ei wisgo mewn dynoliaeth, yr hwn oedd yn guddiedig oddiwrth y gwir barchedig Rabbi dyfnddysg yn ngwybodaeth y Talmud, a gwir anrhydeddus aelod y Sanhedrim, yn nghlôg ei urddas Seneddol? A'r "breuddwydiwr" Arabaidd hwnw gyda'i gipolygon, er mor anmherffaith ar "enaid pethau," a'r gweledigaethau nefol a ddysgynent i'w ogof fynyddig, ai ychydig ai ynte llawer a wyddai? Yma, fy nghyfaill, yr ydym mewn perygl o syrthio i gyfeiliornad pwysig, ag sydd y dydd heddyw yn cynnyrchu effeithiau tra niweidiol mewn barn ac ymarferiad, sef mai gwrthddrych y deall yn unig yw gwirionedd; nad yw yn golygu dim mwy na chysylltiad athronyddol ffeithiau; mai trefniad daearegol creigiau, neu ddosbarthiad llysieuol planigion, neu raddiaeth milodol *(zoological)* anifeiliaid ydyw, i gael ei gyflwyno i'r llygad,—ei gymeryd i mewn gan y deall,—a'i ddal gan y côf; nad ydyw gwybod o ganlyniad yn ddim rhagor nag amgyffred a chofio, ac mai talfyriad o Eirlyfr Noah Webster, neu o'r Gwyddionadur Cymreig, ydyw dyn. Golygiad tra hannerog, ïe, hollol ddarniol o'r gwirionedd; ac fel pob golygiad o'r fath, gau hollol! Dangoswyd o'r blaen fod gwybodaeth yn cynnwys uniad natur âg enaid; hyny ydyw, nid rhan o natur a rhan o'r enaid, ond yr oll o natur a'r oll o enaid. Gwneyd yr holl enaid yn ymwybyddol o bob gwirionedd ydyw. Ac yn y gwirionedd y mae nid yn unig wybodaeth wyddorol, perthynasau athron-

yddol, a chysondeb rhesymegol; ond hefyd cysondeb moesol, trefn ysbrydol a harddwch, yr hyn nid yw amgen na gwirionedd yn ei berffeithrwydd puraf; a gwybod ydyw dyfod i gydymdeimlo â hyn oll, nid yn unig deall a chofio, ond teimlo, caru, ac addoli!* Nid yw y deall ond gallu yr enaid, na'i ddiwylliad ond rhan o addysg yr enaid. Y mae ei swyddogaeth yn nghynnydd ysbrydol dyn rywbeth yn debyg i eiddo y llaw yn ei gynnydd corfforol, sef dwyn dyn i ymgydnabyddiaeth âg a meddiant o'r hyn sydd o'r tu allan iddo ei hunan. Gwir fod y deall yn gystal a'r llaw yn cyfranogi o'r cynnydd cyffredinol i'r hyn y maent yn wasanaethgar; ond byddai yr un mor rhesymol haeru mai dyben ymarferiad corfforol ydyw cynnydd y llaw, y dylai dyn weithio a llafurio er mwyn cael llaw cawr, a dyweyd y dylai feddwl a llafurio am wybodaeth er mwyn cynnyrchu deall cawraidd. Ar addysg y deall y mae addysg yr enaid yn ymddibynu; oherwydd drwy y deall yr ëangir cylch perthynasau yr enaid, a pho ëangaf y byddo hwn, mwyaf oll fydd i'w amgyffred, i'w deimlo, a'i garu. Y mae pob gwirionedd a dderbynir gan y deall yn wledd i'r enaid. Fel y wraig yn y ddammeg, y mae deall yn galw ynghyd ei chwiorydd a'i chymydogesau, ac yn dyweyd wrthynt, "Cydlawenhëwch â mi, canys cefais berl." Ac y mae yr holl enaid yn y fan yn cynnal jubili. Y mae'r Cof yn llawen, o herwydd fod ganddi drysor newydd i'w gadw ac i ymloni ynddi fel y cybydd yn ei olud; Rheswm, oherwydd fod dolen newydd wedi ei hychwanegu at gadwen euraidd bodolaeth; Dychymyg, o herwydd ei bod wedi dyfod i feddiant o èm newydd ag y gall ryw ddiwrnod ei gerfio a'i gaboli yn syniad barddonol harddach na'r Koh-i-noor; y Serch, o herwydd fel y dywed y bardd—

*"A thing of beauty is a joy for ever;"*

a'r Ewyllys, ymhob helaethiad ar gylch y gwybyddus, ac ymhob ëangiad ar yr enaid, fod ganddi safle lletach a chadarnach i weithredu arno. Y mae y dyn nid yn gynneddf fwy, ond yn ddyn mwy. Enaid yn gweled, ac yn teimlo, ac yn caru, ac yn meddiannu, ac yn defnyddio, ac yn gweithredu, ydyw enaid yn gwybod.

O hyn allan, ynte, dealler yn eglur mai gwirionedd ydyw—bôd yn cael ei gofleidio gan yr holl enaid; ac mai gwybodaeth ydyw—gwaith yr enaid yn cofleidio yr oll o Fôd. Nid oes cynneddf mewn dyn nad oes ganddi ei rhandir yn natur, na gwirionedd yn natur nad oes cynneddf i'w dderbyn mewn dyn. Y mae uchelderau a dyfnderau yn natur yn cyfateb i holl gyrhaeddiadau yr enaid; ffurfiau deallol i ateb i bob amgyffrediad; harddluniau i ateb i bob gradd o deimladrwydd, a chyfoeth o gariad i fendithio pob dymuniad. Y mae perffeithrwydd dyn, gan hyny, yn cyfateb i berffeithrwydd ei ymgydnabyddiaeth a'i gydymdeimlad â bôd cyffredinol, fel mewn trefn i fod yn ddyn, y mae yn anhebgorol anghenrheidiol iddo ei

* Yn unol a'r uchod nid yw yr ysgrifenydd yn petruso dadgan ei argyhoeddiad o'r anghenrheidrwydd i addysg mewn trefn i fod yn berffaith, fod nid yn unig yn ddeallol, ond hefyd yn foesol a chrefyddol. Nid digon goleuo y pen, rhaid addysgu y galon hefyd. Calonau llygredig mewn cysylltiad â dealltwriaethau cryfion sydd yn cyfansoddi prif ddyhirod cymdeithas. Anathronyddol hollol, heb son am anghristionogol, ydyw cau allan o gylch gwybodaeth, y wybodaeth sydd er iachawdwriaeth yr enaid. Nid yw yn canlyn oddiwrth hyn y dylid dwyn pynciau athrawiaethol a chyfundraethau crefyddol i'n hysgolion. O drugaredd y mae egwyddorion mawrion crefydd yn annibynol ar bob ffurf, a gellir eu cyfranu mewn dull a ennilla gydsyniad cyffredinol, oherwydd eu sylfaeniad ar egwyddorion tragywyddol y gwirionedd.

gydnabod, ac yn ddifrifol, ac yn fwyfwy difrifol ymdrechu i'w ddyrchafu ei hun drwy ëangu ei wybodaeth, hyd nes mewn perffaith wybodaeth, cariâd, ac addolgarwch, y bydd ei enaid wedi cyrhaedd perffaith ddadblygiad.

Yma, o'r diwedd, yr ydym yn dyfod o hyd i ddyben mawr addysg, yr hyn yw gwneuthur dyn yn ddyn—dwyn allan a dadblygu holl ragoriaethau—holl gynnwysderau—a holl ëangderau ei natur; ac y mae tybio ei fod yn ddim llai na hyn, nid yn unig yn dyb anghyflawn, ond hollol a gwreiddiol anghywir. O herwydd y mae y dyben hwn mor ddwyfol, mor oruchel, ac mor anfeidrol uwchlaw unrhyw les tymmorol all ddeillio trwyddo, fel ag y mae ei iselu at hyny yn ddirmyg ar y gwirionedd. Gwneyd addysg yn rhywbeth israddol, yn fath o brentisiaeth i fasnach a chrefft—beth ydyw ond darostwng yr ysbrydol i'r cnawdol—rhoddi y dwyfol islaw yr anifeiliaid—gwneyd enaid yn gaethwas i'r corff? Prisio gwybodaeth yn unig fel un o elfenau llwyddiant, gwerthfawrogi y gwir yn unig fel cyfrwng cyfnewid, nid yw ond un ymhlith gwahanol ffurfiau eilunaddoliaeth y dyddiau diweddaf hyn, ag sydd yn ymdaflu o flaen lloiau aur. Yr anferthaf hefyd o gelwyddau ymarferol ydyw; o herwydd pa beth ydyw ond dyweyd y caiff y nerthoedd ysbrydol a'r galluoedd dwyfol sydd mewn dyn fod yn gaethion i'n synwyrau cnawdol; y caiff y meddyliau hyny sydd yn "crwydro drwy dragywyddoldeb;" fod yn lleteiod gwarthus i'n blysiau corfforol; y caiff y syniadau, ar ba rai y mae yr Anfeidrol wedi argraffu ei ddelw, ffurfio rhan o'n cylcharian, a bod yn gyfnewidiadwy am bynau cotwm? Beth ydyw, mewn gair, ond dyweyd fod dyn yn anifail, enaid yn ffug, bywyd yn freuddwyd, a thragywyddoldeb yn gelwydd? Nis gall dim fod yn fwy galarus i'r meddwl difrifol, na phrofi yn gryfach nad ydym eto, gyda'n holl ymffrost yn nghylch cynnydd a diwylliad, ond megys un cam o gyflwr o farbareidd-dra ac anifeileidd-dra, na gweled addysg, diwylliad ysbrydol dyn, yn cael ei gamwyro fel hyn i'r dybenion mwyaf annheilwng; ei weled yn cael ei brisio a'i werthfawrogi yn gymhwys fel nerth march, neu nerth ager, o herwydd ei gymhwysder i wneyd arian; cael fod yr holl fyd o'r bron yn ystyried addysg dyn ar ben pan y gall gyfrif llôg, cadw llyfrau a mesur ei ffarm, tra y mae y grëadigaeth gyfan o wirionedd heb erioed wawrio ar ei lygad gan gynneu fflam cariad ac addoliad yn ei galon! "Yr wyf fi yn gwybod digon i fy nghrefft," ebai un. Da iawn, fy nghyfaill; ond a wyddost ti pa beth yw dy grefft? A wyddost ti mai crefft y crefftiau, y grefft ag sydd yn cynnwys pob crefft ynddi ei hun, y flaenaf a'r benaf o'th holl ddyledswyddau, yw bod yn ddyn, ac a wyddost ti yr oll sydd yn anghenrheidiol i hyn? A ddadblygwyd dy holl enaid? A ddygwyd pob gwirionedd o'i fewn i oleuni y dydd? a yw pob hedyn a gynnwysa wedi dwyn ffrwyth perffaith? Cred, fy nghyfaill, mai y cyntaf o'r holl wirioneddau ag y mae llwyddiant dy enaid yn dibynu arnynt, yw fod pob gwybodaeth i'w cheisio er ei mwyn ei hun; fod y gwirionedd i'w geisio, nid am y gall fod yn ddefnyddiol i dy grefft, ond am ei fod yn hanfodol i dy ddynoliaeth; fod yn rhaid i dy enaid gael gwirionedd neu drengu; ei fod mor anhebgorol iddo â goleuni i'r llygad, neu awyr i'r ysgyfaint; fod yn rhaid i dy enaid gael gwirionedd am yr un rheswm ag y mae yn rhaid i'th gorff gael ymborth ac awyr, o herwydd hebddo nis gelli fyw,—nis gelli fod yn ddyn. Ni wadaf nas gelli fod y debyg i ddyn: gelli wisgo fel dyn, bwyta fel dyn, cerdded fel dyn, edrych fel dyn; ond pa le y bydd dy ddyndod? I'th ddilledydd gelli fod yn ddyn, o herwydd yr wyt yn hysbysiad rhâd rhodianol o'i ffasiynau new-

yddaf; i dy bobydd gelli fod yn ddyn, o herwydd yr wyt yn difa ei dorthau; i dorf gegagored y ffyliaid gelli ymddangos yn ddyn, o herwydd yr wyt o bosibl yn cario côd drom; ond i dy Dduw—Duw y Gwirionedd Tragywyddol, yn fflamiad llygad llosgadwy yr Hwn y mae pob celwydd yn ymgrebachu ac yn myned yn ddim—a wyt yn rhywbeth heblaw ffugiwr a dynwaredwr dynoliaeth? Ow! gynifer o erthyliaid sydd yn y byd yma, heb erioed eu geni i fywyd, heb erioed ddechreu byw! cyrff yn rhodio, oddimewn yn waeth na gwag! Yr ydym yn cofnodi enwau a rhif y rhai y dywedwn ni eu bod yn marw, hyny ydyw, yn rhoddi o'r neilldu y wisg farwol sydd am eu hysbrydoedd; ond beth am y rhai sydd yn meirw o'r farwolaeth ysbrydol yma yr hon sydd yn ganmil mwy torcalonus a thruenus? Pwy a wyla ac a alara ar ol y rhai hyn?

Yr ydym yn clywed llawer y dyddiau hyn am ddefnyddioldeb; defnyddioldeb y peth hwn a'r peth arall. *Cui bono?* I beth y mae dda? Beth yw ei werth? Y rhai hyn a'r cyffelyb yw maenprofion mawr y dyddiau hyn. Nid yw dyn ei hun yn dianc rhag tynghed pob peth marchnadol; o herwydd y mae yntau, y fath yw brasgamiadau dynoliaeth yn yr oes hon, yn cael ei restru gyda'r hyn ellir ei brynu a'i werthu. Dygir yntau i'r farchnad, ac am dano yntau y gofynir, pa ddefnydd a ellir ei wneyd o hono? Llïosog a gwahanol yw atebion dysgyblion diweddar Socrates a Bacon, tra y safant yn y farchnadfa a'u breichiau ymhleth, gan byffio eu *Havana's;* ac aneirif yw y defnydd a wneir o hono. Anferthol yw'r pentwr bwyeill sydd wrth faen llifo un; aruthrol yw y mynyddoedd o bridd at ba rai y mae un arall yn cael ei arwain gyda ei gaib a'i ferfa; a thu hwnt i bob rhifyddiaeth yw rhifedi y moch ag y mae rhyw Epicurus garedig yn ei besgi ar ei gyfer; o herwydd, bid hysbys i ti, O fy nghyfaill, mai hogi y bwyeill yna, a cheibio y baw yna, a llyncu y moch yna, oll ond y blew, dyma ddybenion ardderchog ein bodolaeth! Y mae natur hefyd yn destun chwilfrydedd neillduol gyda'n Hathronwyr mygdarthol; dros ei gwyneb yr anadlir cymylau eu hysbrydoliaeth, tra ymhlith ei chlogwyni a'i mynyddoedd yr adseinia y gofyniad diddiwedd, I ba beth y mae dda? Dirif ydyw ei defnyddioldeb hithau. Y mae digon o haiarn ynddi i bedoli asynod y grëadigaeth, a digon o lô i rostio yr "anifeiliaid ar fil o fynyddoedd;" y mae yn peri i ddigon o dybaco dyfu i gyfansoddi nefoedd holl genedlaethau dyfodol y ffyliaid, a digon o garth i grogi pob cnaf hyd ddiwedd y byd. Ardderchog yn ddiau yw y defnydd ellir wneyd o honi! Fel pe byddai teml fawr y Duwdod, ag y mae wedi ei ddewis i fod yn breswylfod ei fawredd a'i ogoniant, wedi y cwbl yn ddim amgen na chistle, neu ydlan i'w grëadur! Fel pe byddai y bryniau tragywyddol ag sydd fel allorau yn y deml, yn arogldarthu hwyr a boreu tua'r orsedd fawr uwchben, yn ddim ond chwarelau ceryg a llech! Fel pe byddai yr Eden hardd sydd yn gwenu mor siriol o'n hamgylch yn fuddiol i ddim ond i godi cloron a maip! Fel pe byddai y coedwigoedd pîn ag sydd yn gorwedd ar y ddaear, fel cysgodau gwyrddion bryniau y nef, wedi eu taflu yma yn unig i borthi ein melinau llifio! Fel pe byddai y llygaid gleision mawrion, drwy ba rai y mae y ddaear yn hoffi edrych i fyny tua'r nef, yn ddim ond dyfrffosydd i gludo nwyddau! Fel pe byddai yr wybr ogoneddus, sydd fel llygad y Cariad Tragywyddol yn edrych i lawr i galon dyn, yn ddim amgen na gwyntyr neu gorn mŵg! Defnydd yn wir! Pa hawl sydd genym ni i honi y fath ddefnydd a hyn, a dim ond hyn i babell yr Ydwyf Mawr, a

chodi ein bythod marchnadol ymhob congl o honi, gan ei throi yn ogof lladron? A dybenion natur—beth a allwn ni obeithio ei wybod am y rhai hyn? Onid digon i ni wybod *ei bod*, yn ei holl ogoniant, mawredd, harddwch, diogelwch, lled, uchder, a dyfnder, i ni ei hadnabod, ei theimlo, ei charu, a'i meddiannu? A dybenion dyn—i ba beth y dyrysit dy ben, fy nghyfaill anwyl, yn nghylch defnyddioldeb dy hunan bach, yr hyn ond odid sydd eithaf distadl yn y diwedd? Beth yw i ti pa ddyben y mae dy fywyd unigol di yn ei ateb yn nghanol rhyferthwy y Bywyd Cyffredinol? Pa fodd y deui byth o hyd i baham a pha fodd dy fodolaeth? Drwy ba reol rhifyddegol y dysgwyli weithio allan y *broblem* ddiddiwedd hon? Paid a syfrdanu dy hun ac eraill yn ei chylch, a thro dy hun at ddyben mawr eglur dy fywyd. "Y dirgeledigaethau sydd eiddo'r Arglwydd;" un peth sydd amlwg, dy fod wedi dy fwriadu yn ddyn. Bydd dithau yn ddyn, a bydd sicr na fydd dybenion a defnydd dy fodolaeth yn ol o ddyn. Os wrth fod yn ddyn y cei fod yn anghenrheidiol i ti ddifa moch, codi maip, gwneyd pedolau, cymynu coedwigoedd, Edeneiddio anialdiroedd, dofi'r fellten, haiarnrwymo cyfandiroedd, a phriodi'r Dwyrain â'r Gorllewin, gwna hyny; ond na freuddwydia am foment mai *er mwyn* hyn yr wyt yn bodoli, ond i ddyben ardderchocach, hyd yn nod na hyn, nid llai nag i fod yr oll ag y gall y natur ddynol fod; yr hyn y bwriadodd y Jehofa Tragywyddol i ti fod pan y y dywedodd, "GWNAWN DDYN AR EIN DELW EIN HUN." Hyn a geiff fod yn nod dy fywyd, bod yn ddyn. Syrthio'n fyr o hyn yw syrthio yn fyr o bobpeth; bod yn fethiant truenus, yn rhith, yn rhan, yn *au*-fôd; ïe tydi, er mor sylweddol a gwirioneddol yr wyt yn ymddangos, ac yn tybio dy fod, a thi yn unig o'r oll a wnaeth Duw. O herwydd y mae pawb eraill o grëaduriaid Duw yn dyfod yr hyn y bwriadwyd iddynt fod. Y mae dy loiau yn dyfod yn wartheg gwirioneddol; yn eu bywyd rhoddant ddigonedd o laeth corddadwy, ac wedi marw y maent yn gwneyd *beef* anwadadwy. Y mae dy ŵyn yn dyfod yn ddefaid bob un, yn dwyn cnwd tew blynyddol o wlân, ac yn eu henaint yn troi yn gigfollt o'r fath dyneraf. Dy foch hefyd—beth am danynt hwy? Diau nad ysbrydion o foch mo honynt—yn alluog nid yn unig fel pob moch i weled y gwynt, ond pe byddai raid i farchogaeth y gwynt—ond moch cwmpasog, blonegog, llydanochrog, dilygad, diwddf, digoes. Ond beth am danat ti, eu porthwr? Prin y byddai yn werth dy gneifio di; lled anhawdd, yr wyf yn coelio, gwneyd lledr o dy groen di; a phorc ammheus iawn, yr wyf yn ofni, a wnelai dy gnawd di, hyd yn nod mewn *Bologna Sausage!* Beth gan hyny a elli di fod? Bwriadwyd i ti fod yn ddyn; dyn yn unig a elli di fod. Peidio bod yn ddyn yw bod yn —ddim!

Y mae yn bryd deall a chredu yn awr ac am byth, fod gwybodaeth i bawb—fod yr oll o wybodaeth i bob un; o herwydd fod gwirionedd yn perthyn i ddyn fel dyn, pwy bynag, pa le bynag, a pha beth bynag a fyddo. Etifeddiaeth pob dyn ydyw byd ysbrydol y gwirionedd. Nid ydyw deddfau y nefoedd yn caniatâu *monopoly* ynddo. Nid etifeddiaeth dosbarth, na gradd, na phersonau penodol mo hono, ond eiddo pawb, ïe, dy eiddo di, apostol y gaib a'r rhaw. "O!" medd apostol y gaib, ond odid, "Gallaf fi wneyd yn eithaf heb eich dysgeidiaeth a'ch gwybodoeth chwi. Pa help fydd eich gwybodaeth i mi at geibio? Fe fyddai torth o fara a llercyn o gaws yn fwy o werth na thunnell o'ch llyfrau i mi at drîn y gaib; ac o'm rhan i, yr wyf yn meddwl fy mod i a fy nghaib wedi gwneyd

llawn cymaint o'm hol ar y byd yma a chwi, pobl y llyfrau yma; er bod llyfrau yn burion yn eu lle am wn i." Gwir, O apostol! mawr yw y gaib, a mawr yw y rhaw, a mwy, pe credit, ydwyt ti, apostol y gaib a'r rhaw; ac uniawn y bernaist mai dyfnach y disgynai y gaib i'r clai, a thrymach y rhawiad bridd a defli trwy fwyta bara a chaws, na thrwy fwyta llyfrau. Ond attolwg, O ardderchocaf apostol! ai dwy law i gydio yn y gaib, a dwy ysgwydd i drîn y gaib, a cheg a chylla i fwyta bara a chaws, ai hyn sydd yn gwneuthur i fyny dy holl gynneddfau? Hyn, a dim ond hyn? Ai bara a chaws wedi bod dan oruchwyliaeth y cylla yw swm a sylwedd dy holl ddynoliaeth? Hyn, a dim ond hyn? Rhagorol yn ddiau yw bara, ac enwog yw caws; ond onid oes rhyw gongl fach o'th fewn,

> Lle y byddai i'r newyn bara
> Er i Ferwyn fod yn fara,
> Ac na fyddit damaid haws
> Er i'r Wyddfa fod yn gaws?

Dal at y bara, ac ymhyfryda yn y caws; ond tâl ychydig o sylw i'r rhan hono ag sydd yn rhywbeth amgen na bara a chaws, nas gall bara a chaws ei digoni; fe allai y cei allan ryw dro mai dyma'r rhan ardderchocaf o honot. Anrhydeddus yn ddiau yw y gaib, ac ardderchog yw y rhaw, a hawdd y gelli fod mor falch o honynt ag un teyrn o'i deyrnwialen; ond ystyria fod ynot ti, ïe, ynot ti, apostol y gaib a'r rhaw, gynneddfau all hwylio y gwynt a llywio y fellten, a'th wneyd yn apostol nerth a goleuni; ïe, a ddichon gloddio i mewn i fynyddoedd tragywyddoldeb, a'th wneyd yn apostol gwirionedd a dwyfoldeb.

Er mwyn dyn y gwnaed y grëadigaeth, ac nid dyn er mwyn y grëadigaeth. Y mae hi yma, yna, acw, o'i ol, o'i flaen, o'i amgylch, er mwyn i ddyn ei gwneyd yn eiddo iddo ei hun. Y mae wedi ei lledu o'i flaen mewn harddwch anghymharol er mwyn iddo yfed ei phrydferthion i'w enaid, nes y llifant hefyd allan o hono. Y mae ei chynghaneddion swynol yn nofio o'i amgylch er mwyn i dànau ei enaid gael eu cyweirio i'r un beroriaeth. Y gwirionedd ag sydd uwchlaw pob peth arall yn yr oes hon yn galw am ein crediniaeth ydyw, mai yn yr enaid yn unig y mae gwerth aufeidrol; ac o ganlyniad, mai er mwyn yr enaid y mae pob peth meidrol yn hanfodi. Daear, gyda'i harddwch annhraethadwy, a nef gyda'i gogoniant annherfynol—wedi eu bwriadu i gyfoethogi calon, ac i fendithio enaid dyn, y maent. Dy ddyledswydd, o ganlyniad, fy nghyfaill, tuag at Dduw a thuag atat dy hunan, ydyw dwyn dy galon i undeb â gwirionedd a harddwch bodolaeth. Trosedd yn erbyn Duw ydyw esgeuluso arfer dy gynneddfau yn y modd ac i'r dybenion a drefnodd efe. Onid oes genyt lygaid? ac onid yw hyn yn profi fod rhywbeth i'w weled, a bod dy lygaid di i edrych arno! Ydyw; a thra y mae awyr las, a chymylau aml-liwiog yn grogedig uwch ben, coed gwyrddleision, maesydd meillionog, blodau na wisgwyd Solomon yn ei holl ogoniant fel un o honynt, a'r "dwyfol wynebpryd dynol" o'th amgylch, oll fel gweledigaethau dwyfol i ddyrchafu dy galon at yr Harddwch Tragywyddol—pechod a fyddai i ti gau dy lygaid a mellditbio dy hunan â dallineb. Onid oes genyt glust? ac onid yw hyn yn profi fod rhywbeth i'w glywed, a bod dy glust dithau i wrando arno? Ydyw; a thra y mae cerddoriaeth natur yn swnio yn dy glywedigaeth, tra y mae y môr yn dwfn ruo wrtho ei hun, yr afonydd yn dystaw sibrwd eu cân wrth y dolydd, yr awelon yn araf suo y dail i gysgu, a'r côr adeiniog yn

"Difyru â'u llefau llon
Wybren nefawl, bro Neifion;"

a tra y mae llais cariad a serch yn dyferu o wefusau y rhai sydd hoff genyt —cam â daioni y nefoedd fyddai i ti gau dy glustiau, a dedfrydu dy hunan i fyddardod. Ac onid oes genyt feddwl? ac onid yw hyn yn profi fod rhywbeth i'r meddwl hwn ymwneyd âg ef? Diau; *y mae* Byd o wirionedd "na welodd llygad, na chlywodd clust, ac na ddaeth i galon dyn" freuddwydio am ei gyffelyb—byd nad ydyw harddwch yr enfys pan, fel ael y Goruchaf, y mae yn gwenu ar yr ystorm ddiflanol—dysgleirdeb y ser pan, fel llygaid angelion, yr yspïent o'r tu cefn i groglen barthedig y nef ar fyd yn cysgu—neu ogoniant y Gorllewin pan y mae

'R Haul i lawr i'r heli li
'N ymwyro i ymoeri,—

ond adlewyrchiad gwanaidd o hono, fel adlewyrchiad yr haul yn y gwlithyn crynedig;—byd ag sydd nid yn unig yn hardd ond yn harddwch;—byd nad ydyw cerddoriaeth mil leisiog natur ond adsain egwan o hono, fel adsain rhuad y môr yn ystafelloedd y gragen. O fy mrawd, pa beth yw dyn, er mwyn yr hwn y mae hyn oll yn bodoli? Ai un o anifeiliaid gweithgar y maes, a'i ran yn y bywyd hwn, yr hwn y mae ei anadl yn syrthio i'r ddaear? Ai olwyn mewn peiriant, tröell nyddu mewn *factory*, neu faen mewn melin? Na ato Duw! Ond yr hyn y geilw Shakspeare ef, "harddwch y byd;" yr hyn y geilw Novalis ef, "Messïas natur," ei Heneiniog, yn yr hwn y cyflawnir ei haddewidion cyfoethocaf; yr hyn y galwai Ioan Aur-enau ef "y gwir Shechinah," trwy yr hwn y tywyna gogoniant yr Anfeidrol; yr hyn y geilw y Gair Dwyfol ef "delw yr Elohim," yr hyn sydd yn cynnwys yr oll o'r lleill, a mwy nag y gall tafod dyn ei draethu byth.

Gan mai y cyfryw ydyw dyn i fod, a chan mai gwneuthur dyn yn gyfryw ydyw ei addysgu, yn helaethaf a gwir ystyr y gair, bydded i'r gwirionedd yn awr apelio at bob un gyda'r nerth a'r awdurdod ag y mae ei dragywyddol bwysigrwydd yn ei deilyngu; tra y mae gwirionedd i'w wybod, harddwch i'w deimlo, neu ddaioni i'w wneyd yn eiddo i ni, y mae ein dynoliaeth yn anghyflawn, a'n haddysg yn anmherffaith. Pa bryd y gellir dyweyd mewn gwirionedd am danom ein bod "wedi gorphen ein hysgol," Duw yn unig a ŵyr. Nid yn y byd hwn, bid a fyno. Yn y lle cyntaf, y mae darganfyddiadau oesoedd o lafur meddyliol i'w gwneyd yn eiddo i ni. O'n blaen y gorwedd y gwirioneddau a gynauafwyd gan bob meddwl ymhob oes, o bob cŵr o'r grëadigaeth, i'w meddiannu genym ni. A thu draw i hynyna oll y gorwedd y tiriogaeth ëang, ëang, gwirionedd anoresgynedig, lle nad ydyw ysbryd dyn eto wedi bod; o herwydd nid ydyw adenydd ysbryd eto ond wedi yn brin gyffwrdd âg ymylon bodolaeth. Y mae dirgelion dirif yn y nefoedd a'r ddaear yn dysgwyl am y dewin, wrth wregys yr hwn y crog y galluoedd a'u hegyr. Y mae gan y ser gyfrinion yn nghadw heb eu sibrwd wrth un glust; y mae gan y dyfnder drysorau afrifed yn ei harffed heb eu harllwys o flaen un llygad. Yn nghelloedd tywyll y tyngedesau y mae rhôl ar rhôl o ddeddfau y grëadigaeth, mor dragywyddol â'r creigiau, mor gyffredinol â bywyd, na ddarllenodd un Kepler, Newton, na La Place. Y mae lluniau byw o brydferthwch nad ymddangosant i un llygad, yn ymdyru o'n hamgylch. Y maent yn llenwi

yr olygfa pan yr edrychwn ar y maes blodeuog, neu y llwyn deiliog. Y maent yn llithro ar belydrau y ser, yn gwylio uwch ein gobenydd, ac yn hofran o amgylch ein breuddwydion; a phe tynid y llèn, ni a'u gwelem nes i'n calonau orlifo â chariad, a'n heneidiau âg awen, yn ein hysbrydoli i'w hanfarwoli ar y *canvas,* i'w cerfio yn y graig farmor, neu i'w gwisgo mewn geiriau tanllyd byw. Os ydyw Beethoven a Mozart wedi marw, y mae y saith blaned eto yn "rhedeg hyd eu rhodau," ac yn gwau cynghaneddion mor felus, dyeithr, ac annaearol ag erioed.

[Y mae amryw o'n darllenwyr, o bosibl, wedi clywed am "Y TRAETHODYDD YN AMERICA," os nad wedi ei weled; sef argraffiad hardd o'r TRAETHODYDD a gyhoeddir yn New York yn rhifynau trimisol, dan olygiad y Parch. W. Roberts, gynt o Runcorn. At yr ysgrifau a gyhoeddwyd genym ni, chwanegir "Adran Americanaidd," yn cynnwys traethodau a chyfansoddiadau prydyddol gan bersonau o'n cydgenedl sydd yn awr yn byw yn y Taleithiau Cyfunol. Ac un o'r traethodau hyny yw y traethawd blaenorol ar Wir Werth Addysg. Yr awdwr yw Mr. Llewelyn Ioan Evans, B.A., mab y Parch. E. T. Evans, Racine; ŵyr o du ei dad i Mr. Evans, Maes-y-coed, Caerwys, ac o du ei fam i'r diweddar Barch. R. Roberts, Tan-y-clawdd, Rhiwabon. Yr oedd y Cymro ieuanc talentog hwn yn ddiweddar yn un o gynnrychiolwyr dinas Racine, yn Neddfwneuthurfa Talaeth Wisconsin; ac yn awr y mae efe yn un o brif golegau America yn ymbarotôi i'r swydd gysegredig o weinidog yr efengyl. Dichon y bydd ambell ddarllenydd yn barnu fod rhai o syniadau y traethawd, yn gystal a'i ddullwedd, yn rhy "Americanaidd;" ond darlleued ef eilwaith cyn ei gollfarnu, ac efe a gaiff allan, ond odid, fod tuedd y traethawd yn dda, a'i gyfansoddiad yn gampus. Tra y gwelir ynddo wresogrwydd ysgrifenydd ieuanc yn ymlid ei bwnc hyd yr eithaf, mae ei gyfuniad o'r athronydd a'r bardd yn gwneuthur yr ysgrif yn un dra phrydferth.]

---

# Y CHWIL-LYS.

## PENNOD I.

### AM RYDDID CYDWYBOD MEWN CREFYDD.

Y MAE y pwnc o ryddid crefyddol yn faes ëang a phwysig, ac y mae dysg a dawn wedi cael eu dyhysbyddu a'u gwastraffu wrth ei drafod. Myn rhai mai rhyddid i wneyd fel y gwelont hwy yn dda yw rhyddid crefyddol; ac os meiddia neb gredu, dywedyd, neu wneyd yn groes iddynt hwy, nid arbedir unrhyw foddion i ddarostwng a dystewi y cyfryw. Os yw cydwybod yn feddiant personol rhwng ei pherchenog â Duw, Crëawdwr a Barnwr pawb, y mae yn amlwg na ddylid arferyd trais a gormes at neb ar gyfrif gwahaniaeth barn a golygiad mewn pethau crefyddol; canys y mae yn eglur mai i Dduw y mae pob un yn atebol am ei grefydd, neu am yr amddifadrwydd o honi; ac y mae y dybiaeth fod gan rai dynion, neu ryw enwad crefyddol, hawl ddiffael i ddirgymhell a gwasgu pawb i'r un farn â hwy, yn egwyddor lygredig, ac yn drylawn o'r canlyniadau mwyaf ofnadwy. Y mae yn groes i ddeddf rheswm, a rheol yr Ysgrythyr.

Y mae gwahaniaeth mawr rhwng dyn fel goruchwyliwr moesol yn gyfrifol yn uniongyrchol i Dduw, â'r hyn ydyw fel deiliad yn y cyfundeb gwladol. Yn ei gysylltiad â chrefydd, y mae yn atebol i Dduw yn unig am ei olygiadau: os dygwydd iddo fod yn aelod neu yn swyddog eglwysig,

bydd yn atebol i'r weinidogaeth ac i'r eglwys am ei fuchedd a'i farn; ond pe troseddai ar athrawiaeth a dysgyblaeth yr enwad y perthyna efe iddo, y cwbl ag a all yr awdurdod eglwysig ei wneyd fyddai ei ddiarddel o bob cysylltiad swyddogol neu eglwysig. Am olygiadau hereticaidd, nid all dysgyblaeth fyned ymhellach na diarddeliad y troseddwr. Byddai dilyn y dyn beïus âg ysbryd dial, a'i ddarostwng i ddirwyaeth a chosbau eraill o natur bersonol a theuluaidd, yn greulondeb annaturiol, anaddas i'w enwi ymhlith y rhai a broffesant heddwch, maddeugarwch, ac ewyllys da tuag at ddynion. Mewn awyr o'r fath, dirywia gwir ryddid crefyddol i benrhyddid ffyrnig a chreulawn. Saif dynion ar dir gwahanol iawn fel deiliaid o lywodraeth wladol i'r hyn ydynt fel goruchwylwyr moesol yn eu perthynas â chrefydd. Fel gwrthddrychau llywodraeth, y mae pob un dan yr un awdurdod wladol yn rhwym i ddeddfau ei wlad, ac y mae y gwir wladgarwr yn aml yn ymostwng i ddeddfau anghyfiawn a gorthrymus er mwyn heddwch y wlad, hyd nes y ceffir ffordd reolaidd i'w diddymu, a gosod rhai gwell yn eu lle. Fel aelod o'r cyfundeb gwladol, y mae pob un yn rhwym o aberthu yr hyn a elwir yn "rhyddid naturiol" i gryn raddau; canys lle y mae rhyddid naturiol yn teyrnasu mewn rhwysg, nid all fod yno ddiogelwch personol nac amgylchiadol, eithr rhaid i fywyd, cymeriad, ac eiddo, fod yn agored yn wastadol i anwadalwch, cybydd-dod, a drygioni, pob un; à darostyngai hyny y cyfryw wlad i annhrefn, tlodi, a barbariaeth. Y mae genym hawl i amddiffyn ein heiddo yn erbyn ymosodiadau lladron a llofruddion; ac felly wrth roddi i fyny y drygau y teimla y dyn gwyllt yn rhydd i'w cyflawni, yr ydym yn ennillwyr fel deiliaid rhydd o gymdeithas ddynol.

Pa mor belled y dylai dyn gael rhyddid crefyddol sydd ofyniad o bwys i ddynion pob gwlad. Dywed y Pagan y dylai gael cario allan ei gyfundraeth grefyddol, hyd yn nôd dan lywodraeth Brotestanaidd, fel y gwelo yn dda. Dywed y Mahometaniad y dylai yntau gael bob cyfleusdra i arddangos holl orchymynion a defodau y gau brophwyd, pa mor groes bynag y gallent fod i weddeidd-dra cyffredin, i heddwch y wlad, neu i grefydd y Testament Newydd. Haera y Pabydd yn fuddugol mai ei grefydd *ef* yw yr unig un wir, ac y dylai gael ei chofleidio ymhob gwlad; ac os na dderbynir hi yn wirfoddol a thawel, mai rhaid yw defnyddio moddion gorfodol y gyfraith wladol, y cleddyf, y chwil-lys, a'i holl arteithiau ofnadwy ac uffernol. Os gwna yr hyn a eilw dynion yn rhyddid crefyddol ormesu ar iawnderau addefedig eraill, peryglu cymdeithas, hau hadau cynhen mewn teuluoedd, gwneyd dynion yn agored i ddirwyaeth, carchariad, poenau yr arteithglwyd, angeu araf a dychrynllyd,—i wawd, poen, ac ing, tra yn fyw, ac i warth a melldith wedi marw,—mor bell ag y gall dynion warthruddo a melldithio corff marw,—dylai cyfraith y tir, holl deimladau gwladgarol, a dylanwad Cristionogol cenedl, gael eu rhoddi yn wrthglawdd mawr i attal a dinystrio y fath gamarferiad o'r hawl sydd gan bob dyn i ymddwyn yn ol ei gydwybod mewn pethau ag ydynt wir ysbrydol gyda chrefydd.

Cymerwn enghraifft. Y mae yn wirionedd tra hysbys na oddefir un ffurf o grefydd Brotestanaidd yn nhaleithiau y Pab, oddieithr fod gan Eglwys Loegr hen ysgubor i addoli tu allan i furiau dinas Rhufain, a bod gan yr Americaniaid le tu fewn i'r ddinas. Y mae yn bwnc y dyddiau hyn hefyd nad yw Pabyddion ein gwlad ni yn foddlawn i'r rhyddid crefyddol sydd ganddynt yn bresennol, eithr eu bod am ddyfod â'u cyfundraeth i'n plith yn ei holl ranau. Y maent am sefydlu glwyslywiaeth, ac am gario llwon eu holl swydd-

ogion eglwysig i weithrediad yn nymchweliad Protestaniaeth, dinystr neu ymostyngiad y rhai a welant hwy yn dda eu galw yn hereticiaid; ac y maent am yspeilio rhyddid pawb a wahaniaethant mewn barn oddiwrthynt hwy, i'r dyben i gael llawn feddiant o'u *rhyddid hwy!* Ni chaniatâ Pabyddion y Cyfandir *wir* ryddid i ddyeithriaid na brodorion yno; ond y maent hwy a Phabyddion ein gwlad ni am gael *penrhyddid* i'n hyspeilio o freintiau tri chant o flynyddoedd, ac o hawliau cyfoesol â dynoliaeth. Os dygir rhyw arf i'r maes yn yr ymdrech mawr o blaid achos Mab Duw yn y byd, yn groes i allu y gwirionedd, darbwylliad, rheswm, ac argyhoeddiad, "o'r drwg y mae." Y mae yn anghyfiawnder â dynion, ac yn gâs yn ngolwg Duw. "Yr Iesu a atebodd, Fy mreniniaeth i nid yw o'r byd hwn. Pe o'r byd hwn y byddai fy mreniniaeth i, fy ngweision i ymdrechent, fel na'm rhoddid i'r Iuddewon: ond yr awr hon nid yw fy mreniniaeth i oddiyma." Trwy egwyddorion, ac nid trwy arfau, y mae crefydd Crist i gael ei lledanu yn y byd.

Rhaid fod rhyddid cydwybod mewn pethau crefyddol yn un o'r pethau anwylaf a feddwn, ac er mwyn yr hwn, y mae llawer o dan ddwylaw dyhiriaid Paganaidd a Phabaidd wedi colli eu bywydau yn hytrach na pheryglu eu hiachawdwriaeth, gwadu Crist, a thynu dirmyg ar wir grefydd.

Y mae Pabyddiaeth o'r dechreuad yn grefydd erlidgar, ac wedi ymgodi o derfysg, ac yn cael ei ffurfio o'r elfenau mwyaf erchyll a luniwyd erioed gan ddynion yn byw mewn cymdeithas, a'r cyfan yn cael ei wneyd dan gochl crefydd Crist, a ffuantiad o zel a sancteiddrwydd. Oddieithr i bawb droi yn Babyddion, nid all y grefydd hon lai na bod yn erlidgar; a phe bae yn bosibl i holl drigolion y byd ddyfod yn broselytiaid i'r cyfeiliornad mawr hwn, ni pheidiai ei hysbryd aflonydd, terfysglyd, a dialgar; canys cawn fod ymraniadau ffyrnig yn terfynu weithiau mewn gwenwyniad a llofruddiaeth, yn ffynu ymysg ei hamrywiol urddau, megys y Ffrancisciaid, y Dominiciaid, &c. Pe arosai dim ond un dyn ar y ddaear yn groes yn ei farn i Babyddiaeth, byddai hwnw yn wrthddrych gelyniaeth diofrydwyr penboeth a gwyllt y grefydd hono; ac os nad yw yn debyg y daw yr holl fyd byth i gydweled â dilynwyr y Pab, a bod dynion yn credu ac yn cyhoeddi y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu yn cyfodi weithiau yn eu plith hwy eu hunain,—y mae yn eglur na pheidia gweithrediadau creulawn y bwystfil tra y caffo ysglyfaeth i'w rwygo, a thamaid i'w larpio. Gan fod y Grefydd Babaidd wedi ei sylfaenu ar egwyddorion afresymol, annyoddefol, ac erlidgar, rhaid fod ei hanian yn "ddaearol, anianol, cythreulig."

Sonia llawer fod Pabyddiaeth wedi mwyneiddio yn ei natur a'i gweithrediadau, ac nad ydyw yn ein dyddiau ni y peth a fu er ys canrifoedd yn ol, pan loddestai y lliaws ar y ffagodau a ddyfethent y merthyron cristionogol, ac y perid i wledydd cyfan blygu i daranfollt llys y Pab. Ond rhaid llwyrddinystrio hon cyn ei gwneyd yn fwyn ac yn bur; y fath ag a fyddai yn fendith i'r byd.

## PENNOD II.

### SANT DOMINIC A DECHREUAD Y CHWIL-LYS.

Gan fod Fray Domingo, neu fel y gelwir ef yn awr, Dominic, yn meddu yr anrhydedd, neu yn hytrach y gwarth, o fod yn sylfaenwr y Chwil-lys, byddai yn gymhorth i'r darllenydd fod yn gydnabyddus â'r prif bethau yn ei fywyd.

Hyd tua y fl. 1184, addefid Esgobin Eglwys Rhufain fel amddiffynwyr

y ffydd, ac ymddiriedid iddynt hwy y gwaith o wneyd ymchwiliad am hereticiaid; ond cafwyd fod anghen am offerynau chwanegol i'r gwaith o ddiwreiddio gwir ddilynwyr yr Oen. Yr oedd eisieu dynion a ymroddent yn llawn i fod yn weision ufudd a galluog i gyflawni pob math o dwyll, creulondeb, a llofruddiaeth. Fe allai fod yr esgobion yn aml, oddiar henaint, neu fath o diriondeb, yn analluog i ddyoddef yn ddibaid ruddfanau hereticiaid yn marw, neu i drochi eu dwylaw bob dydd mewn gwaed dynol. Yn wir yr oedd yn anghenrheidiol cael dynion mewn cyflawn nerth, o ddrygioni sefydlog, ac o ysbryd anturiaethus, i ymosod ar anhawsderau a pheryglon y swydd o fod yn Chwil-lyswyr. Yr oedd eisieu rhywbeth mwy na bod gallu gan lys esgobol i chwilio am hereticiaid a'u condemnio; ac nid oedd awdurdod yr ynad yn ddigonol i gyfarfod â phob achos o ŵyriad mewn barn a bywyd oddiwrth Eglwys Rhufain. Yr oedd anghen am blant y fall i waith llofruddiog a gwaedlyd. Cafwyd hwynt.

Yn ngwyneb yr amgylchiadau hyn, cymerodd y Pab Innocent III. y peth i'w law ei hun, a phenderfynodd beidio gadael y gwaith o ddal a chosbi gwadwyr ffydd Rhufain yn nwylaw yr esgobion. Anfonodd gan hyny ddau ddirprwywr i Ddeheudir Ffrainc, i ddangos ei allu llawn yn yr esgobaethau hyny lle yr oedd yr Albigensiaid a'r Waldensiaid yn llïosog; ac i erchi ar i bob esgob, offeiriad, a llëygwr gynnorthwyo yn y gorchwyl ofnadwy o chwilio am hereticiaid, eu poenydio, a'u merthyru. Ar berygl dinystr yn y byd hwn, a'r hwn a ddaw, y gwrthodid cynnorthwyo a chydweithredu. Y ddau genad oeddynt fynachod o'r enw Rainer a Guy. Y pryd hwn yr oedd croesgâd yn ymgynddeiriogi yn erbyn hereticiaid, a gwnaeth Simon de Montfort wlad Toulouse yn anialwch trwy ddifrod.

Ar hyn cynnullodd Innocent Gynghor yn eglwys Lateran, yn Rhufain, lle y traddododd ddwy bregeth danllyd. Yr oedd am gynhyrfu pawb a berthynent i'w eglwys i ymosod ar anffyddwyr y Wlad Sanctaidd, ac hereticiaid pob parth. Daeth Foulques, Esgob Toulouse, i'r Cynghor, gan ddwyn dyn ieuanc gwylltfrydig gydag ef, Hispaenwr, o'r enw Domingo de Guzman, neu Dominic. Breuddwydiasai ei fam, Juana, yr esgorai ar gi yn cludo pentewyn i roddi y byd ar dân. Yr oedd ei mab yn cyfateb i'r breuddwyd. Ganwyd Dominic yn Calahorra, yn y flwyddyn 1170, ac anfonwyd ef yn fore i ysgol ragorol yn Valencia, lle yr efrydiodd dduwinyddiaeth am bedair blynedd, gan ddilyn bywyd hunanymwadol a myfyrgar. Yn y flwyddyn 1206, gwnaeth Esgob Osma ef yn bresbyter ac yn ganon yn ei eglwys gadeiriol. Yn fuan wedi hyny gwnaethpwyd ef yn îs-beriglor yr eglwys hono. Yr oedd yn awr yn dra defosiynol, efrydgar, a zelog dros y ffydd, ac yn bregethwr mawr. Yn 1206, cymerodd yr esgob ef gydag ef i Ddeheudir Ffrainc, lle y cyfarfuasant â'r negeswr Pabaidd ac eraill, yn llafurio gyda llwyddiant bychan i ddychwelyd yr Albigensiaid. Dywedodd Esgob Osma wrthynt nad oeddent yn cymeryd y ffordd iawn, ac y dylasent fyned allan yn ddiaddurn, ac heb gôd nac ysgrepan, fel yr Apostolion. Gosododd ef a Dominic siampl iddynt, yr hon a ddilynasant gyda gwell llwyddiant. Wedi ymweled â Rhufain, cafodd yr esgob ganiatâd gan y Pab i bregethu yn Ffrainc am ddwy flynedd. Cymerodd Dominic i'w gynnorthwyo yn y gwaith. Ar ol dychweliad yr esgob i'r Hispaen, parhäodd Dominic i bregethu i hereticiaid, weithiau gyda chynnorthwywyr, bryd arall heb nemawr neb ond ei hunan. Yn 1208, llofruddiwyd cenad Pabaidd, a dechreuwyd codi croesgâd dros yr eglwys. Parhâi Dominic yn ei zel a'i

wroldeb, yn pregethu ac yn cardota ei fara o ddrws i ddrws. Yn raddol, tynodd o'i amgylch amryw bersonau o'r un ysbryd ag ef ei hun. Yn y fl. 1215, bu yn Nghynghor Cyffredinol Lateran, a chafodd ganiatâd i sefydlu urdd newydd o fynachod, gan fabwysiadu rhai o'r rheolau a gymeradwyid yn barod. Sefydlodd fynachlogydd, lle y trigai mynachod pregethwrol,—mynachod a feddent awdurdod i fyned oddiamgylch fel pregethwyr teithiol, i grochfloeddio yn erbyn yr holl hereticiaid, ac i ddwyn ymlaen amcanion bradwrus a gwaedlyd y Babaeth.

Aeth Fray Dominic rhagddo i sefydlu ei frawdoliaeth; cafodd eglwys a chelloedd yn Toulouse, ac ar esgyniad y Pab newydd i'r orsedd a'r gadair, yn y flwyddyn ddilynol, gofynodd iddo am reithsgrif newydd, yr hon a roddai iddo lawn awdurdod. Rhoddwyd ei ddymuniad iddo gan Honorius III., yr hwn a ystyriai yr amcan yn deilwng o gefnogaeth, ac yn anhebgorol angenrheidiol i oruchafiaeth yr Eglwys Babaidd.

Pan oedd Dominic wrth draed y Pab, adroddodd freuddwyd a welsai, ymha un y dangosid Crist, pan yn gweddïo mewn eglwys un noswaith, â thair picell yn ei law yn barod i'w hyrddio yn erbyn pechaduriaid;—un i ddinystrio y balch, arall i ladd y cybyddlyd, a'r llall i ladd y glwth. Adroddodd bethau pellach a welsai am y Fam Sanctaidd a'i Mab, a bod gan y Mab ddau was, un o ba rai oedd Dominic ei hun, a'r llall oedd St. Ffrancis. Credodd y Pab hyn oll, neu o leiaf cymerodd arno wneyd felly; a rhoddwyd dwy Babysgrif iddo; un yn mynegi ei fod ef a'i frodyr yn orchestwyr y ffydd, ac yn wir oleuni y byd; a'r llall yn eu galluogi i berchenogi eiddo, a chyflawni eu swyddau bwriadol. Cymerodd hyn le yn mis Medi, 1217.

Y pryd hwn yr oedd gan Dominic swydd debyg i esgob, ond heb orsedd. Hyd yn hyn ni feddai fintai o hudgyfrinwyr, ac ni sefydlesid eto unrhyw lys awdurdodedig, o flaen pa un y gellid gwysio y drwgdybiedig. Ond ni chollodd efe amser i wneyd yr holl barotöadau anghenrheidiol i gario ei fwriad a'i genadaeth i gyflawn weithrediad. I'r perwyl hwn galwodd ar y gallu gwladol, a'r Tywysogion Pabaidd, i ddyfod i'r maes i'w gynnorthwyo yn y gwaith o chwilio allan am heresi, ac o ddal hereticiaid. Sefydlodd "gartreflu Crist," i ymladd yn erbyn hereticiaid. Cynnorthwyai y rhai hyn y Dominiciaid yn eu gwaith ysgeler; a chan yr yr ystyrid hwy yn rhan o'r teulu ofnadwy, galwyd hwy yn hudgyfrinwyr. Cefnogwyd hwy gan y Pab Honorius tua'r fl. 1224. Erbyn hyn, cyhoeddodd yr ymherawdwr Frederic II. ddeddf yn Padua, yn cyhoeddi awdurdod y chwil-lyswyr a apwyntiesid gan yr Esgobaeth Apostolaidd ymhob rhan o'i diriogaethau.

Er i Dominic farw yn y fl. 1221, yr oedd ei ddysgyblion yn ddiflin yn y gwaith o weithio allan ei egwyddorion a'i gynlluniau. Yn 1229 y cynnaliwyd y Cynghor hwnw yn Toulouse, ymha un, am y tro cyntaf, y gwaharddwyd i'r llëygwyr ddarllen Ysgrythyrau yr Hen Destament a'r Newwydd. Ymdaenasai cêlgenadon y Chwil-lys erbyn hyn i wahanol barthau Ewrop, a rhedai gobeithion y diofrydwyr Pabaidd yn dra uchel. Ni amcanent at ddim llai na diddymiant yr holl weddillion o wir grefydd oedd ar y ddaear.

Seintiwyd Dominic yn fuan ar ol ei farwolaeth; a daeth yn gymeriad mor ddilynwiw a chlodfawr yn yr Eglwys Babaidd, fel ag yr ysgrifenwyd cyfrolau cyfain mewn dull o fuchdraethau ac o ganmoliaeth iddo. Y mae y Dominiciaid hyd heddyw yn un o brif urddau yr eglwys lygredig hon.

## PENNOD III.

### SEFYDLIAD A GWEITHREDIADAU Y CHWIL-LYS YN TOULOUSE.

Wedi rhoddi cychwyniad priodol i'r Dominiciaid a'u hudgyfrinwyr, aeth Cynghor Toulouse, a grybwyllwyd uchod, rhagddo dan lywyddiaeth Remanus, Cardinal St. Anglo, ymhellach fyth; canys penderfynodd sefydlu llys o chwil-lyswyr ymhob dinas, yn gynnwysedig o un offeiriad a thri llëygwr. Yn y fl. 1233, cyfnewidiodd Gregory IX. beth ar y rheolau blaenorol, a rhoddodd y gallu chwil-lysol yn Ffrainc i feddiant mynachod pregethol y Dominiciaid; a thrwy Babysgrif, rhyddhäodd yr esgobion oddiwrth y gorchwyl o chwilio am hereticiaid, a'u condemnio. Ar hyn sefydlodd Esgob Tournay fel negeswr Pabaidd, Pedr Cellani a William Arnauld yn brif chwil-lyswyr yn Toulouse; ac yn ddioed ar ol hyn, gwnaeth chwil-lyswyr cyffelyb yn yr holl ddinasoedd lle yr oedd mynachdai gan y Dominiciaid. O'r cyfnod hwn yr ydym i ddyddio dechreuad ffurfiol llys dychrynllyd y Chwil-lys, yr hwn yn y canrif yma, ac yn y canrifoedd dilynol, a ddarostyngodd y fath luoedd o bobl a wahaniaethent oddiwrth Eglwys Rhufain, naill ai trwy eu gorfodi i fyned yn ol i'r eglwys hono, neu trwy eu trosglwyddo i'r awdurdodau gwladol i gael eu llosgi.

Cafwyd ysgrifen yn llyfrgelloedd y Chwil-lys yn Toulouse, ac ar ei chlawr yn gerfiedig, "Llyfr y Dyfarnau;" sef y dyfarnau a gyhoeddwyd ar y cyhuddedig gan y Chwil-lys yno. Yr oedd seliau swydd yr ysgrifenwyr wrth y gwahanol gyhuddiadau a gynnwysai y gyfrol. Dywed Dr. Rule am lyfr Limborch, yr hwn a gynnwys enghreifftiau o'r ysgrif uchod, "Yr wyf wedi chwilio yn ofalus y dystiolaeth dra hynod hon o weithrediadau cyntaf y Chwil-lys;" ac yna ä rhagddo i adrodd yn fanwl y prif foddau a arferid i gyhoeddi dyfarnau hereticiaid, fel y galwai y Pabyddion bob un efengylaidd ei ffydd. Traddodid gwawd-bregethau i'r euogion, neu y rhai y *gwneid* iddynt fod yn euog, a chai pob dosbarth o droseddwyr crefyddol glywed gwahanol ddyfarnau yn cael eu dadgan. Anfonid rhai i garchar i ddwyn penyd ar fara a dwfr; gyrid eraill yno am eu hoes i fod yn ddarostyngedig i holiadau trahâus mewn daeardai ffiaidd, ac i holl boenau yr arteithglwyd, i ymdrechu gwasgu cyfaddefiadau o honynt a arweinient i gyhuddo eraill; a dygid llawer yn fuan i gael eu llosgi yn gyhoeddus, er mawr ddifyrwch a gwawd y gwyddfodolion.

Aeth yr *hen* Chwil-lys, fel ei gelwir, ymlaen yn Toulouse, i ymaflyd mewn personau a ddrwgdybid. Bwriwyd hwy i'r carchar, traddodwyd gwawd-bregethau iddynt, a *gwnaethpwyd* hwy yn euog, a throsglwyddyd hwy i'r gallu gwladol i gael eu llosgi yn fyw. Bu offeiriad o'r enw John Phillibert, achos yr hwn a gasglwyd o "Lyfr y Dyfarnau," yn wrthddrych digofaint y Chwil-lyswyr. Gwasanaethai yn eglwys St. Lawrence yn Burgundy, a dewiswyd ef yn un o ddau i chwilio am Waldensiaid ffoedig. Aeth i Gascony; ond yn lle gweithio yno fel un o weision y Chwil-lys, cafodd ei gyfeillach â'r cristionogion cywir hyny y fath effaith arno, fel y cydymdeimlodd â hwy o'i galon; coleddodd lawer o'u golygiadau, gweddïai yn eu cyfarfodydd, a mynychai eu cynnulleidfäoedd. Bu hyn wrth reswm yn foddion i dynu gwg y Chwil-lyswyr a'r ei ben; canys nid allai y fath enciliad mewn rhan ddianc rhag eu gwyliadwriaeth. Parhâi Phillibert i weini wrth yr allor wedi iddo beidio credu athrawiaeth yr offeren. Pan ofynodd Guy, yr hwn oedd fynach, a phrif swyddog yn erbyn heresi yn

Burgundy, i Phillibert, ar iddo ar ei lŵ ymwrthod âg athrawiaethau y Waldensiaid, efe a wrthododd wneyd hyny; ac ar hyn daliwyd ef. Holwyd ef yn mhalas yr esgob gan Guy, yn ngwydd amryw dystion, a llwyddwyd i'w symud i fesur oddiwrth ei sicrwydd yn Nghrist. Yna yr oedd raid cael llŵ ganddo y gwnai wrthwynebu a dal y bobl dda a gwrol y buasai yn eu mysg, ac yna rhyddhäwyd ef. Parhäodd yn anmhenderfynol am bedair ar ddeg o flynyddoedd; weithiau cyflawnai ei swydd fel offeiriad, a bryd arall ymwelai â'i frodyr yn ngharchar, gan gludo bwyd a dillad iddynt ar berygl ei fywyd. Yn 1311, daliwyd ef drachefn, a chyhoeddwyd ef yn heretic oedd yn haeddu marw; nid oedd drugaredd i neb a lithrai eilwaith oddiwrth y ffydd Babaidd a dadganwyd gwawdaraeth o ddiraddiad swyddogol arno. Yma nid anmhriodol fyddai rhoddi desgrifiad byr o'r ddefod o ddiraddio swyddog eglwysig neu weinidog, cyn ei ddienyddio. Cymer hyn le *cyn* i'r gallu eglwysig draddodi y dyoddefydd i'r gallu gwladol. Wedi gwisgo y merthyr â gwisgoedd yr holl urddau, cymerent lestri y cymun o'i law, i'w amddifadu o allu i wasanaethu yr allor. Dyosgent ef o'i wisgoedd offeiriadol, i ddangos ei fod wedi colli arwisg diniweidrwydd, a swydd y weinidogaeth. Cymerent o'i law y Pedair Efengyl, i'w amddifadu o allu yn eglwys Dduw. Cymerent wisg diacon oddiamdano, i ddangos fod y swydd hono wedi ei thynu oddiwrtho. Cymerent y penwisg sydd yn arwydd o isddiaconiaeth. Gorfodent y merthyr i roddi i fyny yr Epistolau, i ddangos fod yr hawl i'w darllen yn yr eglwys wedi ei gymeryd oddiwrtho. Amddifadid ef o'r offeryn â pha un y goleuai yr eglwyswas y canwyllau, fel y ddangosir nad oes ganddo awdurdod i'w goleuo. Cymerid dwfrlestri oddiarno, i ddynodi fod ei awdurdod i gymysgu dwfr a gwin sacramentaidd wedi darfod. Wrth gymeryd llyfr y swyngyfareddau oddiarno, y dangosid ei fod yn cael i amddifadu o'r awdurdod a rydd yr eglwys i'w gweinidogion i fwrw allan gythreuliaid; a chymerid llyfr y Darllenydd oddiarno, i ddynodi nad allai ddarllen yn y gynnulleidfa. Yna, yn enw y Drindod Sanctaidd, cyhoeddai un o'r prif swyddogion fod y merthyr i gael ei ddyosg a'i ddiraddio o bob rhagorfraint, bywioliaeth, anrhydedd, ac urdd eglwysig. Eto, dymunai a chrefai plant y fall na fyddai i'r diofrydig fod mewn perygl angeu, na dyoddef toriad un o'i aelodau! Felly yn raddol, o gam i gam, yr amddifadid offeiriad, a feddai urddas mwy na dynol yn ngolwg Eglwys Rufain, i ystâd y dyn gwaelaf na feddai swydd.

Gafaelwyd yn Phillibert gan y dienyddwyr, llusgwyd ef o'r eglwys gadeiriol, a thaflwyd ef i'r tân, fel cymeriad anaddas i breswylio y ddaear. Llosgai y Chwil-lyswyr gyrff hereticiaid o drugaredd at eu heneidiau, fel y gallai yr ysbryd fod yn gadwedig!

Cyhoeddwyd dyfarnau dychrynllyd yn erbyn dynion y cawsid eu bod wedi marw mewn heresi, ac yr oeddynt i cael eu dadgladdu, eu bwrw allan o'r claddfeydd sanctaidd, a'u llosgi. Buom yn darllen am rai math o wylltfilod yn cloddio beddau y meirw i ddyfod o hyd i'r cyrff i ymborthi arnynt; ond yn awr yr ydym yn cael dynion yn gwneyd rhan bwystfilod ar gyrff eu cydgrëaduriaid, yn unig am iddynt ymadael â'r fuchedd hon mewn ymwrthodiad â'r grefydd Babaidd, neu am eu bod yn perthyn i ryw enwad arall o grefyddwyr. Y mae dadgladdiad a llosgiad esgyrn Wicliffe wedi iddynt fod *ddeugain mlynedd* yn nhawelwch y dyffryn, yn ddiau yn dra hysbys i'n darllenwyr.

Ni wnai hyn foddloni gwanc y chwil-lyswyr, ond äent rhagddynt mewn

awdurdod cyffredinol, gan eistedd yn feirniaid ar lyfrau, a llosgent y rhai a dybient hwy eu bod yn y mesur lleiaf wedi eu llygru â heresi. Tachwedd 28, 1319, trwy gais o gorchymyn Barnard Guy, dygwyd llonaid dwy bedrolfen o lyfrau Hebreig, o feddiant Iuddewon yn Toulouse, i'w llosgi yn gyhoeddus. Ffurfiwyd gorymdaith i'w cymeryd trwy heolydd y ddinas, a bloeddiai criwr mai copïau o'r Talmud oedd y llyfrau, ac y cynnwysent gableddau yn erbyn Cristionogaeth, a'u bod wedi cael eu chwilio gan ddynion dysgedig, a'u bod i gael eu llosgi. Felly y cawsant eu difa gan dân. Yn 1230 a 1231, bu dau losgiad difrifol ar lyfrau yn Paris, wrth orchymyn Gregory IX. ac Innocent IV. Arferai y Paganiaid losgi llyfrau a dybid eu bod yn sanctaidd, a dilynai y Pabyddion hwy yn hyn fel mewn llawer o bethau eraill, y rhai ydynt yn ogyd-annuwiol, gwarthus, a chableddus. Cynnulleidfa y Ddangoseg yn Rhufain sydd yn benaf yn dwyn ymlaen y gwaith o ddyfetha llyfrau Protestanaidd yn awr; ond y mae yn amlwg fod holl elfenau "dirgelwch yr anwiredd" hwn ar waith yn Ffrainc yn y pedwerydd canrif ar ddeg, pan gafodd y chwil-lys ei wneyd yn beiriant ofnadwy i ysgubo pob peth da o'i flaen, lladd y saint, a diffodd gwybodaeth ddwyfol.

Yr oedd dynion a gyhuddid o ddrwgfuchedd a swyngyfaredd, yn nodau i saethau gwenwynig a marwol y chwil-lys, a helient lawer o ddynion truenus nad oeddynt yn ymyraeth dim â chrefydd y naill ffordd na'r llall. Y mae yn anhawdd dychymygu beth a gynhyrfai lofruddion a dyhiriaid i amcanu cosbi neb am droseddau llawer llai na'r rhai a gyflawnent hwy eu hunain.

## PENNOD IV.

### DEDDFAU AC ARFERIADAU Y CHWIL-LYS.

Am tua dau canrif, chwanegai Pab ar ol Pab ddeddfau a grym y chwil-lys, a chafodd cynllun o gyfrwysder a chreulondeb ei berffeithio; ond äi y gwaith o ddiwreiddio heresi ymlaen yn ddiorphwys mor belled ag y cai y diofrydwyr eu ffordd yn rhydd gan yr awdurdodau gwladol. Cafodd dynion mor hynod o greulawn a gwaedlyd fod deddfau a rheolau wedi ei hawdurdodi gan y Pab a thywysogion gwladol, yn gymhorth i gyflawni eu hamcanion, yn hytrach na gadael i bob un a weithiai yn y gorchwyl hwn fyned rhagddo ar antur yn ol ei feddwl ei hun.

### 1. *Am Heresi a'r dull o'i chwilio allan.*

Y mae gwadu un o erthyglau Eglwys Rhufain, neu un o'i thraddodiadau, yn cynnwys heresi yn nhyb y chwil-lyswyr a'r awdurdodau eglwysig. Y mae ymwrthod â'r grefydd Babaidd, credu y gall dynion fod yn gadwedig allan o'i chylch hi, neu hyd yn nod dybiaeth fod unrhyw beth perthynol i'r eglwys hono yn afresymol, yn drosedd a gosbir yn llymdost, ac yn aml gynt â marwolaeth ddirdynol. Yr oedd dwy weithred a dynent y cosbau llymaf, sef anghymeradwyo unrhyw beth a wneid gan chwil-lyswr, neu anghredu unrhyw beth a ddywedai efe. Gellid dosbarthu heresi i lawer o fânraniadau, a gallesid dal dyn ar dybiaeth o un o honynt. Yr oedd dadgan gosodiad tramgwyddus yn heresi; ac yr oedd nacâu cyhuddo eraill a wnaent y cyfryw beth, dirmygu arddefodau yr eglwys, anaddurno eilunod, darllen llyfrau a gondemniesid gan y chwil-lys, rhoddi benthyg y fath lyfrau i eraill i'w darllen, gwyro oddiwrth arferiad Eglwys Rhufain, treulio blwyddyn heb ddirgel gyffesu, bwyta cig ar ddyddiau ympryd, esgeuluso

gwasanaeth yr offeren, gwrando pregeth a draddodid gan heretic, peidio ymddangos pan y gwysid un gan y chwil-lŷs, cysgu yn nhŷ neu ffurfio cyfeillach â heretic, neu ei anrhegu, neu ymweled âg ef yn ngharchar;—yr oedd y pethau hyn oll yn droseddau, ac yn ffurfio sylfaen drwgdybiaeth, ac ymosodid ar neb y *clywid* ei fod yn euog o un o'r pethau uchod.

Y mae pob Pabydd *da* yn rhwym, o dan berygl esgymundod, o roddi hysbysiaeth ddioed am ei gyfeillion agosaf ac anwylaf, os barna eu bod yn hereticiaid, neu yn gogwyddo at fod. Gelwir pawb a roddant y cymhorth lleiaf i Brotestaniaid yn bleidwyr heresi. Y mae cynnorthwyo ffôad un, neu beidio rhoddi gwybodaeth o fföedigaeth y cyfryw, yn drosedd; y mae eu celu, eu pleidio, eu cynghori, neu roddi arian i hereticiaid, yn gwneyd dynion yn agored i ŵg y chwil-lŷs; yn gystal a'r neb a ymwelo â heretic, a ysgrifeno ato, neu a roddo ymborth iddo; a'r sawl a guddio, neu a losgo lyfrau neu ysgrifau a allent arwain i euogiad un. Y mae y chwil-lys yn cymeryd gafael yn y cyfryw a gyhuddid o fod yn swynwyr, rheibwyr, cablwyr, dewiniaid, brudwyr, a thyngwyr cyffredin; ac o'r rhai a ddarllenent, neu a feddent y Bibl yn iaith y bobl, Talmud yr Iuddewon, neu Alcoran y Mahometaniaid.

## 2. *Swyddogion y Chwil-lys.*

I'r dyben i weithio allan fwriadau y chwil-lys, yr oedd yn ofynol cael llawer o swyddogion a gweision i chwilio am hereticiaid, eu dal, eu carcharu, eu holi, eu condemnio, eu poenydio, a'u dienyddio. Ni raid ammheu y ceir digon o ddwylaw at bob math o ffieiddwaith a barbariaeth, os bydd coelgrefydd ac ystyriaeth o elw a dyrchafiad yn dylanwadu. Yr oedd yspail fawr o olud yn dyfod yn aml i'w rhanu rhwng y swyddogion satanaidd hyn. Weithiau dèlid Iuddewon cyfoethog ac eraill, er mwyn eu harian, a'u meddiannau yn unig. Byddai dodrefn, aur, arian, tai, tiroedd, llongau, nwyddau, &c., yn syrthio i ddwylaw swyddogion y chwil-lys. Nid rhyfedd, gan hyny, fod goruchwylwyr gan y chwil-lys mewn gwahanol wledydd, ac mewn llïaws o fanau yn yr un wlad. Perthynai y swyddogogion canlynol i'r chwil-lys yn Yspaen, Portugal, yr Eidal, &c.:—tri o chwil-lyswyr neu farnwyr, un cyfreithiwr cyllidol *(proctorfiscal)*, dau gofiadur, un ynad, un cenad, un derbyniwr, un carchargeidwad, un goruchwyliwr meddiannau atafaeledig, amryw drethwyr, cynghorwyr, dienyddwyr, physygwyr, llawfeddygon, porthorion, ystryw-wyr *(familiars)*, ac ymwelwyr, y rhai oll a dyngid i gadw y cyfan yn ddirgel. Yr oedd gallu annherfynol gan y chwil-lyswyr cyffredinol; ac wedi dyfod unwaith i grafangau y bwystfilod hyn, yr oedd bron yn wyrth os diangai eu hysglyfaeth oddiarnynt.

## 3. *Y dulliau o erlyn y cyhuddedig.*

Yr oedd pedwar dull o dreio ac euogi y rhai a gyhuddid o heresi. 1. Elai y chwil-lyswyr ymlaen ar sail adroddiad cyffredin o enau i enau am un. 2. Trwy wybodaeth oddiwrth unrhyw berson a ewyllysiai gyhuddo un arall. 3. Ar hysbysiaeth cêlgenadon, y rhai a gedwid at wasanaeth y llys, ac a elwid yn ystryw-wyr. Ac yn 4. Ar addefiad y carcharor ei hun.

Ni fyddai y chwil-lyswyr yn anghofio nac yn maddeu; nid allai meithder amser ddiffodd eu hysbryd dialgar; ac ni wnai yr addefiadau mwyaf gostyngedig, na'r anrhegion drutaf, brynu maddeuant. Os rhoddid cy-

huddiad pendant, gorchymynai y chwil-lyswyr y dienyddiwr i wneyd ei waith, yr hwn a gymerai nifer penodol o ystryw-wyr i'w gynnorthwyo yn y dienyddiad. Rhaid oedd i dad, mab, brawd, chwaer, gŵr, neu wraig, ymostwng yn dawel; ni feiddiai neb wrthwynebu, neu hyd yn nôd siarad, gan y gwnai hyny en darostwng hwy i'r un gosb a'r dyoddefydd truenus. Ni chaniatëid unrhyw seibiant, ond gyrid y carcharor yn ddioed ymaith. Wrth draethu ar y pwnc hwn, dywed un awdwr yn rymus a gwresog:—"Y fath olwg erchyll o ddichell a chreulondeb! Y fath gymundeb a raid i hwnw fod, o ba un yr alltudir diolchgarwch, cariad, a chyd-oddefiad, gyda golwg ar wendidau dynol! Beth raid i'r llys hwnw fod, yr hwn, nid yn unig a orfodai rieni i ddilëu o'u meddyliau eu côf am eu plant, i ddiffodd yr holl serchiadau awchlym hyny o dynerwch a serch a gynhyrfir iddynt gan reddf, ond hyd yn nôd i gario eu creulondeb mor bell ag i fod yn gyhuddwyr iddynt, ac o ganlyniad i fod yn achos o'r cosbau mwyaf ofnadwy a roir arnynt! Pa ddrychfeddyliau a ddylem ffurfio i ni ein hunain o lys, yr hwn a orfodai blant, nid yn unig i attal pob teimlad tyner o ddiolchgarwch, cariad, a pharch dyledus i'r rhai a roddasant enedigaeth iddynt, ond a'u gorfodent, a hyny dan berygl y cosbau llymaf, i ddirgel wylied eu rhieni, ac i ddynoethi i haid o chwil-lyswyr didrugaredd, y troseddau, y cyfeiliornadau, ac hyd yn nôd y llithriadau bychain i ba rai yr oeddynt yn agored trwy wendid dynol! Mewn gair, rhaid mai llys o natur uffernol ydoedd, yr hwn na oddefai i berthynasau, pan yn ngharchar ei ddaear-dai dychrynllyd, gysuro eu gilydd, neu gyflawni y dyledswyddau hyny a ddysgir gan grefydd. Y fath annhrefn a therfysg a raid fod y fath ymddygiad yn eu hachosi mewn teulu tra serchog! Gwna gair, yn ddiniwed ynddo ei hun, fe allai, mewn zêl annoeth weithiau y mae yn wir, neu ofn gwag, roddi anesmwythder dirfawr i deulu; gwna lwyrddinystrio eu heddwch, ac fe allai beri i un neu ychwaneg o'r teulu fod yn ebyrth annedwydd i'r llys mwyaf barbaraidd. Y fath ymrafaelion a raid ymdori mewn tŷ lle y mae y gŵr a'r wraig mewn ymryson, neu y plant yn benrhydd a drygionus! A wna y fath blant betruso aberthu eu tad, yr hwn a ymdrecha eu hattal mewn drygioni trwy ei gynghorion, trwy argyhoeddion, neu trwy geryddon tadol! Oni wnânt yn hytrach, wedi yspeilio y tŷ i gynnal eu hafradlonrwydd a'u rhysedd, yn dra pharod draddodi eu rhiaint annedwydd i holl ddychrynfëydd llys a sefydlwyd ar yr anghyfiawnder duaf! Y mae gan ŵr afreolus, neu wraig benrydd, gyfleusdra hawdd, yn cael eu cynnorthwyo gan y rheolau crybwylledig, i gael gwared o un a rwystra ei ddrygioni trwy ei draddodi i lymderau y chwil-lys."

Byddai yr ystryw-wyr yn aml yn myned i ymaflyd yn eu hysglyfaeth yn nyfnder y nos, pan byddai pawb yn cysgu; curid wrth y drws, neu gwthid ef i mewn, neu ceid rhyw ffordd fwy tawel i dori i'r anneddau; cludid personau oddiyno gyda phob dystawrwydd, ac weithiau cymerid un o deulu heb fod neb o'r lleill yn y teulu yn gwybod. Wedi cael y cyhuddedig trwy y drws, gwthid ef i gerbyd perthynol i'r Swyddfa Sanctaidd, ac eisteddai rhwng dau o'r ystryw-wyr, y rhai a arfogid âg arfau tân, ac a chleddyf, a buan y gosodid y dyn yn ngharchar hyll y chwil-lys. Yr oedd pob gwrthwynebiad iddynt yn gwbl ofer, canys pe lladdesid y dyhirod hyn, buasai yn hawdd cael eraill i orphen y gwaith. Ar hanner nos y daliwyd Dr. Achilli, yn 1848, yn Rhufain, yn ei dŷ ei hun, a chymerwyd ef yn ddiseremoni i un o gelloedd carchar mawr y chwil-lys yno.

Nid yw y cyhuddedig byth yn cael gwybod ei drosedd, a phwy ydyw ei gyhuddwyr, ond cedwir ef i ddyfalu a dychymygu yn yr ansicrwydd mwyaf.

Wedi cludo heretic i'r carchar, dechreua y ceidwaid ei chwilio am lyfrau a phapyrau a allent arwain i'w euogi, neu am offerynau a allent fod yn foddion hunanladdiad, neu ddiangiad; ac ar yr esgus hwn yspeiliant y carcharor truan hyd yn nôd o'i ddillad. Wedi ei chwilio a'i yspeilio, teflir ef i gell ddiogel. Corsen wan fyddai diniweidrwydd ar y fath achlysur; nid oedd dim yn fwy hawdd na dinystrio person diniwed.

## 4. *Hunan-amddiffyniad y cyhuddedig.*

Yn nhŷ y chwil-lys, fel y mae hyd heddyw yn Rhufain, byddai neuadd helaeth, a gwahanol eisteddleoedd ynddi, i gynnal treialon hereticiaid. Dygid y gorchwylion oll ymlaen gyda'r geledigaeth fwyaf; ni oddefid neb i fod yn bresennol ond y swyddogion priodol. Weithiau, elai un o'r ceidwaid at heretic a fyddai yn ngharchar, i ofyn iddo a ewyllysiai gael gwrandawiad neu dreial, a dywedai fod y Tadau Sanctaidd am ddangos pob tynerwch ato. Bryd arall, un o'r ystryw-wyr a äi at y carcharor, a llefarai wrtho yn hynod o dirion, gan ddangos cydymdeimlad dwfn ato, ac ymhoni ei fod yn gyd-ddyoddefydd, ac felly ymwenieithiai i serch a hyder llawn heretic difeddwl drwg a chrynedig, fel ag i gael ganddo adrodd ei holl hanes; a gwneid defnydd da o'r pethau hyn fel cynifer o dystiolaethau yn ei erbyn ef pan ddelai y prawf.

Y mae yn wir y rhoddid cynhghorwr i'r carcharor ar ei dreial, ond twyll oedd hyn oll i'w hudo i gyfaddef unrhyw beth am dano ei hun, ac am eraill, ac i wisgo ymddangosiad o gyfiawnder. Gweniaith yn awr a dychryn yn y man, oedd gwaith olynol a pharhäus swyddogion y chwil-lys tuag at eu carcharorion.

Os na chyfaddefai y carcharor mewn un modd i'r ceidwad, cedwid ef yn y carchar ar ychydig o fara a dwfr, i orchfygu ei gyndynrwydd; ac os mynegai ei ddiniweidrwydd, poenid ef hyd angeu, oni wnai yn y cyfamser ei addef ei hun yn euog. Yn y diwedd, byddai raid i bawb gyffesu eu bod yn Babyddion, neu nad oeddynt. Os addefent nad oeddynt, erlynid hwy fel hereticiaid; ac os addefent eu bod yn Babyddion, dygid lliaws o gyhuddiadau yn eu herbyn, i ba rai yr oeddynt yn rhwym o ateb yn ddioed, gan nas goddefid iddynt hyd yn nôd drefnu eu hatebion. Ni fethai swyddogion y chwil-lys byth wneyd gwrthddrychau eu llid yn euog; os nad ymeuogai y cyhuddedig, cyhoeddid ef yn gyndyn, a gwasanaethai ei gyndynrwydd i'w arwain i ddiwedd ofnadwy.

Dichell arall a arferid gan y chwil-lyswyr gyda'u carcharorion, oedd rhoddi rhês o gyhuddiadau ar bapyr iddynt, a rhai o honynt y mwyaf arswydus a allasai dynion mewn cnawd eu cyflawni. Ar waith y cyhuddedigion yn myned dros y fath bethau haerllug, cyffröid hwy gan lid fod y fath ddynion i'w cael ag a'u cyhuddent o'r cyfryw droseddau; yna dywedid wrthynt am nodi allan yn ofalus y rhai erchyllaf, nad oeddynt hwy yn euog o honynt: gwneid hyny; ac wedi i'r chwil-lys edrych drostynt, haerent fod y carcharorion yn addef y cyhuddiadau lleiaf; a gwasanaethai y rhai hyny i ddyfod â barn poenydiant ac angeu yn eu herbyn.

## 5. *Y dulliau o boenydio a arferid gan y Chwil-lys.*

Defnyddiai y chwil-lys dri dull neillduol i boenydio hereticiaid,—dwfr,

arteithglwyd, a thân. Yr oedd fel hyn yn sicr o blygu neu ddyfetha ei elynion. Cymerwn yr anghreifftiau dilynol a ysgrifenwyd gan un a ddyoddefodd y poenydiant triphlyg.

(1). *Yr arteithiad cyntaf.*

Ar waith y carcharor yn gwrthod cyflawni cais drygionus y chwil-lyswyr, trwy addef yr holl droseddau a ddygid yn ei erbyn, cymerwyd ef yn ddioed i'r ystafell boenydio, yr hon ystafell a wigesid â math o gynfas dew, yr hwn a guddiai bob agen, ac a farweiddiai bob swn, fel na byddai i'r carcharorion eraill glywed dolefain, ysgrechfeydd, a gruddfanau y dyoddefwyr. Yr oedd dychryn y carcharor yn ddirfawr ar ei waith yn myned i mewn i'r lle uffernol hwn; pan yn ddisymwth yr amgylchid ef gan chwech o ddyhirod, y rhai, ar ol darparu yr offerynau poenydio, a'i dyosgent ef yn noethlymyn hyd at ei islodrau, ac a'i gosodent ar ei gefn ar fath o safle, wedi ei gyfodi ychydig droedfeddi oddiwrth y llawr. Dechreuent trwy roddi math o gebystr haiarn am ei wddf, a modrwy ar bob troed, y rhai a'i sicrhäent wrth y safle. Wedi estyn ei aelodau fel hyn, cylyment ddwy raff am bob braich, a dwy am bob morddwyd; ac wedi gosod y rhaffau tan adeilglwyd trwy dyllau i'r perwyl, tynëid hwy oll ar yr un eiliad gan bedwar o ddynion, ar waith arwydd yn cael ei roddi. Yr oedd y poenau a ddilynent yn ddioed yn annyoddefol; torai y rhaffau, y rhai oeddynt feinion, gnawd y dyoddefydd hyd yr asgwrn, gan beri i'r gwaed ffrydio mewn wyth o fanau. Fel ag y parhâi i beidio gwneyd unrhyw addefiad o'r hyn a ofynai y chwil-lyswyr, tynid y rhaffau yn y dull hwn am bedair gwaith yn olynol.

Yr oedd yno physygwr a llawfeddyg, y rhai a deimlent ei arlesiau yn fynych, mewn trefn i farnu pa faint a allasai y dyoddefydd ddal; a lleihëid ei boenydiau am ychydig o amser nes y cai gyfle digonol i ymadfywio fel ag i ddyoddef pob artaith pellach. Yn ystod eithafoedd yr ing yma, tra yr oedd y corff tyner yn cael agos ei ddarnio yn chwilfriw, tra yr oedd pob chwysdwll yn teimlo arteithiau llymaf angeu, a'r enaid ingawl ymron yn barod i dori o'r corff a gadael ei babell druenus, dangosai gweision y chwil-lys y fath ddideimladrwydd fel yr edrychent arno yn ddigyffro; ac yn dawel cynghorent y crëadur truenus a gorphwyllog i gyfaddef ei euogrwydd cyfrifedig, mewn canlyniad i'r hyn, fel y dywedent hwy wrtho, y cai faddeuant a gollyngdod. Yr oedd hyn oll, modd bynag, yn aneffeithiol gyda'r carcharor dan sylw, meddwl yr hwn a gryfhëid gan gydwybodolrwydd o'i ddiniweidrwydd a chysur dwyfol crefydd.

Tra yr oedd fel hyn yn dyoddef, yr oedd y physygwr a'r llawfeddyg mor farbaraidd a mynegi, os byddai farw dan yr artaith, y byddai yn euog, trwy ei gyndynrwydd, o hunanladdiad. Yn fyr, y tro diweddaf y tÿnhäwyd y rhaffau, aeth mor hynod o wan trwy attaliad cylchrediad ei waed, a'r poenau a ddyoddefai, fel y llewygodd; ac ar hyny gollyngwyd ef, a chludwyd ef yn ol i'r daeardŷ.

(2). *Yr ail arteithiad.*

Wedi i'r adynod hyn weled nad oedd yr artaith a roddwyd, fel y desgrifiwyd, yn foddion i wasgu addefiad o'r carcharor, buont mor farbaraidd a'i boenydio yn yr un modd ymhen y chwech wythnos, ac yn llymach, os oedd modd, na chynt. Dull yr ail weinyddiad oedd fel y canlyn:—Gwasgent ei freichiau o'i du cefn, nes y troisid cledrau ei ddwylaw allan, pan, trwy gyf-

rwng rhaff a sicrhäai ei freichiau ynghyd wrth ei arddyrnau, a'r rhai a droid gan beiriant, tynent hwy yn raddol yn nes at eu gilydd, a hyny yn y fath fodd ag i ddwyn cefn y dwylaw yn gyfochrog â'u gilydd. Trwy y fath groesdröad annaturiol, dadgymalwyd ei ddwy ysgwydd, a ffrydiodd cryn lawer o waed allan o'i enau. Mynychwyd yr artaith hon dair gwaith; ar ol yr hyn y cymerwyd ef i'r daeardŷ, a thraddodwyd ef i'r physygwr a'r llawfeddyg, y rhai wrth osod yr esgyrn a ddadgymalwyd yn eu lle, a achosasant iddo boen annhraethol.

### (3). *Y trydydd arteithiad.*

Tua deufis ar ol yr ail arteithiad, pan yr oedd y carcharor wedi gwella ychydig, cafodd ei gymeryd i'r ystafell boenydio, ac yno cosbwyd ef mewn dull arall. Sicrhâi y dienyddwyr gadwyn haiarn ddwywaith am ei gorff, y rhai gan groesi ei ddwyfron, oedd yn terfynu wrth ei arddyrnau. Yna gosodent ef â'i gefn yn erbyn astellan drwchus, wrth ddeupen pa un yr oedd chwerfan (*pulley*), trwy yr hwn y rhedai rhaff a gylymasid wrth ben y gadwyn wrth yr arddyrnau. Yna y dienyddiwr, gan estyn pen draw y rhaff hon trwy gyfrwng tröydd a osodasid ychydig tu cefn iddo, a wasgai ac a friwiai ei ddwyfron yn ol y graddau y dygid ynghyd benau y gadwyn. Arteithient ef yn y dull yma i'r fath raddau fel ag y dadgymalwyd ei arddyrnau, yn gystal a'i ysgwyddau. Yn fuan, modd bynag, gosodwyd hwy yn eu lle gan y llawfeddyg; ond y barbariaid heb fod eto yn foddlawn, a barasant iddo gael ei boeni yn yr un modd yr *ail waith* ar yr un tro; yr hyn a ddyoddefodd y truan, pa fodd bynag, gyda phenderfyniad a sefydlogrwydd. Anfonwyd ef drachefn i'r daeardŷ, gyda llawfeddyg i drîn ei glwyfau, ac i osod yn eu lle yr esgyrn a ddadgymalwyd; ac yno yr arosodd yn garcharor, nes y daeth dydd yr *Auto da fe*, pan yn ffodus iddo ef y cafodd ei ryddhâu.

## PENNOD V.

### DULLIAU ERAILL O ARTEITHIO.

Gosodai y chwil-lyswyr bob peth dan deyrnged i boenydio y rhai a alwent hwy yn hereticiaid. Weithiau defnyddient *ddwfr* fel offeryn cosb. Gorfodid y dyoddefydd i dderbyn i'w gorff lawer o ddwfr; ac wedi gorlenwi y dyn â'r elfen hon, byddai yn ddirboenus iddo ei hun. Hongid ef wedi hyny gerfydd ei geseiliau, a phwysau dirfawr wrth ei draed, tra y chwyddai gan y gorlawnder o ddwfr, a pharai ei sefyllfa boenau dirdynol iddo. Tybiai yn awr fod ei holl aelodau yn cael eu dadgymalu gan y pwysau wrth ei draed; bryd arall dychymygai fod cant o gyllill yn trywanu ei gefn; achosid poenau yn asgwrn y cefn gan y dwfr a chwyddai ei gorff tra yn crogi rhwng y chwerfan a'r llawr. Weithiau, gosodid y dyoddefydd ar fainc geuol ar ol ei orfodi i yfed dwfr i ormodedd. Tua chanol y fainc, ar ei thraws, yr oedd y pen megys yn dal y cefn; ond parai hyn boen arteithiol i'r neb a fyddai yn wrthddrych y cyfryw gosb.

Un o'r poenau mwyaf ofnadwy oedd rhwbio y traed âg irad, neu ryw frasder arall, a'u gosod yn agos i dân araf, ond digon cryf i ennyn y brasder, a gadewid i wadnau y traed losgi nes y cyffesai y person. Parhëid pob un o'r arteithiau hyn cyhyd ag y gwelai physygwr y chwil-lys yn addas,—cyhyd ag y gallai y dyn eu dyoddef heb gael ei ladd ganddynt. Gallai y dyn gyffesu yn awr os mynai, ond gosodid ef drachefn dan yr un arteith-

iau; yn gyntaf, i weled ei amcan wrth gyffesu; ac yna, iddo gyhuddo rhai o'i gydgyfrinwyr. Diammheu yr esgusodir ni yn rhwydd gan ein darllenwyr rhag myned ymhellach ar pen hwn, yn enwedig gan y bydd raid i ni eto roddi iddynt lawer enghraifft o ddyoddefiadau dynion o bob gradd a syrthiasant i bawenau dieflig y "llys ofnadwy."

## PENNOD VI.

### Y CHWIL-LYS YN FFRAINC.

Wedi i'r chwil-lys fodoli â gweithredu am tua phedwar can' mlynedd yn Toulouse, a manau eraill yn y wlad hon, dangoswyd gwrthwynebiad iddo yn ei hen ffurf gan Harri II.; ond caniatäwyd gallu i'r chwil-lyswyr fyned oddiamgylch y wlad mewn dull arall i gyflawni yr un amcanion. Y brwydrau parhâus rhwng y wlad hon a Rhufain,—rhwng brenin ac offeiriaid Ffrainc yn erbyn ymhoniadau trahâus y Pabau a'u negeswyr, a weithredent fel attalfa i rwysg yr hen chwil-lys.

Er hyny arosai yr un ysbryd o elyniaeth at ganlynwyr Crist yn y wlad, a meddylir fod y chwil-lys wrth wraidd y llofruddiaeth fradwrol ac ofnadwy a fu ar y Protestaniaid yn Paris a'r ardaloedd yn y flwyddyn 1572, a elwir yn gyffredin yn "lladdfa dydd St. Bartholomeus." Lladdwyd tua 60,000 mewn tri diwrnod. Yr oedd cynghor dwfn wedi ei lunio gan Babyddion i effeithio hyn oll.

Dinystriwyd gallu y chwil-lys yn Ffrainc yn y flwyddyn 1682, trwy ddadleuon a gymerasant le rhwng Negeswr y Pab Innocent X. a Louis XIV., pryd y cyfododd senedd Ffrainc mewn llid yn erbyn cynnulleidfa a llys Rhufain. Felly ni fuwyd yn alluog i gario bwriadau ystrywgar Pabyddiaeth allan trwy gyfrwng y chwil-lys drachefn ymysg y Ffrancod. Er i'r wlad gael ei llanw âg ofergoelion y grefydd hono, eto ni phlygodd i'r Pab fel pen *gwladol* erioed, ac y mae wedi rhoddi llawer hèr iddo fel penaeth *ysbrydol* hefyd.

## PENNOD VII.

### SEFYDLIAD Y CHWIL-LYS YN HISPAEN.

Mendoza, Cardinal Hispaen, a fu y prif offeryn i sefydlu y "llys ofnadwy" yn y wlad hon. Yr oedd gwaith yr Iuddewon, y Mooriaid, a'r Cristionogion, yn ymgysylltu â'u gilydd mewn rhydd ymddyddan, masnach, &c., yn beth tra blin i bleidwyr y Pab; a dechreuwyd gwella y drwg hwn trwy wneyd chwiliadau manwl am hereticiaid yn Seville. Y rhai a gafwyd yn euog a gosbwyd yn llym. Os bernid fod eu troseddau yn fawr, yna wedi eu carcharu am hir amser, a'u poenydio, llosgid hwy. Troseddwyr llai a gaent eu gwarthruddo, hwy a'u teuluoedd; amddifadid eraill o'u heiddo, a chosbid rhai dros eu bywyd. Gwisgai llawer o honynt y "sach fendigaid,"—math o gochl a wisgid gan yr hereticiaid mwyaf haerllug. Yr oedd ystryw-wyr ymhob tref a phentref i gasglu hysbysiaeth o berthynas i encilïaeth oddiwrth yr unig wir eglwys, ac i wylied pob symudiad. Fray Tomas de Torquemada, o urdd St. Dominic, oedd y chwil-lyswr blaenaf yn nheyrnas Castile. Yr oedd efe yn ddyn o ddysg a dylanwad mawr, ac yn ffafr Ferdinand ac Isabella, y rhai a eisteddent ar yr orsedd y pryd hwnw. Ymhen pedair blynedd wedi yr apwyntiad cyntaf, ymestynai gallu Torquemada i Arragon. Yn 1623, preswyliai chwil-lyswyr yn y trefydd

canlynol:—Toledo, Cuenca, Murcia, Valladolid, Granada, Llerena, Santiago, Logrona, Seville, a Cordova; ac o dan lywodraethau Arragon, Valencia, Zaragoza, a Barcelona.

Arferid pob dichell i rwydo y diniwed, ac i liosogi hereticiaid. Cynnygiwyd gwobr i bwy bynag a ymddangosai o hono ei hun o flaen y llys i ymgyhuddo; a bu yr hudoliaeth yn foddion i ddenu miloedd i grafangau y llewod dynol hyn. Gyda gobaith o faddeuant, dywedir i 17,000 o bob gradd ac oed gael eu llosgi, ac i nifer mwy ffoi i'r gwledydd cymydogaethol.

Trwy Babysgrif o eiddo Gregory IX., dyddiedig Medi 26, 1232, gwnaethpwyd y mynachod Dominicaidd yn chwil-lyswyr yn nheyrnas Arragon; ac o'r amser hwnw gwnaethpwyd chwiliadau am ddirywiaeth hereticaidd yn mhedair teyrnas Arragon, Navarre, Castile, a Portugal. Yr oedd Granada yn meddiant y Mooriaid. Yr oedd y rhan fwyaf o'r boblogaeth yn Hispaen yn gynnwysedig o Iuddewon, neu ddynion a ddychwelasid yn ddiweddar oddiwrth Iuddewaeth at Eglwys Rhufain. Ennillasai miloedd o Iuddewon gryn gyfoeth a dylanwad yn y wlad trwy eu diwydrwydd, a chyfodasant i undeb priodasol â rhai o'r teuluoedd parchusaf, er gwaethaf senedd ac offeiriaid. Yr oedd llawer o'r Pabyddion yn ddwfn yn nyled yr Iuddewon; ac i'r dyben o ymryddhâu o afael eu gofynwyr, darfu i'r offeiriaid, o dan esgus o zel dros grefydd, eu dwyn o flaen yr ynadon, a chynhyrfu y werin yn eu herbyn. Dywed un awdwr fod dros gan' mil o Iuddewon wedi cael eu lladdyn yr heolydd, trwy gynddaredd y terfysglu, yn y flwyddyn 1391. Darfu i dros filiwn o Iuddewon gyfnewid eu henwau yn y pedwarydd canrif ar ddeg. Byddai llawer o bregethwyr mynachaidd yr amser hwn yn taranu yn erbyn yr Iuddewon, a gosodwyd yr holl genedl wrthodedig o dan wyliadwriaeth fanylaf y chwil-lys. Gwyliai goruchwylwyr y "llys ofnadwy" dros Iuddewon, Mahometaniaid, a Moriscoaid yn neheubarth Hispaen.

Yn 1477, trwy awgrymiad Barberi, chwil-lyswr Ynys Sicily, sefydlwyd llys unol yn Hispaen fel y moddion goreu a mwyaf effeithiol i ddiwreiddio heresi o'r tir. Gweithredasai y chwil-lys yn dda yn Sicily ar y dull hwnw. Cymerwyd y peth i fyny yn ddioed gan y Dominiciaid a holl urddasolion yr offeiriaid pregethwrol, ac anfonwyd deisebau i'r orsedd yn crefu am awdurdod i lunio y chwil-lys yn ol dull Sicily. Cymerwyd y fantais i wneyd apeliad at gybydd-dod y brenin, a duwioldeb y frenines. Addawai yr apelwyr y cai y brenin gyllidau dirfawr oddiwrth werthiant meddiannau hereticiaid; a llanwyd clustiau y frenines âg enghreifftiau o lofruddiaethau a drygau eraill a gyflawnwyd, meddai y gwenieithwyr, gan Iuddewon. Cafwyd caniatâd yr orsedd, ac anfonwyd at y Pab i gadarnhâu y cais.

Aeth Cardinal Mendoza rhagddo i gyhoeddi cyfraith yn Seville, yn 1478; yr hon a gynnwysai safon o bethau i'w credu ac i'w cyflawni, wedi eu cyhoeddi trwy awdurdod, ac i gael eu hargymhell gan yr holl swyddogion eglwysig. Gwelodd yr offeiriaid fod yn anmhosibl dychwelyd yr Iuddewon trwy reswm a darbwylliad, a chawsant Babysgrif arall i gario eu hamcanion ymhellach. I ragflaenu ymryson rhwng y brenin a'r Pab, penderfynwyd fod rhai o bob ochr i feddu awdurdod yn y gwaith uffernol o erlidigaeth, poenydiant, a llofruddiaeth. Bu drwgdybiaeth ymddangosiadol o leiaf, rhwng y Tywysogion Pabaidd a'r personau a benodasai y Pab, am fod y blaenaf yn tybied mai hawliau yr eglwys fyddai o flaen pob peth gan yr offeiriaid, ac yr aberthid llesiant y goron i dwyll a hunangodiad offeir-

iadol. Ond meddylir mai dichell oedd hyn, a ffurfiwyd gan y Prif Gynghor yn erbyn hereticiaid. Y mynach Tomas de Torquemada oedd y prif chwil-lyswr, a dywedir ei fod yn gymhwys i'r perwyl ymhob ystyr, —yr oedd yn hyf, diegwyddor, dichellgar, barbaraidd, a gwaedlyd. O fewn tiriogaeth gweithrediad y Prif Gynghor, yr oedd pedwar o îslysoedd, fel y byddai amgylchiadau yn gofyn. Yr oedd gan y prif chwil-lyswr allu pendant a hollol dros bob un o ddeiliaid Ferdinand. Yr oedd penderfynu yr holl brif faterion yn perthyn i chwil-lys Madrid.

Yn 1478, cynnullwyd glwys-senedd yn Seville, lle yr eisteddai y llys breninol y pryd hwnw. Yn ddioed cyfarfyddodd senedd Toledo, a phasiwyd amryw ddeddfau gormesol yn erbyn yr Iuddewon, yn gwahardd i bawb o honynt weithredu fel physygwyr, llawfeddygon, gwestywyr, eillwyr, neu gyffeirwyr, ymhlith y Pabyddion. Aeth y chwil-lyswyr i Seville mewn rhwysg ar geffylau, gyda gosgordd o ddynion y rhai a ddygasid i'r gwaith trwy orchymyn breninol; ond yno gwrthodai yr awdurdodau gwladol eu cynnorthwyo, ac felly dyryswyd y chwil-lyswyr. Cafwyd fod gwrthddrychau eu cenadaeth wedi ffoi o'r ddinas i ardaloedd cymydogaethol. Ar hyn anfonodd Ferdinand orchymyn newydd yn 1481, i wasgu ufudd-dod a chydweithrediad dioed ar ran yr ynadon. Bu cynhwrf dirfawr trwy yr holl ddinas, a rhoddwyd gorchymyn i'r holl bendefigion yn nhaleithiau pa rai y gallai rhai o'r ffoedigion fod yn llechu, i'w hanfon yn ol i Seville o fewn pythefnos. Yr oedd pawb na wnai hyn i gael eu gwarthnodi fel pleidwyr heresi, eu difreintio o'u teitlau, a'u hamddifadu o'u meddiannau. Yn fuan gwelwyd lluoedd o ffoedigion yn cael eu gyru fel drwgweithredwyr i Seville. Gorlenwyd mynachdai a charcharau gan garcharorion, a gorfu i gastell Triana, ar lân yr afon Guadalquivir, gael ei droi yn garchar.

Buddugoliaethodd y chwil-lyswyr ar y dinasyddion a'r ynadon, a chyhoeddasant fod y chwil-lys wedi ei sefydlu yn y lle. Cyhoeddwyd ail ddeddf ganddynt, yn yr hon y cynnygid trugaredd a maddeuant i bwy bynag ag a ddeuai mewn edifeirwch am ei heresi, a chai fod yn rhydd oddiwrth ddirwyaeth, carchar, a phob cosb arall, ar yr ammod iddo ddychwelyd fel plentyn afradlawn i fynwes yr Eglwys Babaidd. Rhedodd llawer i fynachdŷ St. Paul, mewn gobaith y caent drugaredd. Ond ni wnai y chwil-lyswyr eu rhyddhâu nes y dywedent eu henwau, eu galwedigaethau, a'u hannedd, ac y rhoddent ddesgrifiad o bawb o fewn cylch eu gwybodaeth, a wrthgiliasent, neu a ogwyddasent at hyny. Yr oedd y drydedd daranfollt i gael ei hanelu yn erbyn yr Iuddewon, a gorchymynwyd i bawb roddi hysbysiaeth a'u cyhuddent o fewn chwe' diwrnod, o dan berygl cosbau anarferol. Yr oedd gwrthddrychau yr ymosodiad o'r cosbau hyn wedi eu nodi allan yn barod, a gwelwyd y gwyswyr yn tori i dai, ac yn llusgo eu hysglyfaeth ymaith mewn cynddaredd buddugol. Unrhyw Iuddew y ceid ei fod wedi glynu wrth ddefodau ei genedl, hyd yn nôd yn y pethau mwyaf dibwys, a euogid o heresi, ac a syrthiai i balfau marwol y chwil-lys. Cyhoeddwyd un ar bymtheg ar hugain o erthyglau i gyfarwyddo pob dyn pa fodd i rwydo a dinystrio ei gymydog.

Yn y flwyddyn 1481, llosgwyd o ddau i dri chant o bersonau, a chondemniwyd triugain a naw i garchariad parhâus. Cymerodd hyn oll le yn ninas Seville yn unig: ac yn nhiriogaethau yr archesgobaeth hono, ac yn esgobaeth Cadiz, llosgwyd yn bersonol, medd un awdwr, ddwy fil am Iuddewaeth, tra y darostyngwyd dwy fil ar bymtheg i benyd. Ond a

ddarfu i holl greulonderau y chwil-lyswyr gael eu cofnodi a'u trosglwyddo i lawr i'n dyddiau ni? Fe allai nad yw yr hanesion gwasgaredig a hannerog ag sydd yn awr ar gael yn cynnwys y filfed ran o weithrediadau gwaedlyd y chwil-lys, yn enwedig os ystyriwn mor aml yr oedd rhyfeloedd a thywallt gwaed yn yr amseroedd hyny yn unig ar gyfrif golygiadau crefyddol.

Yr oedd y nifer a losgid mor fawr, fel y parodd llywydd Seville i esgynlawr ceryg mawr gael ei adeiladu tu allan i'r ddinas, yr hwn a barhâodd yno nes i'r Ffrancod gymeryd y lle: gelwid ef *quemadero,* neu "losgfan." Wrth bedair congl yr esgynlawr, yr oedd pedair o ddelwau ceuol dirfawr o geryg calch, ymha rai y gosodent yr anedifeiriol yn fyw, fel y dyfethid hwy gan dânau araf. Bu y cosbau ofnadwy hyn yn foddion i wasgaru lluoedd i Ffrainc, Portugal, ac Affrica. Yr oedd ymfudiaeth orfodol yn beth cyffredin yn yr "amseroedd enbyd" hyn. Gwnaed achwyniadau lawer wrth y brenin yr amser hwn yn erbyn y chwil-lyswyr; ond ennillodd cyfrwysder y Pab y dydd, a chafodd y brenin fod yn y golled. Wedi hyn, gwelwyd y ddwyblaid yn ymuno yn y gwaith o gosbi a lladd y saint ac o feddwi ar eu gwaed.

Nid oedd dim a dröai Torquemada oddiwrth ei amcan, a phrysurodd i chwanegu Arragon at ei awdurdodaeth. Yn nechre y flwyddyn 1484, sefydlwyd y llys gwaedlyd yn ninas Tarazona, a chrëwyd dau o uchelswyddogion eglwysig yn chwil-lyswyr i'r lle hwnw. Aeth gorchymyn breninol allan i'r holl awdurdodau gwladol yn y ddinas a'i hardaloedd, i gynnorthwyo y Swyddfa Sanctaidd yn ei holl symudiadau, ac mewn modd rhwysgfawr, cymerodd y prif swyddogion dinasol lŵ ar y Pedair Efengyl, y cadwent orchymyn y brenin. Y mae haneswyr yn galw y chwil-lys hwn yn Hispaen yn newydd, mewn cyferbyniad i'r hen un yn Toulouse. Wedi sefydliad y chwil-lys yn y ddinas uchod, taflwyd yr holl brif deuluoedd yn y wlad i ddychryn, a darfu i liaws o ddynion o urddas a swyddau uchel yn y wladwriaeth anfon dirprwyaeth i Rufain yn ardystio yn erbyn y chwil-lys newydd; ac anfonwyd apeliad i lys yr Unbenaethiaid Pabaidd. Ond ni fu hyn o un llesâd; a chyffröwyd y chwil-lyswyr mor fawr, nes y nodwyd yr holl ddirprwywyr uchod i saethau marwol llid a brad, ac ni chollwyd dim amser i ddwyn y bwriadau mwyaf gwaedlyd i ben. Yn haf 1485, cynnaliwyd dau gyfarfod barn arbenig i'r chwil-lys yn Zaragoza, a llosgwyd llawer yn fyw. Er fod y werin yn gynddeiriog yn erbyn y creulonderau hyn, nid oeddynt yn alluog i'w gwrthwynebu yn effeithiol, gan fod y milwyr a'r gallu gwladol wedi eu sicrhâu ymlaen-llaw gan ddiofrydwyr ysgeler Pabyddiaeth.

Yn 1485, llofruddiwyd Pedro Arbues, un o chwil-lyswyr Zaragoza, er ei fod wedi ymarfogi â chochl ddur dan ei ddillad, ac â helm ddur dan ei het. Lladdwyd ef gan ddau ddyn yn yr eglwys gadeiriol yn ystod y boreweddïau; tarawodd un ef ar ei fraich chwith, a'r llall ar ei wegil, ac efe a fu farw heb yngan gair. Tröwyd y llofruddiaeth hwn yn esgus i'r chwil-lyswyr attal drygau. Dychrynwyd y frenines Isabella o herwydd bradladdiad ei chyfaddefwr. Cyfododd y frenines wyddfa er anrhydedd i Pedro, a seintiwyd ef yn fuan wedi hyny. Daeth ei feddrod mor hynod fel y cyflawnwyd gwyrthiau yno! Yn 1664, rhestrwyd ef ymhlith y merthyron bendigedig, a throsglwyddwyd ei lwch i gapel gerllaw yno, a gyfodasid o ddefnyddiau y beddadail. Y mae yn gyflawn bryd bellach i'r darllenydd gael desgrifiad o'r *Autos da fe,* neu weithredoedd o ffydd, fel y gelwid y gor-

ymdeithiau gwawdus a dychrynllyd a gedwid ar ddyddiau arbenig, pan fyddai nifer o hereticiaid i gael eu llosgi.

## PENNOD VIII.

### AUTO DA FE, NEU WEITHRED O FFYDD YN MADRID, YN 1682.

Blaenorid swyddogion y chwil-lys gan ddynion yn chwythu mewn udgyrn, yn curo tabyrddau, gyda'u baneran yn chwyfian, a chyhoeddent ar y 30ain o Fai, mai ar y 30ain o Fehefin y rhoddid dyfarnau y carcharorion mewn gweithrediad. Nid oedd golygfa o'r fath wedi ei gweled er ys amryw flynyddau yn Madrid, am ba reswm y dysgwylid hi gydag awydd mawr gan y trigolion fel dydd o ŵyl a buddugoliaeth o'r mwyaf.

Pan ddaeth y dydd apwyntiedig, ymgynnullodd torf ddirfawr o bobl, wedi ymwisgo mor orwych ag y goddefai eu hamgylchiadau. Yn y petryal mawr, cyfodwyd esgynglwyd uchel; ac yno y dygwyd carcharorion gwrywaidd a benywaidd, o saith o'r gloch yn y bore hyd yr hwyr. Anfonai holl chwil-lyswyr y deyrnas eu carcharorion i Madrid. Gorchymynwyd i ugain o'r carcharorion hyn gael eu llosgi, gydag un Mahometan enciliedig; dyfarnwyd deg a deugain o Iuddewon ac Iuddewesau, y rhai ni charcharesid erioed o'r blaen, i gaethiwed maith, ac i wisgo penwisg melyn, yn gymaint a'u bod yn edifarhâu am eu troseddau; dyfarnwyd deg arall a gyhuddesid am ddwywreigiaeth, dewiniaeth, a throseddau eraill, i gael eu fflangellu, a'u hanfon i'r cosbfadau. Gwisgai y rhai diweddaf hyn gapiau papyr mawrion, gydag arysgrifeniadau arnynt, a chebystr am eu gyddfau, a goleuen yn eu dwylaw.

Ar yr achlysur arbenig hwn, yr oedd holl lys Hispaen yn bresennol. Anrhydeddesid o'r blaen rai o freninoedd y wlad hon â golygfeydd erchyll o'r fath, ar ddydd eu genedigaeth, eu priodas, neu eu coroniad. Gosodwyd y prif chwil-lyswr mewn math o lysgadair, ymhell uwchlaw cadair y brenin. Cyflawnai y pendefigion yma ran gweision y sirydd yn Mhrydain, gan ffurfio gosgordd y carcharorion, ar eu gwaith yn cael eu harwain i gael eu llosgi. Dalient hwy hefyd wedi iddynt gael eu rhwymo â thenynau cryfion; arweinid y lleill o'r carcharorion gan ystryw-wyr y chwil-lys.

Ymhlith y rhai ag oeddynt i ddyoddef, yr oedd Iuddewes ieuanc o brydferthwch mawr, yr hon nad oedd ond dwy ar bymtheg oed. Gan ei bod yr un ochr i'r esgynlawr ag yr eisteddai y frenines, apeliodd ati mewn gobaith o gael maddeuant, gan ddywedyd, "Frenines enwog! oni fydd eich presennoldeb breninol o ryw wasanaeth i mi yn fy sefyllfa resynus? Cymerwch drugaredd ar fy ieuenctyd; ac O! ystyriwch fy mod yn myned i gael fy rhoddi i farwolaeth am broffesu crefydd a goleddais o'm mebyd!" Ymddangosai ei Mawrhydi fel yn teimlo yn ddwys wrth ei chlywed; ond trôdd ei llygaid o'r neilldu, yn gymaint ag nas meiddiai ddywedyd gair o blaid y person a gyhoeddesid yn heretic gan y chwil-lys.

Dechreuai gwasanaeth yr offeren yn awr, yn nghanol yr hyn y daeth yr offeiriad oddiwrth yr allor, yr hon oedd yn agos i'r esgynglwyd, ac eisteddai mewn cadair a barotoisid i'r perwyl. Yna disgynai y prif chwil-lyswr o'r ogylchfa *(amphitheatre)*, wedi ei wisgo yn ei wisg offeiriadol, a meitr ar ei ben. Wedi ymostwng at yr allor, dynesai at ganllaw y brenin, ac esgynai hi, gyda rhai o'r swyddogion, yn cludo croes a'r efengylau, gyda llyfr yn cynnwys y llŵ trwy ba un y mae breninoedd Hispaen yn ymrwymo

i amddiffyn y ffydd Babaidd, i ddiwreiddio hereticiaid, ac i gynnorthwyo â'u holl allu erlyniadau a deddfau y chwil-lys. Ar ddynesiad y chwil-lyswr, ac ar ei waith yn rhoddi y llyfr hwn i'r brenin, cyfodai ei Fawrhydi yn bennoeth, a thyngai y cyflawnai y llŵ, yr hwn a ddarllenid iddo gan un o'r cynghorwyr. Wedi hyn safai y brenin nes y dychwelai y chwil-lyswyr i'w le, pryd yr esgynai cofiadur y swyddfa sanctaidd i fath o bulpud, a rhoddai y cyffelyb lŵ i'r cynghorwyr a'r holl gynnulleidfa. Dechreuwyd gwasanaeth yr offeren tua hanner dydd, ac ni therfynodd hyd naw yn yr hwyr. Achoswyd meithder y gwasanaeth trwy ddadganiad dyfarnau y gwahanol garcharorion, y rhai a ddarllenwyd un ac un yn uchel. Yna aed at y gwaith o losgi un ar hugain o ddynion a menywod, gwroldeb pa rai oedd yn hynod, yn ngwyneb dyoddef angeu mor ddychrynllyd. Gwthiai rhai eu penau a'u traed i'r fflamau gyda mawrfrydedd anorchfygol; ac ymostyngai pawb o honynt i'w tynghed gyda'r fath benderfyniad meddwl, fel ag y gofidiai llawer o'r edrychwyr synedig am nad oedd y fath eneidiau gwronaidd wedi cael gwell goleuni a gwybodaeth. Yr oedd eisteddle y brenin mor agos i'r carcharorion, fel y clywai yn amlwg eu gruddfanau marwol; ond nis gallai fod yn absennol o'r olygfa erchyll hon, am yr ystyrid hi yn un *grefyddol*, ac am y rhwymai ei lŵ coronol ef i roddi ei noddaeth a'i bresennoldeb i holl weithredoedd y llys erchyll.

Cymerid gofal neillduol i bentyru pob gwarth a dirmyg ar y carcharorion a adewsid i'w llosgi, sef y rhai a barhäent yn ddiysgog yn eu proffes o Gristionogaeth bur y Testament Newydd, ac a gyffesent gyffes dda ger bron llawer o dystion. Rhoddid cynnyg ar gynnyg iddynt wadu eu ffydd, a dychwelyd i'r wir eglwys cyn marw; a rhoddid addewid gysurlawn o lindagiad a llosgiad eu cyrff wedi hyny, yn hytrach na chael eu llosgi yn fyw wrth dânau araf y "llosgfan" yn nghanol gwawd a banllefau y lluoedd gorwyllt a ffiaidd a ymdyrent i arddefodau yr *Autos da fe*. Y cynnygiad ofer olaf i wadu a ddilynid gan gosb y safnglo *(gag)*, sef llanw y genau yn dŷn â darn o bren, yr hwn oedd dra phoenus, wedi hanner llenwi y genau yn gyntaf â gwlan. Yr oedd y gosb hon yn rhoddi attalfa ar hereticiaid rhag siarad pan yn ymyl dyoddef, fel na byddai i neb o'r gwyddfodolion dosturio wrthynt, na chael eu llygru mewn un modd â'u hathrawiaethau.

Parhäodd y chwil-lys yn Madrid nes ei ddinystrio gan Napoleon y I. yn nechre y canrif hwn.

---

# LLYTHYRAU GREYSON.

[Selections from the Correspondence of R. E. H. Greyson, Esq. *Edited by the Author of "The Eclipse of Faith."* 2 Vols., Longman.]

Gwyr pawb sydd yn gydnabyddus â llênyddiaeth ddiweddar yr iaith Saesoneg mai Henry Rogers ydyw awdwr yr "*Eclipse of Faith;*" ac y mae yn ddigon amlwg fod ganddo fwy a wnelai â gohebiaeth Mr. Greyson, na

chyhoeddi y llythyrau hyn. Nis gall R. E. H. Greyson fod yn neb amgen na Henry Rogers ei hun. Y mae enw Rogers yn sefyll yn uchel ymysg ysgrifenwyr Seisonig yr oes bresennol—yn uwch, ni a feddyliem, na neb arall ymysg yr Ymneillduwyr. Daeth i sylw amryw flynyddoedd yn ol trwy ei fywgraffiad i John Howe, ac yn enwedigol trwy ei "Draethawd ar Athrylith ac Ysgrifeniadau Jonathan Edwards." Y mae y traethawd hwn yn un o'r rhagdraethiadau mwyaf gorchestol a welsom erioed. Ac yr oedd gallu ysgrifenu adolygiad cyflawn, a beirniadaeth fanwl ar y fath ddyn, a'r fath ysgrifeniadau, yn orchest fawr mewn llênyddiaeth. Dengys Rogers ei fod yn deall cyfundraeth Edwards i gryn berffeithrwydd—ei fod yn feddiannol ar feddwl athronaidd a rhesymiadol a'i cymhwysai i fod yn feirniad ar dywysog y rhesymwyr,—a'i fod hefyd yn feddiannol ar galon a allai ddeall, a chydymdeimlo â chalon sanctaidd Jonathan Edwards, fel y mae ei gweithrediadau yn dyfod i'r golwg yn ei ysgrifeniadau mwyaf profiadol, yn gystal ag am ddeall i daflu ei linyn mesur dros athrylith a threiddgarwch meddwl y duwinydd Americanaidd. Y mae ei sylwadau ar ysgrifeniadau profiadol ac ymarferol Edwards yn llawn mor feistrolgar â'i feirniadaeth ar ei gynnyrchion athronyddol a duwinyddol. Ni a welwn syniad ysbrydol y cristion yn elfenau ei "Serchiadau Crefyddol," yn gystal â manylder yr athronydd gyda'r "Traethawd ar Ryddid yr Ewyllys." Y mae mwy nag un o'n llênorion enwocaf yn Lloegr wedi dadansoddi cymeriad ac athrylith John Bunyan; ac y maent, un ac oll, yn talu y warogaeth fwyaf serchus i'w dalentau. Cyfrifant ef y breuddwydiwr galluocaf a freuddwydiodd yn oesau y byd. Efe a biau y goron am alegoreiddio; tynai y darluniau mwyaf naturiol a phrydferth—a gwnai hyny yn fwy diymdrech na neb arall. Cyfansoddodd ei "Daith y Pererin," mewn un peth, y llyfr tebycaf i'r Bibl o bob llyfrau,—sef, am ei fod yn cynnwys ansoddau sydd yn ei wneyd yn boblogaidd gan bob dosbarth o ddarllenwyr. Y mae yn ddigon bâs i'r meddwl arwynebol ac anghoeth, ac yn ddigon uchel i gadwyno y meddyliau uchaf. Fel hyn, y mae rhai o brif lênyddwyr y ganrif bresennol wedi gwneuthur a allent i anrhydeddu talentau ac athrylith Bunyan; ond, pan aethant i elfenu a dadansoddi ei deimladau crefyddol—ei ammheuon, ei ofnau, ei gyni dygn, ei anobaith, a'i orfoledd, dangosasant mai doethineb mawr iddynt hwy a fuasai ei adael yn llonydd. Dylasent ddybenu eu hadolygiadau gydag athrylith Bunyan y breuddwydiwr, a gadael i rywrai eraill edrych i mewn i'w deimladau angherddol ynghylch ei achos rhyngddo â Duw, a barn, a thragywyddoldeb. "Yr hwn sydd ysbrydol sydd yn barnu pob peth, ond efe nis bernir gan neb." Felly, yr ydym yn barnu y gallasai llawer, heblaw Rogers, feirniadu duwinyddiaeth ac athroniaeth Edwards; ond y mae efe, nid yn unig wedi gwneyd hyny yn feistrolgar, ond hefyd wedi dangos nad oedd yn "bostio hyd at bethau tu hwnt i'w fesur," wrth groesi i'r byd ysbrydol—i fyd profiad y cristion, â'r hwn yr oedd Jonathan Edwards yn un o'r rhai mwyaf cyfarwydd.

Y mae Rogers yn dra adnabyddus hefyd fel un o brif ysgrifenwyr yr "*Edinburgh Review;*" ac nid gormod a fyddai dyweyd mai ei gynnyrchion ef ydyw y rhai goreu ar y cyfan a ymddangosasant ynddo er ei gychwyniad. Nid ydynt yn darllen yn rhwyddach na thraethodau Jeffrey, nac yn fwy difyrus, dyddorol, a dawnus, nag eiddo Macaulay; ond rhaid addef eu bod yn drymach o fater—y maent yn fwy llwythog o nwyddau gwerth-

fawr,—yr ydym yn teimlo fod yr ysgrifenydd yn fwy o gawr—y mae mwy o bwys yn ei siarad—nag yn lleferydd y lleill. Y mae ysgrifeniadau Sydney Smith, o ran digrifwch ac arabedd, yn rhagorol; ond tra nad yw erthyglau Rogers ond ail iddynt hwy yn y pethau hyny, y maent yn llawn o ansoddau eraill nad oedd Sydney Smith yn feddiannol arnynt. Arabedd oedd ei brif ragoriaeth ef; nid yw ond rhagoriaeth israddol gan Rogers. Y mae ganddo ef ymborth iachus i'w roddi ger ein bron, heblaw dail digrifwch ac arabedd. O ran dyfnder—cymhwysder i weinyddu addysg—cyfoeth o'r syniadau, y cymhariaethau, a'r geiriau grymusaf—tuedd i adeiladu y deall a'r galon—parch dwfn i wirionedd—ymlyniad wrth hen athrawiaeth yr eglwys—deheurwydd i ddwyn yr anffyddiwr hunandybus i ddyryswch, a'r ffol i'r gwaradwydd a deilynga,—o ran treiddgarwch i drîn y dyrus a'r dwfn, a dawn hapus i drîn materion ysgafnach, y mae Henry Rogers, yn ein tyb ni, heb neb o feirniaid y Saeson yn rhagori arno, os, yn wir, yn deilwng o'i gymharu âg ef. Y mae ei draethodau ar Leibnitz, Descartes, Plato, Rheswm a Ffydd, yn dystion i'w gydnabyddiaeth ëang âg athroniaeth yr oesoedd; ac y mae ei erthyglau ar Thomas Fuller, &c., yn dangos ei fod yn rhywbeth heblaw athronydd.

Y llyfr y dodasom ei enw uwchben yr ysgrif hon ydyw yr olaf o'i gynnyrchion. Y mae yn cynnwys llythyrau ar yr un pynciau ag yr ymdriniwyd arnynt yn flaenorol yn yr "*Eclipse of Faith.*" Ond heblaw hyny, y mae cylch gohebiaeth Mr. Greyson yn cymeryd i fewn lïaws o bethau eraill. Y mae wedi meddwl rhywfaint—meddwl yn ddwys a dwfn weithiau—meddwl yn ddigrifol brydiau eraill, ar bob peth ymron. Nid oes nemawr o unoliaeth yn y llyfr,—ac, yn wir, pwy sydd mor afresymol a dysgwyl am unoliaeth mewn llythyrau? Y mae nifer mawr o bynciau y dydd yn cael eu trîn yn fedrus a difyrus ynddynt. Cawn sylwadau "Ar y rhesymau dros Anfarwoldeb"—ac am "ddefnyddio gwydrau;" ar "Egwyddorion Cymdeithas Heddwch"—ac ar Weddïo; ar "lïosogrwydd bydoedd"—ac ar "farfau." Cawn gyfres o lythyrau at y Deist, a chyfres at y Penboethyn Mesmeraidd; meddyliau ar "ymfudiad," a meddyliau ar yr "Iawn;" ar "goginiaeth," ac ar "bregethu;" ar "ddirgelion rhagluniaeth," ac ar "godi yn foreu;" ar "brofion Cristionogaeth," ac ar y "gwallgofddyn a'r diafol," a llïaws mawr o'r cyfryw bethau.

Yr ydym yn deall fod y llyfr hwn wedi anfoddloni anffyddwyr ein teyrnas yn fawr. Y mae yn nodwedd neillduol ar gyfeiliornwyr yr oes hon eu bod yn rhyfeddol o groen deneu. Tra y maent hwy yn gwneyd cymaint a allant i ddwyn crefydd yr Arglwydd Iesu i ddirmyg, ac i ddwyn y cyffredin i chwerthin am ben y trueiniaid sydd yn ddigon ehud i roddi eu cred iddi, a'u hymddiried arni,—eto, pan daw rhywun digon galluog i droi y chwerthin yn eu herbyn hwy, y maent yn ebrwydd yn codi eu cri yn erbyn anfoneddigeiddrwydd ac anghariadoldeb y fath ymddygiad. Dywedant fod Rogers yn "gwbl amddifad o'r teimlad ystyriol a ddylid ei goledd tuag at dueddiadau anffyddol yr oes; a bod hyny yn cyfodi, naill ai oddiar anallu, neu annhueddrwydd i amgyffred gwir athroniaeth ammheuaeth. Yr anhawsderau hyny, y rhai y dylid ymwneyd â hwynt ar y tir ëangaf, y mae ef (medd yr ammheuwyr) yn ymosod arnynt oddiar y syniadau culaf a ellir ffurfio am danynt; a'r teimladau sydd yn gofyn am driniaeth dyner a lednais, y maent yn cael eu clwyfo gan ddull gwatwarus, dull sydd nid yn unig yn annheg, ond yn gwbl greulawn."

Y mae yn flin gan ammheuwyr ein teyrnas syniadau rhyw ddosbarth o ba rai sydd yn cael eu hamddiffyn, ni a feddyliem, gan y *National Review*, am fod Mr. Greyson, ac awdwr yr "*Eclipse of Faith*," heb roddi digon o sylw, a thalu digon o barch, i'r rhinweddau llïosog sydd yn gorwedd o dan ammheuon yr anffyddiwr. "Cymerir yn ganiatäol," medd un ysgrifenydd, "nad ydyw ammheuaeth o barth pynciau crefyddol mewn llawer o achosion yn ddim amgen na bod yn onest. Byddai cymeryd arnom gredu, fel y mae y llïaws yn credu, yn chwareu y cnaf. Byddai y dyn yn ddyn anfoesol pe yr ymddangosai yn ddim amgen nag ammheuwr. Y mae ei anffyddiaeth, gan hyny, yn dyfod yn rhan o'i ddysgyblaeth foesol. Y mae yn llwybr trwy yr hwn y gall fyned at rywbeth gwell. Y mae yn ammod cysylltiedig â ffydd, yn mhrofiad rhai meddyliau, fod iddynt, am amser, golli eu gafael mewn sicrwydd. Yn yr yrfa hon, y mae uniondeb crefyddol yn cael ei brofi; ac y mae y ffydd sydd yn canlyn yn dyfod yn fwy pur, ac yn fwy o fater argyhoeddiad. Nid pechaduriaid mawr y byd yn unig sydd yn myned i ddaeargelloedd castelli ammheuaeth—y mae y dynion goreu i'w gweled yno yn fynych. Gwasanaeth ammheuaeth yn aml ydyw y llawforwyn ordeiniedig i wasanaeth ffydd; a gwae y dyn, yr hwn, yn lle cynnorthwyo y cyfryw feddyliau trwy y prawf hwn, nad oes ganddo ddim gwell i'w trîn âg ef na digrifwch a gwawd."*

Mae yn sicr fod yn perthyn i ammheuaeth ei hathroniaeth. Y mae gwahanol ddosbeirth ymysg ammheuwyr, nid yn unig gyda golwg ar nifer yr athrawiaethau y petrusant o barth eu gwirionedd, neu wahanol raddau eu hammheuaeth, ond hefyd gyda golwg ar yr ammheuaeth ei hun. Nid yn unig y mae gan yr ysbryd hwn amrywiol yrfaoedd i ymbalfalu am ei ffordd trwyddynt, ond y mae *mathau* gwahanol o hono. Gall flino dynion sanctaidd, dynion ag y mae gwirionedd yr efengyl yn fwy cu yn eu golwg na bywyd ei hun: gall ymweled yn achlysurol â'u meddyliau hwy, ac ymsefydlu am adeg fel cwmwl tywyll ar eu heneidiau, gan eu hamddifadu o lewyrch bywiocäol y gwirionedd ag y mae eu bywyd a'u hyfrydwch yn gorwedd ynddo. Y mae gan y saint uchaf eu mynydau o ofnau, petrusder, ac ammheuon: y mae "y rhai sydd yn ofni yr Arglwydd" weithiau "yn rhodio mewn tywyllwch heb lewyrch iddynt." Bu Cristion a Gobeithiol am dro yn Nghastell y Cawr Anobaith. A phe buasai Rogers yn ymwneyd â'r dosbarth yma yn ei ysgrifeniadau, ni fuasai yn ddiffygiol o ddangos y cydymdeimlad dwysaf â hwynt, ac ni fuasai yn defnyddio ei watwareg lem wrth ymdrin â'u hammheuon. Edrychasai arnynt fel eneidiau diffygiol, clwyfedig, ond er hyny cywir; ac yr ydym yn credu y tywalltasai olew i'w clwyfau fel y Samaritan trugarog. Buasai yn llefaru gyda "mwyneidd-dra doethineb." Ond nid â rhai yn cael eu blino gan ammheuon y mae a wnelo ef; ond â rhai sydd yn gyfeillion iddynt—y rhai sydd yn eu coledd ac yn eu temtio. Nid ei genadwriaeth ef ydyw ymgeleddu dynion "wedi syrthio ymysg lladron;" ymlid y lladron eu hunain, a'u dal, ydyw ei amcan. Nid yw pob ammheuaeth i'w gamgymeryd am ysbryd anffyddol yr oes. Nis gellir galw rhai dynion sydd yn ammheu yn *ammheuwyr*, oblegid nid hyny ydyw agwedd a thuedd wastadol eu meddwl. Oddiallan, ar ryw gyfrif, y mae yr ammheuon yn dyfod; a theimlir hwy yn anoddefadwy gan eu calonau tyner fel picellau tanllyd.

* *British Quarterly.* January 1, 1858.

*Gwendid* ffydd ydyw yr achos fod ammheuon yn gormesu arnynt, ac nid *diffyg* cwbl o honi. Ffydd ydyw eu bywyd hwy—yn awyr hon y maent yn byw, symud, a bod: ffyddloniaid ydyw eu gwir gymeriad, er fod ammheuon weithiau fel torf o saethau, wedi eu hannelu gan y fall, yn ymfyddino yn eu herbyn, ac yn dyhysbyddu eu nerth a'u cysuron ysbrydol. Y mae anffyddiaeth yn anghydweddol â hanfodiad ffydd yn y meddwl; os coleddir y cyntaf, y mae y llall yn marw. Ond nid yw fod y meddwl yn cael ei flino gan ammheuon yn un prawf fod y dyn yn amddifad o ffydd. Y mae yn awgrymu fod ffydd yn eiddil; ond yn hytrach na phrofi fod y dyn yn amddifad o ffydd, y mae yn awgrymu y gwrthwyneb. Os ydyw ammheuon yn ei *flino*, y mae hyny yn dangos fod rhyw elfen o'i fewn sydd yn anghydnaws â hwy. Y mae ammheuaeth a ffydd yn ymryson â'u gilydd yn yr un enaid yn fynych. "Yr wyf yn credu, O Arglwydd; cymhorth fy anghrediniaeth." Heblaw hyny, y mae porth tywyll ammheuaeth rhwng llawer o ddynion a theml ffydd. Y mae ammheuon yn y meddwl am wirionedd peth yn rhagdybied fod y peth hwnw wedi ennill sylw y meddwl; ac y mae lliaws o ammheuon gwir gristionogion yn cyfodi i fesur oddiar argyhoeddiad o fawredd ffeithiau Cristionogaeth, ac i fesur oddiar wendid ffydd yn yr awdurdod sydd yn eu llefaru. Y mae miloedd o wrandawyr efengyl yn Nghymru na themtiwyd mo honynt erioed i ammheu yr Ymgnawdoliad, Cyfryngdod Mab Duw, cyfiawnhâd yr annuwiol,—ond nid yw diffyg ammheuon o barth iddynt i'w briodoli i'w gwaith yn eu credu, ond i'w hanystyriaeth, yr hyn sydd yn un ffurf ar anghrediniaeth. Pe byddai ganddynt ddirnadaeth am fawredd y gwirioneddau hyn, dichon y darfyddai eu cydsyniad oeraidd mewn ammheuaeth, a gallai eu hammheuaeth roddi lle i wir ffydd.

Na feddylied neb ein bod, wrth ddyweyd hyn, yn amcanu dwyn unrhyw esgusodiad dros un math o ammheuon. Y mae hyny yn anmhosibl; oblegid y mae ysbryd anffyddol yr ammheuwr proffesedig, a'r ammheuon sydd yn blino y cristion, fel eu gilydd—yn eu natur—yn wrthwyneb i ffydd ac ymostyngiad dibetrus i awdurdod Duw. Y mae y graddau uchaf o ffydd yn anghydweddol â hanfodiad ammheuaeth. Fel y mae "perffaith gariad yn bwrw allan ofn," felly y mae ffydd wedi ei pherffeithio yn bwrw allan ammheuon. "Nid ammheuodd efe addewid Duw trwy anghrediniaeth,"—dyna nerth ffydd "tad pawb a gredant." Yr oedd awdurdod yr hwn oedd yn llefaru wrtho yn llywodraethu mor hollol ar ei holl enaid, fel na feiddiai rheswm yngan gair o barth anmhosiblrwydd neu annhebygolrwydd y peth. Eto, er fod ammheuaeth yn wrthwyneb i ffydd, y mae yn amlwg y gall ragflaenu ffydd. Ac y mae yr un mor wrthwyneb i anghrediniaeth ag ydyw i ffydd. Y mae yn gorwedd rhwng y ddau,—yr anialwch rhwng yr Aipht a Chanaan ydyw; a mynych y mae llawer gwir Israeliad yn crwydro yn ddigysur yn anialwch ammheuaeth, cyn myned i mewn i Ganaan ffydd. Ac fel yr oedd y "deugain mlynedd hyn" yn sefyllfa o ddysgyblaeth i'r Israeliaid gogyfer â gwlad yr addewid, felly hefyd y mae yr ammheuon yr ydym yn son am danynt yn ddysgyblaeth i ffydd. "Yr hwn nid ammheuodd erioed," medd Cowper, "ni chredodd erioed." Ac y mae hyn yn gyfatebol i'r gyrfäoedd ysbrydol eraill y mae y cristion yn myned trwyddynt. Y mae marwolaeth rhyngddo a bywyd: y mae marwolaeth yn ammod bywyd. Y mae adfywiad pechod yn rhwym o ragflaenu marw i bechod; ac y mae marw i bechod yn ammod "byw i Dduw." Mae

yn rhaid marw gyda Christ, mewn trefn i dderbyn "bywyd Iesu." Awr yr anobaith duaf ar gyflwr pechadur ydyw yr awr y mae y "gobaith da trwy ras" yn cael ei eni. A'r un modd, y mae uchelion ffydd yn gyrhaeddadwy ar hyd glŷn yr ammheuon. Y mae rhai, mae yn wir, yn cyrhaedd yr uchelderau heb fyned trwy y nentydd; fe ddygwyd Abraham ei hunan, megys, ar adenydd, uwchlaw iddynt. Y mae y dynion hyny sydd o ran eu natur a'u tueddfryd yn hyderus a gobeithiol, dynion sydd heb arfer ymgynghori â chig a gwaed—dynion sydd wedi cynnefino eu hunain i ymostwng —dynion sydd yn fwy gweithgar nag ydynt o fyfyrgar—y rhai y mae y galon, ac nid y deall, yn eistedd wrth lyw llestr yr enaid,—y maent hwy, y rhai y mae ganddynt "adenydd eryrod," yn gallu cyrhaedd uchelderau ffydd heb orfod ymlwybro yn arafaidd a lluddedig trwy gorsydd anobaith, a lleoedd lleidiog ammheuaeth. Nid oedd ammheuon yn llesteirio Pedr weithgar a hyderus, ac ni flinent y gwragedd a ganlynent yr Iesu; ond am Thomas, yr hwn ni chredai ddim heb olwg a phrawf, yr oedd yn llawer mwy agored na'r lleill i gael ei flino ganddynt. Y gwahaniaeth, fel yr awgrymasom eisoes, rhwng ammheuaeth y cristion ac ammheuaeth yr anffyddiwr, ydyw eu hymddygiadau hwy tuag ato. Mae y naill yn gwneyd ei oreu, trwy ras Duw, i ymysgwyd oddwrtho; mae y naill yn ei hoffi a'i goledd. Y dyn ei hun sydd, i fesur mawr, i benderfynu i ba bwynt yr arweinir ef ganddo. Gall fod yn wawr y dydd, a gall fod yn wyll y nos. Gall arwain i diriogaeth ddifäol anffyddiaeth; a gall arwain i diriogaeth ffydd—tir Beulah, ar yr hwn nid yw yr haul byth yn machludo. Pan y mae ammheuon yn cael eu llochi, a thrwy hyny yn cymeryd gafael ddyfnach yn y meddwl, y pryd hyny y maent yn cynnyddu i anffyddiaeth, ac yn wrthodiad o "dystiolaeth Duw, yr hon a dystiolaethodd efe am ei Fab." A phan wedi cyrhaedd i'r orsaf hon, nid oes yr un esgusodiad i'w roddi drostynt. Y mae yr ammheuwr yn agored i holl fygythion gair Duw ar y rhai nid ydynt yn ufuddhâu i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist.

Y mae anffyddwyr ein gwlad, fel yr awgrymasom eisoes, yn tuchan yn drwm o dan y driniaeth y dygodd Rogers hwynt dani yn yr "*Eclipse*," a'r llythyrau dan sylw,—yn enwedigol am nad yw yn talu iddynt y parch a dybiant hwy sydd yn ddyledus iddynt. Y mae, meddant hwy, heb gymeryd arno wybod eu bod yn dal llïaws o wirioneddau pwysig, y rhai a goleddir hefyd gan gristionogion uniongred; ac y mae yn gwbl ddall i'r rhinweddau prydferth sydd yn addurno cymeriad llawer o ddynion sydd wedi ymadael o ran eu barn â Christionogaeth hanesiol. Ymddengys i ni fod y cyhuddiad hwn yn ei erbyn yn wirionedd. Nid yw yn talu un gwarogaeth iddynt ar gyfrif eu hymlyniad wrth rai gwirioneddau; oblegid yn eu cyfundraeth hwy, nid ydynt ond hanner gwirioneddau. Ar wahân oddiwrth ffeithiau Cristionogaeth ni byddent yn wirioneddau o gwbl. Y ffeithiau ydyw sylfeini yr egwyddorion; ac nid yw dal yr egwyddorion, neu yn hytrach, cadw yr hen dermau a arferwyd gan yr eglwys o'r dechreuad i fynegi yr egwyddorion, yn ddim amgen na'r twyll a'r anonestrwydd mwyaf. Y cyfeiliornadau mwyaf digywilydd a pheryglus, a'r cyfeiliornwyr mwyaf dichellgar o bawb, ydyw y rhai sydd yn cadw geiriau Paul ac Ioan—geiriau ysbrydoliaeth ei hunan,—ac yn cysylltu â'r geiriau hyny syniadau cwbl wahanol i'r syniadau y mae Cristionogion pob oes yn eu deall wrthynt. Nid yw Robertson, er esiampl, yn petruso arfer y gair "cyfiawnder cyfrifedig;" ond y mae yn rhy anhawdd i ni ddeall beth y

mae yn ei feddwl wrth hyny. Na thybier ein bod wrth ddyweyd hyn yn rhestru yr ysgrifenydd athrylithgar hwn ymysg anffyddwyr ein teyrnas. Pell ydym oddiwrth hyny. Ond dengys y duedd sydd mewn rhai sydd yn ymado oddiwrth y ffydd i gadw ei chorff heb ei henaid, i arfer ei harwyddion heb ystyr yr arwyddion. Proffesant fod yr athrawiaethau ganddynt: soniant am ymgnawdoliad ac aberth y Gwaredwr, pan nad oes ganddynt mewn gwirionedd ond llun a delw yr athrawiaethau hyny. Mae yn wir eu bod yn dal gwirioneddau crefydd natur, lawer o honynt; a chlywsom yn ddiweddar fod Newman ei hun yn dechreu dychwelyd at rai o'r gwirioneddau ag y mae Paganiaid yn eu credu. Y mae wedi deall fod enaid dyn yn anfarwol. Ond ni fyddai yn anhawdd profi, fe allai, fod anffyddwyr Lloegr yn ddyledus am yr ychydig erthyglau sydd yn nghyffes eu ffydd i Gristionogaeth, ffeithiau bywydol yr hon y maent yn wadu. Ac os parhânt i wrthod efengyl Duw, nid yw yn annhebyg yr ä pynciau eu credo yn llai eu nifer, ac y diflanant rywbryd yn ddim mewn anffyddiaeth cyffredinol. Oblegid ar wahân oddiwrth Gristionogaeth, pa brawf digonol sydd genym o blaid gwirioneddau sylfaenol crefydd? O ba le y mae gwrthodwyr Cristionogaeth wedi cael eu cyfundraeth hwy, ond oddiwrth Gristionogaeth ei hun? Llestri teml Dduw yn Babilon ydyw y gweddillion o grefydd sydd ganddynt. Dywedant hwy eu bod yn dal eu gafael yn dŷn yn y gwirionedd yma a'r athrawiaeth arall; ond ymha le y cawsant hwy? Ni ddaeth doethion y ddaear i feddiant o honynt cyn gwawriad Cristionogaeth. Nid ydynt heddyw mewn un wlad ond yn y gwledydd y dygwyd hwynt iddynt gan Gristionogaeth. "Y mae holl hanes y byd," medd un awdwr, "yn dangos fod crediniaeth yn Rhagluniaeth Dadol Duw, fod Llywodraethwr moesol yn rheoli y byd, fod Duw yn ewyllysio daioni moesol ei greaduriaid yn unig, ei fod yn maddeu i'r edifeiriol,—crediniaeth yn athrawiaeth foesol anfarwoldeb fel rhywbeth gwahanol i hanfodiad dyfodol yn unig,—yn dibynu ar ffydd yn awdurdod Ddwyfol Cristionogaeth." Gall fod eithriadau anaml i hyn; ond pe y deuai cymdeithas yn Mrydain i gredu fod Cristionogaeth yn ffug, buan yr äi pob crediniaeth grefyddol yn ddim.

Dymunem wasgu ar feddyliau ein darllenwyr, yn enwedig y dosbarth ieuanc, fod pwys mawr yn yr hyn a gredant. *Credu yn ddifrifol* ydyw y pwnc gan lawer. Difrifwch yn y farn a'r argyhoeddiad ydyw eilun aml un. Yn ddiweddar, clywsom un yn canmawl rhyw bregethwr Saesoneg. Addefai ei fod ef yn ei weled yn anghywir, ac yn dra anwybodus am gyfundraeth yr efengyl; "ond, beth waeth?" meddai, "yr oedd yn ddifrifol; a difrifwch ydyw y pwnc mawr." Wel, y mae difrifwch yn bwnc mawr; ond y mae "gwybod y gwirionedd" yn bwnc mwy. Ni ddylid diystyru dyn fyddo yn camgredu, os ydyw yn onest; ond nis gall fod yn onest yn hir os glyna wrth yr hyn nid yw wir. Y mae calon ac ymarweddiad dyn yn rhwym o gymeryd eu dylanwadu gan yr hyn a gredir yn ddiammheu ganddo. Ni wna ei ddifrifwch ef beri i argraff y cyfeilornus fod yn gyffelyb i argraff y gwir. "Yn lle bod crediniaeth dyn yn beth dibwys, hyn yn fwy na dim arall sydd yn rhoddi cyfeiriad i fywyd dyn. I wellâu sefyllfa cenedl, y cam cyntaf ydyw dwyn ei chrediniaethau—am Dduw a dyn, a llesion cymdeithas, i gydffurfiad â'r gwirionedd. Pa beth sydd yn gwneyd trigolion Yspaen, neu Twrci, neu Hindwstan, yr hyn ydynt, ond eu ffordd o feddwl, a'r arferion a'r cyfreithiau sydd yn cyfodi oddiar hyny? Y cyf-

newidiad a weithiwyd trwy y Diwygiad, gwreiddiasant hwy yn y cyfnewidiad a gymerodd le mewn nifer o opiniynau crefyddol. Pe y meddyliem fod ymddial yn rhinwedd, coleddem y nwyd hono. Os creda dyn nad oes un Duw yn bod, na sefyllfa ddyfodol, ac nad oes dim hapusrwydd uwch nag anwesu y blysiau, y mae yn debyg y byddai yn ddyn gwahanol i'r hyn a fuasai, pe y credasai fod gwir lwyddiant dyn yn dibynu ar iawn amaethiad egwyddorion moesol a serchiadau ysbrydol. Y mae dyweyd nad yw o un pwys pa beth yw barn grefyddol dyn, os caniateir ei fod yn onest,—nad yw, gyda golwg ar yr hyn sydd yn ymdrin am y cysylltiadau pwysicaf y mae dyn yn sefyll ynddynt, ac am Dduw a'r dyfodol, swyddogaeth neillduol y rhai ydyw addysgu dyn *pa fodd* i fyw, nad yw, meddaf, o un pwys pa beth y mae un yn ei gredu,—yn wrthuni braidd tu hwnt i ddirnadaeth."

A ydyw yn bosibl i ddyn fod yn wir rinweddol, heb gredu gwirioneddau hanfodol Cristionogaeth? Ymddengys hyny i ni yn gwbl anmhosibl. "Yr hwn nid yw yn credu, a'i gwnaeth ef yn gelwyddog;" a pha ffurf ar lygredigaeth fwy beiddgar na hon? "O bechod, am nad yw yn credu ynof fi." Onid anghrediniaeth, felly, ydyw pechod y pechodau—tad pob pechod arall? "Hyn yw gwaith Duw, credu o honoch yn yr hwn a anfonodd efe." Dyma y gwaith mawr sydd gan bechadur i'w wneuthur tuag at Dduw; dyma genadwri fawr yr Anfeidrol ato; dyma y ddyledswydd gyntaf y gelwir arno i'w chyflawni, yr hon nis gellir cyflawni un ddyledswydd arall yn iawn heb hyn; dyma ddrws y dyledswyddau; y gwaith sydd yn cynnwys pob cyflawniad rhinweddol arall, ac yn eu sicrhâu. Ac "heb ffydd, anmhosibl yw rhyngu ei fodd ef." Felly y mae yn ofer ymofyn am wir rinwedd ar wahân oddiwrth wir ffydd yn nhystiolaethau Duw. Eto y mae yn sicr fod cymeriadau rhinweddol yn nghyfrif y byd ymysg y rhai sydd yn ammheuwyr proffesedig; ond dichon eu bod yn ddyledus am y rhan oreu o'u cymeriad i'r grefydd a wedir ganddynt. Y maent wedi byw eu hoes yn yr awyr gymdeithasol a burwyd gan Gristionogaeth. Cawsant eu llesâu gan ei sefydliadau. Attaliwyd hwy i ddrwg gan ei rhwystrau. Cydsynient â'i gwirioneddau yn eu mebyd pan oedd eu harferion yn cael eu ffurfio. Nid yw y cyfryw ammheuwyr, fel y sylwa un, yn enghreifftiau priodol o ganlyniadau gwrthgredaeth, ond yn hytrach o nerth crediniaeth i ddylanwadu ar ddyn, ar ol i'r grediniaeth ei hun ddiflanu, fel y mae goleuni yn aros am enyd yn yr wybren, ar ol i'r haul suddo islaw y gorwel. Meddylier am genedlaeth yn cael ei dwyn i fyny mewn anffyddiaeth—meddylier am blant yn cael eu tueddu, pan ar liniau eu mamau, i edrych ar hanes y Gwaredwr fel ystori oferwag,—meddylier fod egwyddorion anffyddiaeth yn cael eu malu yn dameidiau bychain iddynt pan yn dechreu ffurfio eu harferion; yn y rhai hyn y ceid esiamplau pa ddrwg a all gwrthgredaeth ei wneuthur i foesau cymdeithas. Y Nefoedd a ŵyr pa nifer o'r cenedlaethau hyn a fyddai yn ddigon i ddilëu pob ymddangosiad o rinwedd o gymdeithas, ac i'w dwyn i'r cyflwr isaf y bu dynoliaeth ynddo er dechreu y byd!

Mae yn ymddangos i ni fod ammheuwyr y dyddiau hyn yn hynod ddiffygiol o elfen gyntaf cymeriad da. *Nid ydynt yn onest.* Y mae yn anhawdd gwybod am un dosbarth o gyfeiliornwyr er dechreu y byd, wedi eu perffeithio mewn dichellion ac ystryw fel hwy. Byddai yn annhraethol well genym ymddiried ein plant diniwed i ddwylaw lleng o Jesuitiaid

mwyaf Jesuitaidd Eglwys Rhufain, a Phuseyaid mwyaf gwallgof Eglwys Loegr, nag i ddwylaw un o'r tylwyth hyn. Y mae yn anmhosibl meddwl y gall y diafol wneyd y meddwl dynol mor berffaith ddall fel ag i gredu fel y proffesant hwy gredu. Siaradant am "*cumbrous character*" y proffion Cristionogaeth, ac am anhawsderau hanesyddol llyfrau y Testament Newydd a'r Hen;—ysgubant y goruwchnaturiol yn llwyr ymaith o'r hanes; gogrynant yr efengylau, a chadwant yr hyn nid yw yn wrthwyneb i'w mympwy a'u chwaeth hwy. Y mae Rogers yn dyrnodio y gwybedyddion hyn yn erwin, yn ei lythyr "*At wr boneddig* a fynai fod yn gristion—eto a wrthodai holl ffeithiau ac athrawiaethau neillduol Cristionogaeth." Y mae y llythyr yn llawer rhy faith i'w roddi yn gyfan ger bron ein darllenwyr. Cymerer y dyfyniad canlynol:—

"Y mae yn ymddangos i mi mor oleu â'r dydd, os y cyfryw gyfundraeth a'r eiddo chwi *ydyw* eiddo y Testament Newydd—nas gall ei ysgrifenwyr fod, mewn un ystyr, wedi dyfod oddiwrth Dduw i'w mynegi i ni. Os ydyw Duw yn yr Ysgrythyrau wedi hysbysu gwirionedd crefyddol trwy gyfryngiad dyn, nis gallwn dybied llai na'i fod wedi defnyddio dynion a allasent arfer iaith ddynol yn y fath fodd ag i drosglwyddo i'r mwyafrif o ddarllenwyr gonest, yr hyn a feddylient hwy eu hunain; ac os yr hyn a elwch *chwi* yn Gristionogaeth gyffredin, ond cyfeiliornus, *ydyw* yr hyn a feddylient hwy, nis gall fod yr un ammheuaeth ei fod wedi gwneyd hyny; oblegid y mae arddull yr Ysgrythyrau, yr hon sydd yn rhyfeddol o eglur a syml, wedi trosglwyddo yr ystyr hwn i'r mwyafrif mawr o ddarllenwyr ymhob oes. Y mae y dysgedig a'r anwybodus fel eu gilydd wedi meddwl yn gyffredinol fod ffeithiau gwyrthiol a goruwchnaturiol, ac athrawiaethau y 'dduwinyddiaeth gyffredin' yn cael ei mynegi *yn naturiol* gan iaith y Testament Newydd. Yr wyf yn addef fod esbonwyr yn gwahaniaethu llawer o barth dulliau llywodraeth eglwysig, ac amryw bynciau israddol eraill; a hefyd o barth *athroniaeth* athrawiaethau nad ydynt israddol; ond yr wyf yn honi,—yn y mwyafrif mawr o enghreifftiau, fod y ffeithiau a'r athrawiaethau ag yr ydych chwi yn eu hanhoffi yn neillduol, wedi cael eu hystyried y pethau a fwriadai yr apostolion eu traddodi i ni. Os na wnaethant hyny, y mae yr Ysgrythyr wedi methu yn ei amcan; y mae y rhai a'u hysgrifenodd wedi camarwain, nid goleuo, y byd; ac edrychwn ar hyn yn brawf digonol *na* ddaethant oddiwrth Dduw.

"Felly byddai derbyn unrhyw gyfundraeth fel yr eiddoch chwi, yn ein dwyn dan feirniadaeth lawer mwy 'annyoddefol' nag un feirniadaeth a arferir gan 'Gristionogaeth gyffredin.' Ar ol i mi eu harfer, a chymharu y canlyniadau â'r llyfrau o ba rai y cymerais y fath drafferth i'w chasglu o honynt, nis gallaf weithio fy hun i gredu fod y rhai a ysgrifenasant y llyfrau hanner mor alluog i fynegi eu meddyliau ag ydyw naw rhan o bob deg o ddynolryw yn gyffredin; tra nad yw ond gradd fechan islaw cabledd i ni feddwl fod dynion a gamarweiniasant y byd yn y fath fodd wedi cael eu defnyddio i draddodi cyfundraeth o ddadguddiad dwyfol—yr hon, wedi y cwbl, oedd i ddadguddio i'r byd y gwrthwyneb yn hollol i'w gwir ystyr! Na;—y mae 'baich' y cyfryw dybiaeth yn wirioneddol anhawdd i'w dwyn. Gallwn gymmodi yn haws â Deistiaeth, er mor anfoddhâol ac eiddil ydyw ei hathrawiaethau, na, tra yn credu ychydig fwy, rhwymo o amgylch fy ngwddf iau dadguddiad, yr hon a ellir ei ddeall yn unig trwy dybied nad oedd ei hawdwyr yn deall ffurfiau iaith gyffredin, trwy gamarfer yr hon y twyllasant y cyffredinolrwydd o'r darllenwyr gonest a ffyddlawn, ymhob oes a gwlad, gan beri iddynt gasglu syniadau hollol groes i'r hyn a feddylient hwy yn eu holl ymadroddion mwyaf pwysig!" Vol. II., page 266, &c.

Rhoddwn y dyfyniad canlynol o'i lythyr at y Parch. Charles Ellis, B.D., "Ar Anfarwoldeb"—i ddangos ymhellach y modd y mae Mr. Greyson yn llefaru am y pynciau mwyaf pwysig:—

"Nid yw yr holl resymau a ddygir ymlaen yn gyffredin i brofi yr athrawiaeth hon, byth yn fy nwyn i deimlo mwy na bod y casgliad yn debygol; ac yr wyf yn credu y byddai i ymchwiliad teg i benderfyniadau anmherffaith y rhai goreu o'r athronwyr Paganaidd (y safon gywiraf y gallwn apelio ati,—oblegid ynddynt hwy nis gallwn ammheu, fel gyda'r rhai diweddar, eu bod yn ddyledus i ddadguddiad) ddangos yn eglur i bob

darllenydd gonest na chyrhaeddasant erioed at ddim uwch na math o obaith petrusgar. Nid oes dim ond dadguddiad a all *sicrhâu* i ni hanfodiad sefyllfa ddyfodol: yr efengyl yn unig a ddygodd 'fywyd ac anllygredigaeth i oleuni' allan o niwl athroniaeth ac ansicrwydd yr oruchwyliaeth Iuddewig.

"A ganiatëwch chwi i mi ddyweyd mai un o'r profion cryfaf o sefyllfa ddyfodol ydyw y prawf hwnw nas gellir gwneyd llawer o ddefnydd o hono gyda gwrthwynebydd cadarn i'r athrawiaeth;—yn debyg fel gyda dyn a ddywed ei fod heb syniad am dda a drwg (er i chwi feddwl ei fod yn dyweyd celwydd)—gydag ef y mae ymresymiad moesol yn anmhosibl. Yr hyn yr wyf yn cyfeirio ato ydyw y *teimlad* sydd yn gyffredin yn cryfhâu, fel y mae dynion yn heneiddio, fod sefyllfa ddyfodol yn bod. Y mae gan y prawf yma holl nodweddau rhesymiad oddiwrth *gydsyniad.* Y mae wedi cael ei addef gan y cyffredin o ddynolryw, ac yn enwedigol gan y meddyliau uchaf ac ëangaf; y mae wedi bod yn obaith a chysur y da, ac yn ddychryn i'r rhai mwyaf drygionus. O barth y cyntaf, sonia Plato fod 'ganddynt ryw gyndybiaeth am anfarwoldeb;' ac o barth i'r drygionus,—y mae holl hanesiaeth, diarebion, ffugiaeth, drychfarddiaeth *(drama)*, yn llawn o'u cyndybiaethau hwy.

"Dywedais nad yw yn bwnc sydd yn hawdd ei ddwyn adref at feddwl y gwrthddywedwr haerllug, yr hwn gyda gwynebpryd diysgog a fedr ddyweyd ei fod ef yn anymwybyddus o'r cyfryw deimlad; ond nid yw hyn o nemawr bwys; yn gyntaf, oblegid nad oes ond ychydig o'r cyfryw wrthddywedwyr, ac nis gall fod ond ychydig o honynt, os gallwn ymddiried i lais hanesiaeth sydd bron yn unfrydol. Yn ail, am y gallwn fod yn lled sicr *eu bod* yn teimlo hyn yn nyfnder eu heneidiau; ac os nad ydynt yn awr, yn meddwdod eu calonau, y deuant i deimlo yn eu hen ddyddiau, ac ar eu gwely angeu. Nid oes nemawr ddim yn Plato yn fwy prydferth na dull naturiol Cephalus, yn ei hen ddyddiau, wrth lefaru ar y pwnc hwn. Yr wyf yn edrych ar ei eiriau yn adsain o'r teimlad cyffredin—yn dyst i gyfansoddiad dynoliaeth. Pan ofynodd Socrates iddo ai nid oedd ei foddlonrwydd yn nghanol eiddilwch hen ddyddiau, a'i ryddid oddiwrth yr anniddigrwydd sydd yn perthyn iddynt, yn debyg o gael ei briodoli gan lawer i'w gyfoeth—'oblegid y mae gan y cyfoethog lawer o gysuron,' —atebodd Cephalus 'fod rhywbeth yn ddiammheu yn hyny, ond nid cymaint ag a dybir yn gyffredin;' a phan ofynwyd iddo ymhellach pa beth a feddyliai ef oedd prif ddefnydd cyfoeth, atebodd ei fod yn meddwl ei fod yn beth ag y mae y nifer mwyaf o ddynion yn meddwl ychydig iawn am dano, sef, eu bod yn gyfleus tuag at wneuthur ad-daliad am y camwri a wnaeth dyn mewn amser a aeth heibio; oblegid, 'gelli fod yn sicr, Socrates,' meddai, 'pan feddylia dyn ei fod yn myned i farw, y mae yn cael ei lanw âg ofnau ynghylch pethau na ddychymygodd am danynt o'r blaen. Y mae yr ystoreuon hyny am sefyllfa ddyfodol, y rhai sydd yn dyweyd wrthym y rhaid i'r dyn a fu yn anghyfiawn yma gael ei gosbi yn y sefyllfa ddyfodol, yn tueddu—er iddo fod wedi chwerthin llawer am eu penau—i aflonyddu ei enaid yn yr adeg hono; ac y mae y dyn, naill ai oddiar wendidau hen ddyddiau, neu trwy fod mewn cymundeb agosach â'r anweledig, yn edrych ar y dyfodol yn fwy dyfal, ac o ganlyniad yn cael ei lanw âg ammheuon ac ofnau, ac yn ystyried yn ddifrifol a ddarfu iddo mewn rhywbeth wneuthur cam âg arall; ac y mae yr hwn sydd yn cael allan lawer o ddrwg yn ei fywyd, yn debyg i blant yn crychneidio yn eu cwsg, yn llawn dychryn.' Yn sicr, os oedd yr hen ŵr boneddig yn cysylltu rhyw deilyngdod â'r cyfryw weithredoedd o uniawnu cam, yr oedd ei dduwinyddiaeth, fel y gallesid dysgwyl oddiwrth bagan, heb fod yn hollol 'efengylaidd;' ond y mae y ffaith y dwg dystiolaeth iddi,—yr argyhoeddiad dwys o sefyllfa ddyfodol, yr hyn sydd yn dueddol i amgylchu meddwl y dyn fel y mae yn nesâu at fin y bedd, yn ffaith lawn o ystyr; ac y mae un yn barod i ddyweyd, 'fod y natur ddynol yn siarad' ynddi......Pe bae y teimlad hwn yn ffug, gallem gasglu mai ofer ydyw ymresymu yn ei erbyn; ac mai gwir ddoethineb i ni, os ydym i 'ddilyn natur,' ac i beidio treulio ein bywyd mewn ceisiadau ofer i'w mygu, ydyw gweithredu yn unol â hi. Gallem ddyweyd wrth y dyn sydd yn ammheu neu yn gwadu sefyllfa ddyfodol, yn debyg fel y dywedem wrth Atheist. Gellid dyweyd wrth y diweddaf, Wel, a thybied nad oes un Duw, eto, os ydym i ymddiried mewn casgliadau oddiwrth ffeithiau cyffredinol dynoliaeth, myn dynolryw gredu *fod* Duw; felly, os ydych yn ddoeth, chwi a roddwch heibio ddadleu yn erbyn hyn: oblegid ni wnewch ddim ond colli eich gwynt. Os nad oes Duw, y mae yn ymddangos fod dyn rywfodd wedi ei ffurfio yn y fath fodd fel nas gall lai na dyfod at y casgliad gwrthwynebol. Gellid dyweyd yr un peth wrth y damcanwyr anturiaethus hyny sydd yn sicrhâu wrthym fod pob syniad am wahaniaeth moesol—am dda a drwg—yn ffug. Os gallwn ymddiried i athroniaeth *induction* o gwbl, gyda golwg ar yr hyn a deimla ac a fedd-

ylia dynion rhagllaw, oddiwrth yr hyn a deimlasant ac a feddyliasant yn gyffredinol *eisoes*, byddai yn well i'r cyfryw athronwyr 'arbed eu hanadl i oeri eu cawl.' Mewn gair, gellid dyweyd yr un peth mewn atebiad i unrhyw ddamcaniaeth arall sydd yn hollol groes i ddarbwylliadau—pa un bynag ai gwir ai cyfeiliornus, os ydynt yn sylfaenedig yn nghyfansoddiad ein natur, yr hyn, pe bae dynion yn ddoeth, a ddygai lawer dadl hirwyntog i derfyniad ebrwydd. Pa un bynag ai at wirionedd neu gyfeiliornad y cyrhaeddant, nid oes gan ddynion ddim arall i athroniaethu oddiwrtho heblaw cyfansoddiad eu meddyliau, a byddai llawn cystal i chwi 'gyfarth y lleuad' ag ydyw ceisio cyfnewid yr argyhoeddiadau sydd wedi eu sylfaenu arno. Yn olaf, oddiar y teimlad sydd ymron yn gyffredinol yn cyfeirio at sefyllfa ddyfodol, yr ydwyf yn ymresymu fod dynion wedi eu cyfansoddi i deimlo felly; ac felly y mae o leiaf yn goll amser i ymresymu yn ei erbyn; ac yna gyda golwg ar y *ffaith* a oes sefyllfa ddyfodol, nid wyf yn credu fod y Duw a'n ffurfiodd felly yn *gelwyddwr;* ac felly yr wyf yn credu fod sefyllfa ddyfodol. Ond, os oes arnoch eisieu prawf eglur, nid wyf yn gwybod am un ffordd ond profi gwirionedd Cristionogaeth, ac arwain natur, sydd yn obeithiol, ond hefyd yn betrusgar, at ysgol Dadguddiad."

Fel enghreifftiau o'i arabedd a'i ddigrifwch, cymerer y rhai canlynol:—

*Eilunod India.*

"Yr wyf wedi clywed, ond prin y gallaf gredu, fod nifer anferth o'ch duwiau [ysgrifena at Cadben Evans, yn India] yn cael eu gwneyd yn ein llaw-weithfëydd Cristionogol; a bod '*assortments*' helaeth o'r anferthion dwyfol hyn yn cael eu parotôi yn rheolaidd at drosgludiad. Y fath esboniad ar eilunaddoliaeth! Duwiau yn cael eu gwneuthur gan yr Anffyddiwr, a'u gwerthu i'r Defosiynol—i gael eu haddoli! Ond *ni*, mi feddyliwn, ydyw y gwaethaf o'r ddau. Yr ydym yn anfon ein cenadon i ddychwelyd y Paganiaid oddiwrth eu hofergoelion, ac yna (i'r dyben, mi a allwn dybied, o dori digon o waith i'n cenadon) yr ydym yn gweithio duwdodau iddynt o'r cynlluniau mwyaf cymeradwy, ac o'r defnyddiau goreu. Os oes '*firms*' yn marchnata yn y dull yma, ac yn cario ymlaen fasnach ennillgar mewn duwiau, ewyllysiwn yn fawr gael trem ar rai o'r rhestrebau *(invoices)*. Pa mor ddigrif y darllenent! Dychymygwch am rai o'u manylion,—neu meddyliwch am hysbysiadau yn rhedeg fel hyn: 'At y defosiynol; bargen dda! Casgliad amrywiol o dduwiau o amryw fathau a maintioli,—y *lot* i gael ei gwerthu yn rhadlawn.'—'Brahma ysplenydd, o'r pres goreu; yn cael ei gwarantu i sefyll pob math o dywydd.'—Vishnoo, wedi cracio ychydig ar ei ben, a bwlch yn ei drwyn; gostyngiad cyfatebol yn y pris.'—'Seeva, wedi ei eurliwio; bargen ryfeddol.'—'Nifer mawr o dduwiau wedi eu niweidio, ond yn cael eu gwarantu i fod yn llawn cystal at eu haddoli; am bris pur isel. D. S. Y mae yr hysbysiad uchod yn haeddu sylw pwy bynag sydd ar fedr ffurfio ei dduwfasnachdŷ, ac y mae y duwiau yn dra chymhwys fel rhoddion i Deml neu Bantheon.' —'Gan fod y Meistri Muck, a Chwm., goruchwylwyr llaw-weithfa duwiau enwog, ar fin rhoddi eu masnach heibio, y maent yn galw sylw eu prynwyr defosiynol at eu hystorfa ddihafal o dduwiau, yn awr yn gwerthu allan am brisiau pur isel.'—Fe allai y byddai yn ddoeth i'r gofaint sydd yn gweithio y duwiau roddi allan restr, a hysbysu fel hyn: 'Y mae y Meistri Smith a Chwm., duw-wneuthurwyr, trwy ganiatâd neillduol i dduwiau yr India, yn galw sylw y dosbarth goleuedig o'r cyfandir crefyddol hwnw at eu rhestr o'r duwiau newyddion, o'r patrymau a'r gwneuthuriad goreu, am y prisiau isel a benodir. Y mae y Meistri S. a Chwm. yn sicrhâu y ceir eu duwiau yn llawn cystal a'r rhai o wneuthuriad brodorol, ac yn llawn mor astud i weddïau eu haddolwyr. Cyfarfyddir unrhyw foneddwr neu foneddiges sydd yn ewyllysio parotôi eu tŷ â nifer briodol o honynt ar y telerau mwyaf rhesymol. Caniatëir i'r duwbrynwyr cyfanwerthol doliant *(discount)* da.'"

*Dynion da dwl.*

"Yr ydwyf braidd a meddwl y dylid gosod treth ar bob dyn da dwl a feiddia agor ei enau mewn ffordd o weinyddu addysg foesol, wrth ystyried y niwed y mae yn ei wneuthur i wirionedd a daioni; dylid gwarafun iddo bregethu i'w gydgrëaduriaid, oddieithr trwy yr hyn sydd yn anfeidrol fwy perswadiol nag un math o hyawdledd—sef gweithredoedd da ac esiampl ddeniadol. Y mae yn drwm meddwl am yr hafog a'r dinystr ag y mae siaradwr dwl yn ei wneyd yn fuan mewn cynnulleidfa fawr. Y mae pregethu rhai personiaid da yn debyg iawn i ddarllen y *Riot Act*, neu yn dwyn

ar gof ddull deheuig ynadon St. Petersburgh, y rhai a oerasant sel ac eiddigedd y werin derfysglyd yn yr hinsawdd dyner (?) hono, trwy daflu dwfr arnynt gyda'r tân-beiriant. Nis gallaf ddirnad pa les a all y pregethwr truan yma [rhyw hen frawd y cyfeiriodd ato o'r blaen] wneyd, oddieithr fod ein heglwysydd a'n capelydd yn cael eu gorlenwi nes mygu y bobl: felly gellid gosod un neu ddau tebyg iddo ef i deithio ar hyd a lled y wlad, a dwyn y cynnulleidfäoedd hyn yn fwy hawdd i'w dyoddef. Byddai nifer fechan o'r cyfryw bregethwyr, fodd bynag, yn ddigon at y pwrpas yma: gellid rheoleiddio effeithia ua hyd y bregeth gyda'r gwresfesurydd. Ond byddai cryn ofal yn anghenrheidiol gyda'r peiriant; oblegid gallai meithder gormodol beri i'r gynnulleidfa ddiflanu yn hollol. Yr wyf yn barnu y dylid gwneyd cyfraith i attal pob brwdfrydedd-ddiffoddydd [nis gallwn helpu y gair, oblegid y gair Saesoneg ydyw '*enthusiasm extinguisher*'] i chwareu am fwy nag awr, rhag iddo ddifodi y gynnulleidfa. Pe felly, gallai un ddarllen hysbysiad fel hyn: 'Yr oedd cynnulleidfa y pregethwr bywiog hwnw, y Parch. ——, mor anferth o fawr ar y Sabbath wythnos i'r diweddaf, fel y gwelwyd yn anghenrheidiol anfon am y mwyaf '*distinguished*' o'r holl '*extinguishing preachers*,' i wrthweithio effeithiau ei areithyddiaeth ar y Sabbath diweddaf. Yr oedd areithyddiaeth y brawd hwn mor effeithiol, fel y syrthiodd y gwresfesurydd ddeg o raddau yn yr oriel mewn ugain mynyd, a daeth awyr yr eglwys cyn rhoddi y fendith apostolaidd yn ddymunol o oeraidd ac iachus.'"

Rhaid i ni bellach roddi pen ar yr ysgrif hon. Oni wnai llyfr o'r un natur lawer o les i Gymru? Onid oes rhyw ail Mr. Greyson o fewn y Dywysogaeth? Fe allai fod gormod o ysgafnder mewn rhai rhanau o hono; ar yr un pryd, yr unig feddyginiaeth i lawer o bethau ydyw chwerthin am eu penau.

---

## NERTH TYSTIOLAETH YN EI CHYSYLLTIAD A GWIRIONEDD Y BIBL.

NID oes dim amlycach yn hanes y byd, nac odid ddim, ysywaeth, ag sydd wedi arwain i ganlyniadau mwy galarus, na'r gwahaniaeth mawr sydd yn ffynu yn ngolygiadau dynion ar yr amrywiol destynau sydd yn tynu eu sylw. Y mae y gwahaniaeth hwn i'w ganfod yn fynych hyd yn nod gyda golwg ar y pethau hyny ag y gallesid dysgwyl braidd unfrydedd hollol arnynt. Ond y mae yn amlycach ac yn arbenig i'w ganfod yn ei gysylltiad â'r testynau hyny ag y mae dirnadaeth o'r gwirionedd yn eu cylch yn dibynu yn unig ar brofion o natur foesol. Yn wir ar y pethau hyny, yn ol cyfansoddiad meddwl dyn ac ansawdd naturiol ei galon, nis gallesid dysgwyl dim amgen. Ac y mae hyn, dybygid, dan angenrheidrwydd o barhâu, i ryw fesur, tra y byddom yn y fuchedd bresennol. Ofer i ni ddysgwyl yr un cyd-welediad mewn dynion ar y pethau hyny ag a geir ar wirioneddau athronyddol a'r gwyddonau pur. Nis gall y plentyn lleiaf yn yr ysgol fethu dyfod i'r penderfyniad fod dau dri yn chwech, ac nis gall y rhifyddwr mwyaf ddyfod i un penderfyniad gwahanol. Cyduna pawb i weithio allan unrhyw gwestiwn mewn cyd-gymhariaeth rhifyddegol, a thynant oll yr un casgliad. Y mae egwyddorion mesureg, fel y gosodir hwynt allan gan Euclid ac eraill, yn hunanbrofedig ac anwadadwy, ac nis

gall neb a'u deallo beidio cydsynio â hwynt. Ac felly am bob cwestiwn cysylltiedig â'r gwyddonau hyny ag y mae y seiliau y gorphwysant arnynt yn elfenau cyntefig, hunanbrofedig, yn y meddwl dynol. Ond pan y trown at y testynau hyny ag y gall teimladau y galon ddylanwadu ar y penderfyniad a ffurfier genym yn eu cylch, yr ydym ar dir cwbl wahanol. Y mae y prawf yma yn wahanol yn ei natur; ac felly, yn ol y defnydd neu y camddefnydd a wneler o hono, yn caniatâu golygiadau neu benderfyniadau gwahanol. Os eir i olrhain cymeriad y brenin Solomon, er na byddo ond *yr un elfenau allanol* ger bron yn *sail* i'r casgliad, nid yw hyny mewn un modd yn sicrhâu y bydd y casgliad *yr un*. Os ymofynir pa un ai dyn cywir ai anghywir ei ddybenion oedd Oliver Cromwell, y mae y cwestiwn ar unwaith yn caniatâu lle i syniadau gwahanol dynion ar bynciau gwladlywyddol, milwrol, masnachol, a chrefyddol, ddyfod i mewn i ddylanwadu ar eu penderfyniad, fel na cheir odid ddau o bob cant a foddlonant roddi ateb unffurf iddo. A'r un modd am wirioneddau mawr Cristionogaeth. Os dywedir am ryw Berson hynod a ymddangosodd yn ein byd oddeutu deunaw cant o flynyddau yn ol, ei fod yn anfonedig oddiwrth Dduw, ac mai ei neges ydoedd gwellhâu y natur ddynol a'i derchafu o'r trueni y mae wedi syrthio iddo,—ei fod wedi byw bywyd uniawn a sanctaidd yn gynllun perffaith o nodweddiad i'r dyn llygredig,—ei fod wedi marw drosto, ac wedi adgyfodi yn fyw drachefn, ac esgyn i'r nefoedd, wedi cyflawni iachawdwriaeth i fyd colledig,—nid oes dim yn yr oll o'r gwirioneddau hyn, nac yn y profion drostynt, ag sydd yn *gorfodi* dyn i'w credu; y mae rhyw gymaint o le i'r meddwl a ddymuna hyny wrthdroi y ffeithiau hyn oll, a'u gwadu yn hollol. Ac y mae y petrusiad hwn mewn perthynas i dderbyn gwirioneddau moesol yn rhwym o fod ymysg dynion tra y parhäo cyfansoddiad y meddwl fel y mae yn bresennol, a thra y byddo natur y prawf drostynt yn *foesol.*

Y mae crefydd yn ei holl gysylltiadau yn ddibynol ar brawf moesol am ei chadarnhâd. Nid ydyw y prawf o'i gwirionedd yn codi oddiar ei natur hi ei hunan, fel y mae prawf mewn mesuroniaeth yn codi oddiar natur y wyddoniaeth ei hunan. Yn yr amgylchiad olaf y mae y dyn yn cael ei arwain yn anwrthwynebol i'r casgliad priodol, ac nis gall wyro oddiwrtho pe dymunai hyny. Ond yn yr amgylchiad blaenaf y mae y dyn wedi ei adael i ryddid ei ewyllys i ddefnyddio y prawf yn y dull y myno. Gan mai cyfundraeth o wirioneddau moesol ydyw crefydd, nis gall ganiatâu unrhyw brawf amgen na phrawf moesol—prawf sydd yn gydweddol â'r ystyriaeth o ryddid naturiol dyn fel crëadur, ac o'i gyfrifoldeb i Dduw; ac er y dichon i'r prawf fod mor gryf ac eglur â phrawf damlygiadol, eto y mae y posiblrwydd wedi ei adael i'r dyn i'w ddewis neu ei wrthod—y mae digon o eglurdeb a goleuni ynglyn â'r prawf i'r sawl a ewyllysio weled, a digon o dywyllwch i'r neb na fyno weled.

Nid yw y gwrthwynebedd sydd mewn dynion i bethau crefydd yn codi yn gymaint oddiar absennoldeb neu wendid profion, ag oddiar *natur* y profion a gwrthnawsedd y galon ddynol i grefydd. Y mae bodolaeth Duw, er enghraifft, yn wirionedd mor safadwy a bod tri a thri yn chwech, ond nis gellir rhoddi damlygiad o hono, fel y gellir rhoddi o'r gwirionedd olaf; ac o ganlyniad, nid ydym yn dyfod i'r casgliad o'r naill wirionedd yr un mor anocheladwy ag yr ydym yn dyfod i'r casgliad o'r gwirionedd arall. Y mae y gwirionedd o fodolaeth Duw yn dibynu ar yr ewyllys yn benaf am ei

gadarnhâd yn meddwl y dyn; ond gan nad beth bynag ydyw ei ewyllys gyda golwg ar fod dau dri yn chwech, nis gall beidio dyfod i'r casgliad hwn. Dengys hyn i ni y gwahaniaeth sydd rhwng y prawf damlygiadol, neu brawf nas gellir ei wadu, â phrawf moesol, neu brawf sydd yn golygu dyn yn berchen ewyllys, ac yn fôd cyfrifol.

Yn awr, ar brofion o'r cymeriad a enwyd olaf y mae crefydd yr Arglwydd Iesu wedi ei sefydlu; a byddai dyweyd nad ydyw Cristionogaeth yn wir, am nas gellir ei dangos felly trwy ryw egwyddor o fesuroniaeth, yr un peth a dyweyd, nad yw yn wir am nad ydyw yn meddu y profion hyny o'i gwirionedd a amddifadai y dyn o'r gallu a'r rhyddid i'w gwrthod. Er fod Cristionogaeth ei hunan y testyn mwyaf pwysig yn ngolwg y nef a'r ddaear, nid ydyw yn cario gyda hi unrhyw brofion aruthrol ag sydd yn gorfodi oddiwrth ddyn dderbyniad dibetrus ac uniongyrchol; ond y mae yn syml a diaddurn, ac yn agored i ymchwiliad ac olrheiniad, fel y profion ag sydd yn gyffredin yn dilyn unrhyw wirioneddau neu ffeithiau moesol. Ond nid ydyw yr ystyriaeth hon ychwaith yn tynu dim oddiar y mawredd a'r gogoniant a berthyn iddynt fel profion safadwy ac anwrthwynebol. Nis gall dyn, er cymaint ydyw llygredd ei galon, eu gorchfygu na'u gwrthwynebu; yr unig beth y mae yn alluog i wneuthur ydyw eu hosgoi, gan nad oes dim ynddynt i'w orfodi i gredu. Y mae Cristionogaeth yn dyweyd wrtho ei fod yn droseddwr damniol yn erbyn ei Grëawdwr, ond fod Person Dwyfol wedi disgyn o rywle uwchddaearol i'r byd i gyfryngu rhyngddo â'i Farnwr, a'i fod trwy ei fywyd a'i farwolaeth wedi cyflwyno iawn er gollyngdod i'r sawl a ymostyngo i'w dderbyn, rhag y gosbedigaeth ddyledus iddo. Ond nid ydyw y prawf dros y ffeithiau hyn mewn un modd yn un anocheladwy. Yn yr un llwybr ag y mae y dyn yn dyfod i wybod y pethau hyn, y mae yn clywed llawer o bethau ag y mae ei brofiad wedi cael allan ar ol hyny eu bod yn anghywir; ac os ydyw yn bosibl i adroddiadau am bethau fod yn anghywir mewn un amgylchiad, y mae yn bosibl iddynt fethu mewn amgylchiad arall; ac yna, ysywaeth, y mae aml un yn taflu y cyfan heibio fel chwedloniaeth hollol ddisail.

Ond er hyny, nid ydyw Cristionogaeth wedi ei gwneuthur i orphwys ar unrhyw brawf mwy uniongyrchol na'r prawf hwn, sef *Tystiolaeth.* Ac nid oes un prawf yn ymddangos yn fwy priodol i natur y sefydliad, yn fwy cymhwys i natur y dyn, na mwy cydweddol â'r deddfau hyny sydd yn gosod holl olwynion anturiaethau y gymdeithas ddynol ar gylch. Y mae dyn yn rhwym i weithredu yn barhâus oddiar dystiolaeth yn achosion cyffredin bywyd. Y mae ei feddwl wedi dyfod i'r fath gydnabyddiaeth â thystiolaeth, fel nad yw yn petruso gweithredu oddiarni yn yr amgylchiadau pwysicaf iddo yn y byd. Nid yw yn aros i'w chwilio yn ei holl gysylltiadau, ymha le y dechreuodd, a beth oedd amcan ei lledaniad; ond y mae rhywbeth yn ei gwedd sydd yn cyfateb i ryw reddf ynddo yntau, ag sydd yn cadarnhâu ei feddwl ei bod yn wir, ac yn peri iddo ei chredu. Yn gyffelyb y mae gyda golwg ar dystiolaeth yn ei chysylltiad â chrefydd. I'r dyn hwnw sydd wedi teimlo fod ei natur yn llygredig, a'i sefyllfa yn ddrwg ger bron ei Grëawdwr, y mae rhywbeth yn y dystiolaeth yn cyfateb i ryw barodrwydd yn ei feddwl i'w derbyn, ac y mae yn gogwyddo arni mewn ffydd, fel yr eiddew yn gogwyddo i'r ddaear, pan wedi ei adael i'w nerth ei hun.

Ond nid ydyw fod tystiolaeth yn ymwneyd yn fwy â'r gweithrediad

meddwl hwnw a elwir ffydd yn gwanychu dim arni fel prawf moesol. Nid addefiad o beth yn wyneb gwendid neu absennoldeb prawf ydyw ffydd. Pe felly, ni byddai amgen na chwidr y dychymyg, ac ni byddai i grefydd dyn unrhyw sylwedd neu waelod. Y mae gweithrediad y meddwl mewn addefiad o beth yn derbyn ei gymeriad oddiwrth natur y prawf. Nid oes eisieu gweithred y meddwl a elwir ffydd i ganfod a chredu unrhyw osodiadau y mae y dyn yn alluog i ddyfod i sicrwydd o honynt trwy synwyriadaeth ac adfyfyrdod. Nid oes betrusder yn ein meddwl fod y papyr hwn yn ein llaw, neu fod y bwrdd hwn o'n blaen, gan ein bod yn eu gweled ac yn eu teimlo; ac y mae hyny yn ddigon o brofion i ni o'u bodolaeth, oddieithr i ni wadu ein natur ein hunain. O'r ochr arall, ffydd ydyw addefiad y meddwl o unrhyw haeriad nas gall ei ganfod trwy gasgliad ei reswm, ar sail cymeriad y sawl fyddo yn haeru. Ar yr un pryd nid ydym i ddeall fod ffydd a rheswm, yn eu cysylltiad â chrefydd yr efengyl, yn groes i'w gilydd. Y maent i'w gwahaniaethu, ond nid i'w gwahanu. Y mae y gwirioneddau a gyflwynir mewn dadguddiad i sylw ffydd yn berffaith gyson â rheswm, er eu bod uwch canfyddiad y rheswm ei hunan; ac y mae galluoedd y rheswm wrth eu hiawn ddefnyddio yn cadarnhâu ymhob modd fod y dadguddiad a drosglwyddir mewn tystiolaeth o Ddwyfol darddiad.

Prif wrthddadl ammheuwyr yn erbyn gwirionedd y Bibl ydyw, fod yr hyn a dystiolaethir yn groes i reswm a phrofiad beunyddiol. Ond prin y gallwn feddwl fod y dull hwn o wadu tystiolaeth yn un teg a boddhäol, o herwydd y mae profiad beunyddiol yn ein dysgu fod pob dyn yn meddu egwyddor o eirwiredd ynddo ag sydd yn ei arwain i lefaru y gwirionedd, os na bydd yn cael ei lywodraethu gan ryw egwyddor gyfeiliornus. Yr ydym yn teimlo yr egwyddor hon ynom ein hunain, ac yr ydym yn rhwym, yn ol y cyfatebiaeth sydd rhwng ein meddwl ein hunain â meddwl ein cyd-ddynion, o gredu eu tystiolaeth, oddieithr i ni gael allan fod ganddynt ryw ddyben gau wrth dystiolaethu. Y mae yr ystyriaeth hon yn ein harwain at y teilyngdod a berthyn i dystiolaeth ynddi ei hunan, a'r hawl sydd ganddi i grediniaeth yn annibynol ar ei chysylltiadau, neu yr hyn y mae hi yn ei dystiolaethu. Y mae y prawf i sefyll ar ei deilyngdod ei hunan, yn annibynol ar y ffeithiau a drosglwyddir i'n sylw. Y mae ynddo yr un nerth pan yn tystiolaethu pethau rhyfedd a phethau hawdd i'w credu, ac ar y tir hwn y dylid ei chwilio. Nid ydyw yn deg gwadu tystiolaeth am ei bod yn dywedyd fod dyn wedi adgyfodi o feirw, mwy na'i gwadu pan yn dyweyd fod rhyw ddyn wedi marw. Os oes un tebygolrwydd yn bod nad ydyw tystiolaeth yn wir am ei bod yn adrodd pethau a gymerasant le sydd yn ymddangos yn groes i ddeddfau natur a phrofiad beunyddiol, y mae tebygolrwydd arall cyferbyniol i hwn a ddylai gael ein hystyriaeth,—sef nad yw yn ymddangos fod nifer o bersonau anadnabyddus i'w gilydd, mewn gwahanol fanau, ac i wahanol ddybenion, yn adrodd yr un pethau, bron yr un fath, ac i'r cyfan fod yn eudeb a thwyll. Y mae y tebygolrwydd mor gryf y naill ochr a'r llall, gan fod yr un anghyfnewidioldeb yn y deddfau moesol sydd yn llywodraethu y byd âg sydd yn y deddfau naturiol; ac annhegwch o'r mwyaf ydyw cymeryd casgliad ag sydd yn briodol oddiwrth y naill heb gymeryd y llall hefyd i ystyriaeth.

Y mae yn wir mai un o'r egwyddorion sydd yn dylanwadu y meddwl wrth dderbyn neu wrthod ffeithiau, ydyw chwilio eu cydgordiad neu eu hanghydgordiad â ffeithiau blaenorol adnabyddus i ni. Ond y mae cam-

ddefnydd eglur yn cael ei wneuthur yn aml o'r egwyddor hon, yn enwedig pan eir i olrhain y prawf dros wirionedd y Bibl. Yn lle rhoddi yr eangder y mae yr egwyddor hon yn alluog o gyrhaedd, y mae dyn yn ei chyfyngu i ryw gylch penodol o wybodaeth a phrofiad. Y maent yn hyn yn debyg iawn i frenin Siam, gyda golwg ar beth arall, fel yr adroddir i ni gan Locke. Pan fynegwyd iddo gan ymdeithydd fod dŵr yn *Holland*, ar ryw gyfnodau neillduol, yn myned i'r fath sefyllfa o galedrwydd y gallai yr *Elephant* mawr â'i gamrau trymion gerdded ar hyd-ddo, yr atebiad a gafwyd ganddo ydoedd, "Yr wyf wedi credu llawer o bethau rhyfedd a adroddaist wrthyf, gan fy mod yn credu dy fod yn ddyn geirwir; ond yn awr yr wyf yn argyhoeddedig yn fy meddwl nad ydwyt yn dywedyd y gwir." Nid oedd ei brofiad ef wedi dysgu y ffaith hon iddo, ac am hyny nis gallai ei chredu; ond nid oedd ei brofiad ef yn ddigonol i benderfynu gwirionedd y dystiolaeth. Yr oedd y dwfr yn rhewi yn *Holland* er hyny. Y mae llawer un hefyd yn ein dyddiau ni nas gall gredu fod y ddaear yn troi ar ei hechel, gan fod ei brofiad beunyddiol yn dysgu iddo ef fod ffenestr ei ystafell yn edrych i'r un cyfeiriad bob amser. Os ydyw profiad dyn ei hunan yn ddigon i benderfynu cywirdeb tystiolaeth, ofer ydyw dyweyd wrth yr hen ŵr sydd yn byw wrth droed y Wyddfa, neu y Foel Famau, am fynyddoedd yn bwrw o'u crombil ar adegau ffrydlif o dân nes peri goddaith a chyflosgiad ofnadwy, fel mynyddoedd Vesuvius ac Etna, gan yr edrychai ef i ben ei fynydd cartrefol ei hunan am gadarnhâd i'r dystiolaeth. Ond nid oedd gwaith brenin Siam yn gwadu fod y dwfr yn rhewi, ac nid ydyw anghrediniaeth y dyn yn nghylch tröad y ddaear ar ei hechel, neu ammheuaeth un arall yn nghylch rhediad y llifwy o'r mynyddoedd tanllyd, yn gwanychu dim ar rym tystiolaeth y rhai fyddont yn adrodd y pethau hyn. Nid ydyw profiad dyn yn ddigon i'w gyfarwyddo gyda golwg ar ffeithiau seiliedig ar natur; ofer ynte fyddai dysgwyl iddo fod felly gyda golwg ar ffeithiau y mae eu honiadau yn oruwchnaturiol. Yr hyn y daeth dyn ei hunan i gyffyrddiad âg ef ydyw ei brofiad, ac y mae y wybodaeth a dderbyn tu hwnt i hyny yn rhwym o fod trwy dystiolaeth.

Ond y mae mwy yn yr egwyddor hon sydd yn llywodraethu y dyn, gyda golwg ar dderbyn neu wrthod ffeithiau, nag y mae ammheuwyr yn ddewis addef; ac os dilynwn hi i'r pellder y gall fyned, cawn weled ei bod yn fwy ffafriol i dystiolaeth nag i'r gwrthwyneb. Nid ydyw i'w chyfyngu i ryw nifer penodol o ffeithiau a gymerasant le, ac yn gofyn bod i bob peth a ddygwydd rhagllaw gydffurfio yn hollol â hwynt cyn y gellir credu ei wirionedd; ond y mae hefyd yn rhoddi seiliau i gasglu oddiwrth yr hyn a gymerodd le, yr hyn a allasai, a'r hyn a all eto gymeryd lle,—neu, mewn geiriau eraill, y mae yr egwyddor hon yn cyfranogi o'r prawf o *debygolrwydd*, ac yn agor maes helaeth hyd yn nôd ar dir profiad beunyddiol, i wybod beth sydd yn ymddangos yn wir neu yn âu mewn tystiolaeth. Pe dywedasid wrth yr henafiaid am yr hyn a gyflawnir trwy nerth ager yn ein dyddiau ni—y galluogid llongau anferthol drwyddo, heb hwyliau, i nofio yr eigion yn erbyn y gwyntoedd a'r llanw, gyda chyflymdra aruthrol, ac y galluogid dyn i deithio y tir sych yn y cyflymdra o ddeugain neu driugain milldir yr awr—buasai y werinos yn edrych arno fel ynfytyn, gan nad oedd dim yn eu gwybodaeth a'u profiad hwy yn caniatâu iddynt gredu ei dystiolaeth; ond pe dywedasid yr un peth, gyda rhyw ddysgrifiad o'r peiriant, a'r dull y gweithiai, wrth Archimedes, ni buasai yn teimlo ond ychydig neu

ddim anhawsder i gredu yr haeriad: Pe buasai brenin Siam yn gwybod rhywbeth am briodoleddau gwres ac oerni, er na welsai rew, gallasai ymresymu fod rhai cyrff celyd pan yn mhresennoldeb gwres yn dyfod yn hylif, a'u bod eilwaith yn absennoldeb gwres yn myned i'w ffurf gyntefig; ac felly gallasai yn hawdd, oddiwrth debygolrwydd y ffaith, gredu tystiolaeth yr ymdeithydd, hyd yn nôd pe na buasai ganddo y fath barch i'w eirwiredd.

Yn awr, ni a edrychwn pa fodd y cydsaif yr egwyddor hon o debygolrwydd yn y prawf o dystiolaeth, â gwirionedd y Bibl. Nid ydym yn meddwl fod gwirioneddau y Bibl, fel ffeithiau, yn bethau y gallasai dyn eu canfod ei hunan, ond yn hytrach i'r gwrthwyneb; eithr yr hyn a olygwn ydyw fod dyn yn alluog, neu o'r hyn lleiaf mewn mantais, i gysylltu y ffeithiau wedi iddynt gael eu dadguddio, â rhywbeth adnabyddus iddo o'r blaen, er cadarnhâd i'r dystiolaeth am danynt. I gymeryd yr un enghraifft eto, caniatäwn pe buasai Brenin Siam yn meddu llygad athronydd, er na ddaethai y ffaith fod dŵr yn rhewi erioed dan ei sylw, buasai ar unwaith yn canfod cysylltiad rhyngddi â rhyw egwyddorion adnabyddus iddo, ac yna buasai yn hawdd ganddo dderbyn y dystiolaeth. Yn gyffelyb y mae gyda golwg ar dystiolaeth yn ei chysylltiad â gwirioneddau y Bibl. Y maent yn gyfundraeth o wirioneddau newyddion, na ddadguddiwyd erioed i lygad dyn o'r blaen; ond eto, y maent yn dyfod i ryw fath o gyffyrddiad agos â theimladau sydd eisoes yn y natur ddynol, fel nas gall y dyn, yn gyson âg ef ei hun, beidio credu yn eu bodolaeth. Os gwâd ef y dystiolaeth, y mae yn rhaid iddo ar yr un pryd wadu ei deimladau ei hunan; ac y mae hyn yn fwy nag y gall ei wneuthur. Y mae ei deimladau yn cadarnhâu y dystiolaeth, ac y mae y dystiolaeth eilwaith yn cadarnhâu yn meddwl y dyn wirionedd ei sefyllfa ei hunan. A'r prawf agosaf hwn o wirionedd tystiolaeth ydyw y prawf cryfaf o lawer. Yr oedd y gwyrthiau a'r gweithredoedd a gyflawnodd yr Arglwydd Iesu pan ar y ddaear, yn annigonol i'r Iuddewon i'w darbwyllo i gredu ei dystiolaeth; ond byddai ambell i un o'r dyrfa yn teimlo awdurdod y dystiolaeth ar ei feddwl, nes peri iddo guro ei ddwyfron, fel y publican, a llefain, "O Dduw, bydd drugarog wrthyf bechadur." Y mae yr un cysylltiad rhwng tystiolaeth crefydd â chalon dyn, ag sydd rhwng tystiolaeth y meddyg deallus âg anhwyldeb y claf. Y mae y meddyg yn sefyll uwch ben y claf, ac yn dyweyd wrtho ei sefyllfa. "Yr wyt yn teimlo y boen yn y fan yma, a'r diffyg yn y fan arall," meddai y meddyg. "Ydwyf," meddai y truan claf—"yr ydych yn gallu dyweyd wrthyf yn well nag y medrwn ddesgrifio fy hunan." Ac y mae medrusrwydd y meddyg yn ennill serch ac ymddiried mwyaf y claf ynddo. Yn debyg i hynyma y mae tystiolaeth crefydd yn dyfod i gyffyrddiad â meddwl y dyn. "Yr wyt yn bechadur," meddai tystiolaeth; ac y mae y dyn yntau yn teimlo gwirionedd hyny. "Y mae dy bechod wedi esgor ar farwolaeth a damedigaeth dy enaid," meddai y dystiolaeth. "Dyna y teimlad ag sydd yn llethu fy natur, ac yn fy nghadw yn barhâus yn nghaethiwed ofn," ydyw yr atebiad o'r galon ddynol. "Nis gelli dy waredu dy hun o'r trueni hwn, ychwaith." "Na, yr wyf wedi ymdrechu digon, ond methu." Yna y mae cyfaddasrwydd y drefn o gadwedigaeth trwy ffydd yn ymagor o flaen y meddwl, a Pherson yr Arglwydd Iesu yn ymddangos yn unig wrthddrych ymddiried dyn. Y mae Efe yn gosod ei hunan yn gymwynaswr i'r byd truenus. "Deuwch ataf fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch." "Yr hwn a ddêl ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim." Y mae y

dyn sydd fel hyn wedi teimlo yn briodol ei sefyllfa, yn taflu ei hunan mewn ffydd ar y dystiolaeth uchod, ac yn fuan y mae yn dyfod i ddysgu,

"Na chollir neb, pwy bynag fo,
A gredo i'r Gwaredwr."

Y mae y berthynas hon sydd rhwng tystiolaeth crefydd a chalon dyn yn benaf yn brawf o'i gwirionedd i feddwl dyn ei hunan; ond y mae ynddo hefyd ryw gymaint o elfenau prawf cyffredinol. Y mae halogrwydd y natur ddynol yn osodiad a gydnabyddir yn gyffredinol ymysg dynion. Ac y mae y gosodiad hwn yn sefyll yn annibynol ar ddadguddiad Dwyfol, er ei fod yn rhan o'r dadguddiad. I bob meddwl ystyriol a chraffus, beth bynag ydyw ei ymddygiad at y dystiolaeth Ddwyfol am hyn, ymddengys y gwirionedd hwn iddo yn eglur. Càn belled ag y mae dirnadaeth dynion goreu y byd wedi cyrhaedd am burdeb rhinwedd a daioni, nid ydyw hanesiaeth yn coffhâu un, yn yr hwn y mae un rhinwedd wedi ymddangos yn bur. Y mae ffaeleddau a cholliadau dyn yn ffurfio y rhan fwyaf o lawer o'i fywgraffyddiaeth; ac y mae y casgliad hwn o lygredigaeth dyn, a dynir mor naturiol o fywyd y dyn ei hunan, yn cadarnhâu yn y modd mwyaf, wirionedd y dystiolaeth am hyn. "Pechasant *oll*, ac aethant yn ol am ogoniant Duw." Y mae yn wir fod rhywrai, ag sydd yn gwadu pob peth o'r bron, yn gwadu y gwirionedd hwn. Buasai damcaniaeth Theodore Parker yn un led dda ar y cyfan, pan y dywed fod yr un cysylltiad rhwng Duw a dyn ag sydd rhwng y llygad a'r goleuni—y glust a'r swn—yr ymborth a'r archwaeth—a bod dyn, o ganlyniad, yn alluog i gyrhaedd y perffeithrwydd y bwriadwyd ef iddo, yn annibynol ar ddadguddiad;—buasai hyn oll yn lled gywir, a golygu y dyn yn ei sefyllfa o berffeithrwydd. Ofer ydyw cymharu dyn â'r anifail, a dyweyd fod pob anifail yn alluog o hono ei hunan i gyrhaedd y perffeithrwydd a berthyn iddo; o herwydd y mae anfeidrol wahaniaeth rhwng sefyllfa yr anifail a'i dynghed briodol, a sefyllfa dyn a'i dynghed briodol yntau; tra y mae yr anifail yn aros fel y crëwyd ef, y mae gagendor ofnadwy wedi ei hagor rhwng sefyllfa bresennol dyn a'r perffeithrwydd y bwriadwyd ef iddo. Y mae wedi colli pob tuedd i ymhyfrydu yn ei Grëawdwr fel unig ffynnon ei ddedwyddwch, ac heb un ddirnadaeth am drefn i'w adferu i'w heddwch. Nid oes dim mewn natur yn alluog i roddi un cyfarwyddyd iddo am ymwared o'r trueni hwn, ac nid yw dysgeidiaeth yr hen athronwyr Paganaidd wedi llwyddo i daflu dim goleuni ar ei sefyllfa; gan hyny, y mae pob ystyriaeth gyfreithlawn yn ein tueddu i dderbyn y dystiolaeth ddadguddiedig am drefn adferiad y byd, gan nad oes dim annhebygol, pan ystyriom y profion grymus eraill sydd genym, er ei bechadurusrwydd, o ddaioni Duw tuag ato, yn yr arddangosiad helaeth ach a newydd hwn o'i ofal am dano.

Os caniatäwn y gosodiad cyntaf hwn, y mae natur wyrthiol Cristionogaeth yn dyfod yn beth eithaf hawdd i'w gredu, gan ei fod yn ymddangos yn beth hollol debygol y byddai i'r fath genadwri neillduol a grymus gael ei dilyn â gweithredoedd neillduol a rhyfeddol, ac â dygwyddiadau gwyrthiol, er mwyn ei sefydlu gydag awdurdod Dwyfol.

Nid ydyw fod gwyrthiau yn droseddiadau ar ddeddfau natur, yn gwanychu dim ar nerth y prawf sydd drostynt; o herwydd nis gall natur fod yn safon i'r hyn sydd goruwch natur. Y mae ein crediniaeth o'r hyn a gymerodd le mewn cysylltiad â sefydliad crefydd yr Arglwydd Iesu, i gael ei

ffurfio nid yn ol yr ystyriaeth o fodolaeth deddfau natur, ond yn ol yr ystyriaeth o fodolaeth Duw, awdwr y deddfau hyny. Pan yr ydym yn son am ddeddfau natur, nid ydym yn meddwl ychwaneg na rhyw gyfres o ganlyniadau, wedi eu penderfynu ganddo Ef, neu y trefniant wrth yr hwn yr ydym yn canfod ei fod Ef yn arfer gweithredu; ac nid ydym i feddwl eu bod yn ei rwymo Ef i weithredu wrthynt bob amser. Arweiniai y dyb hon i annuwiaeth, ac i briodoli pob peth i effaith tynghedfen. Ond os ydym yn credu yn modolaeth y Bôd Goruchaf, rhaid i ni hefyd gredu ei hawl i gyfryngu rhwng y deddfau a osododd, i'r dyben o gyrhaedd rhyw amcanion uwch. Gan hyny, nid ydyw gwadu gwirionedd gwyrthiau ar sail tystiolaeth am eu bod yn groes i ddeddfau natur, ond yr un peth a'u gwadu am mai gwyrthiau ydynt; o herwydd yr hyn y maent yn ei broffesu ydyw, eu bod goruwch y deddfau hyny.

Byddai y dyn ag sydd yn cario yr wrthddadl hon yn erbyn cyflawniad gwyrthiau ar sail tystiolaeth, yr un mor agored i'w gwadu pe gwelai hwynt yn cael eu cyflawni o flaen ei lygaid; o herwydd nid yw yr wrthddadl yn eu herbyn yn gymaint fel mater o ffaith, ag â'r posiblrwydd i'r ffaith gymeryd lle. Gan nad beth bynag ydyw teilyngdod a grym y dystiolaeth sydd yn mynegu y ffaith iddo, nis gall ei chredu, am ei bod yn ymddangos iddo ef yn groes i ddeddfau natur. Yr un modd hefyd, i fod yn gyson âg ef ei hun, pe gwelai ddyn yn adgyfodi o feirw, nis gallai gredu yn ei synwyrau ei hunan am y ffaith, gan fod ei reswm yn dyweyd wrtho fod hyny yn anmhosibl, ac felly y mae yn rhwym o ddibrisio ei sylw a'i brofiad ei hunan yn gymaint ag y mae yn dibrisio tystiolaeth.

Ond y mae rhyw elfenau mewn gwir dystiolaeth ag sydd yn ei gwneuthur y prawf mwyaf diymwad o wirionedd ffeithiau; ac ni raid i ni nodi i ba raddau y mae cymdeithas yn gweithredu oddiar y teilyngdod a berthyn iddi ei hunan, yn annibynol ar natur y ffeithiau a drosglwyddir ganddi. I'r dyben i chwilio gwirionedd tystiolaeth, y mae yn anghenrheidiol ystyried pedwar o bethau,—1. Galluoedd a manteision y sawl fyddo yn tystiolaethu. 2. Eu rhifedi. 3. Eu hamcanion. 4. Tystiolaethau gwrthwynebol. Os bydd tystiolaeth yn dal y profion hyn, y mae hi yn deilwng o ymddiried pob dyn, ac mor anghyfnewidiol ag unrhyw ddeddfau mewn natur. Yn awr, ni a edrychwn yn fyr pa fodd y cydsaif tystiolaeth crefydd â'r profion hyn.

1. Cyn y gall unrhyw dystiolaeth fod yn dderbyniol, y mae yn anghenrheidiol i'r rhai fyddont yn tystiolaethu feddu galluoedd a manteision i farnu a gwybod y ffeithiau a drosglwyddant. Y mae yn ofynol eu bod yn bresennol pan y cymerodd y ffeithiau le, a'u bod y fath nas gellid ammheu am danynt, eu bod yn alluog i farnu natur y ffeithiau, ac i wahaniaethu rhyngddynt pa un ai gwir ai gau fyddont. Yn awr, y mae y personau ag sydd yn sefyll fel tystiolaethwyr crefydd yn meddu y cymhwysderau hyn yn yr helaethder mwyaf. Fel dynion, yr oeddynt yn meddu deall cryf, cynneddfau bywiog, a theimladau aruchel, fel ag yr oeddynt yn sefyll ymhell uwchlaw ofergoeledd yr oes yr oeddynt yn byw ynddi. Pa beth bynag a ellir ddwyn yn erbyn eu tystiolaeth, nis gellir codi dim yn eu herbyn a daflai sarhâd ar eu synwyr cyffredin, neu deimladau hawddgar. Os ydyw gwaith llênyddol unrhyw ddyn yn ddangoseg o'i nodweddiad meddyliol, y mae yr Efengylau a'r Epistolau yn ddangosion o'r hyn ydoedd eu hysgrifenwyr fel dynion.

O ran manteision hefyd, yr oeddynt yn meddu pob cymhwysderau i fod yn dystion o'r hyn y maent yn ei lefaru. Dewisodd yr Arglwydd Iesu yr Apostolion i fod yn dystion iddo hyd eithaf y ddaear, o'r hyn oll a wnaeth pan yn y byd, ac o'i adgyfodiad oddiwrth y meirw. "Chwi a fyddwch yn dystion i mi yn Jerusalem, ac yn Samaria, ac hyd eithaf y ddaear." Yr oeddynt yn gwrando ei ymddyddanion a'i bregethau, yn syllu ar y gwyrthiau a wnaeth, ac yn llygad-dystion o'r gweithredoedd mawrion hyny a gyflawnodd, a effeithiant ar gyflwr dynolryw ymhob oes. Yr un Pedr ydyw hwnw oedd yn cynnorthwyo Marc i ysgrifenu ei efengyl, â'r Pedr oedd yn rhodio gyda'r Iesu ar y môr, ac a aeth gydag ef i fynydd y gweddnewidiad, y proffesai ei ffydd ynddo, ac y dadleuai mor gadarn ei gariad tuag ato, yr eisteddai yn y llŷs yn ymdwymno pan oedd ei Waredwr o flaen Caiaphas, ag y daeth morwynig ato yn y fan hono, ac a ddywedodd, "A thithau oeddid gydag Iesu y Galilead." Yr Ioan hwnw a bwysai ar fynwes yr Iesu, gan wrando ar y geiriau bendigedig a ddyferent dros ei wefusau sanctaidd, ac a fu yn dyst o'i ing ofnadwy yn yr ardd, ac yn edrych arno yn hongiedig rhwng y lladron ar y groes, pan y gorchymynai yr Arglwydd Iesu ei fam i'w ofal, ydyw yr Ioan a ysgrifenodd yr efengyl sydd genym ar ei enw, yn yr hon y dywed, "Y pethau hyn a ysgrifenwyd, fel y credoch chwi mai yr Iesu yw Crist, Mab Duw; a chan gredu, y caffoch fywyd yn ei enw ef." Nid oedd yn bosibl i neb fod yn fwy hysbys o'r gweithredoedd a gyflawnai yr Arglwydd Iesu, na'i ddysgyblion ei hunan; ac nis gellir codi un wrthddadl yn erbyn eu tystiolaeth oddiar y tir hwn.

2. Peth arall i'w ystyried wrth chwilio i wirionedd tystiolaeth, ydyw nifer y tystiolaethwyr. Y mae o'r pwysigrwydd mwyaf i roddi grym mewn tystiolaeth, fod rhyw nifer yn cyd-dystiolaethu, heb fod dim ymgynghoriad blaenorol yn eu mysg. Y mae y fath rym yn y prawf yma, fel, pe byddai pob un o'r tystiolaethwyr yn unigol y fath nas gellid rhoddi ymddiried ynddynt, nis gellid yn gyson wrthod tystiolaeth yr oll o honynt gyda'u gilydd. Y ddeddf a roddwyd i Israel gan y Jehofa ydoedd, "Wrth dystiolaeth dau neu dri o dystion, y rhoddir i farwolaeth yr hwn a fyddo marw: na rodder ef i farwolaeth wrth dystiolaeth un tyst." Yr oedd dyn yn cael ei ddysgu i weithredu yn y pethau mwyaf pwysig, fel yn y pethau mwyaf dibwys, oddiar dystiolaeth, fel oddiar argyhoeddiad trwy ei synwyrau corfforol; ond fel y mae yn bosibl i'r llygad neu y glust gamarwain dyn ar achlysuron penodol, felly gall tystiolaeth un fod yn dwyllodrus; eithr y mae tystiolaeth dau neu dri mewn perthynas i ffaith yn beth nas gall fod yn gyfeiliornus. Os cymhwyswn y prawf hwn eto at dystiolaeth yn ei chysylltiad â gwirionedd crefydd, ni a welwn ei bod yn cael ei chadarnhâu yn y modd mwyaf grymus. Yr oedd rhifedi yr apostolion a dysgyblion yr Arglwydd Iesu, yn ddigon i gadarnhâu yr ystyriaeth nas gallasent gyfeiliorni gyda golwg ar ddilysrwydd y gweithredoedd y tystiolaethant am danynt. Ac y mae yn deilwng o'n hystyriaeth, fod eu tystiolaeth yn ymwneyd â ffeithiau amlwg, y rhai oeddynt yn dyfod i gyffyrddiad â'u synwyriaethau. Pe *un* dyn fuasai yn tystiolaethu fod y dall yn cael ei olwg, a'r marw yn cael ei fywyd, gallasem gasglu mai rhyw ledrith oedd ar ei synwyriaethau; ond pan y mae cynifer yn adrodd y ffeithiau hyn i ni, nis gallwn yn rhesymol ammheu eu tystiolaeth, yn enwedig oddiar yr ystyriaeth a enwyd. Ond nid o flaen rhyw ychydig o ddilynwyr yr Arglwydd Iesu y cymerodd y ffeithiau y mae Cristionogaeth yn seiliedig arnynt le,

ond yn agored o flaen y byd,—ar yr heol ac yn y deml, ac o flaen gelynion, y rhai yr oedd ganddynt fantais i'w chwilio. Nid Mair Magdalen, a Mair mam Iago—nid y ddau ddysgybl ar y ffordd i Emmäus—nid y deuddeg, na'r pum can' brodyr ar Fynydd Galilea, yn unig, fuont dystion o adgyfodiad yr Arglwydd Iesu, ond eraill* hefyd, y rhai y buasai yn dda ganddynt dystiolaethu i'r gwrthwyneb.

3. Ystyriwn hefyd amcanion y tystiolaethwyr. Beth bynag fyddo gwybodaeth, a manteision, a rhifedi y tystiolaethwyr, os na chawn ni fod eu dybenion yn gywir, eu bod yn hollol ddidwyll a hunanymwadol, y mae genym le i ammheu cywirdeb eu tystiolaeth. Ond pa ddyn, yn gyson â rheswm ac ymchwiliad i lyfrau y Testament Newydd, a all daflu yr awgrymiad lleiaf o anghywirdeb a thwyll yn yr apostolion? Nid oeddynt yn ddynion ag oedd yn eu dechreuad wedi arddangos unrhyw uchelfrydedd anghymedrol, a thuedd am enwogi eu hunain, eithr rhai yn dilyn eu galwedigaethau yn onest mewn dystawrwydd a neillduedd, nes iddynt deimlo dylanwad y gorchymyn Dwyfol a dderbyniasant gan yr Hwn a ymddangosodd yn y byd y dyddiau hyny, yn eu galw ar ei ol i fod yn dystion o'r gweithredoedd a wnaethai ynddo. Ac o dan ddylanwad y gorchymyn hwn, gadawsant eu galwedigaethau, eu cartrefleoedd, a'u perthynasau, ac a'i dilynasant Ef. Yr oedd yr Arglwydd Iesu yn ddyeithr iddynt y pryd hyny, fel ag i eraill o'r Iuddewon. Nid oeddynt yn deall ei genadwri; ac er ei ddilyn am beth amser, yr oeddynt yn camgymeryd ei neges yn y byd yn barhâus. Yr oeddynt yn gwybod ei fod yn un mawr, a'i fod yn Fab Duw —yr oeddynt yn gweled ei wyrthiau a'i weithredoedd ofnadwy; ond ffurfient eu golygiadau eu hunain am natur ei neges yn y byd. Tybient mai brenin daearol fyddai, hyd nes eu goleuo a'u hargyhoeddi i'r gwrthwyneb. Ond nid yn ngrym y dybiaeth hon yr oeddynt yn ei ddilyn; eithr wedi iddynt gael eu goleuo am natur ei neges yn y byd, neu o'r hyn lleiaf, wedi i'r dybiaeth mai brenin daearol fyddai golli o'u meddyliau, ni chiliasant yn ol, eithr dilynasant ef fel y dirmygedicaf a'r diystyraf o'r gwŷr. Yr oeddynt yn foddlawn i fod gydag ef pan oedd heb arian i dalu y dreth, ac heb le i roddi ei ben i lawr. Nid yw yn ymddangos yn y gradd lleiaf fod ganddynt un fantais bersonol mewn golwg yn y swydd yr oeddynt yn gyflawni fel tystion o'r pethau a lefarant. Fel Iuddewon ymwadasant â'u crefydd hoff, a gosodasant eu hunain yn agored i lawer o ddirmyg a pheryglon oddiar law eu brodyr, fel y buont mewn gwirionedd. Carcharwyd hwynt—dygwyd hwynt o flaen eu cynghoriaid—gorchymynwyd iddynt beidio a phregethu mwy; ac er fod y cosbedigaethau mwyaf erchyll yn eu haros mewn canlyniad i wneuthur hyn, er hyny, parhasant i gyhoeddi ac i dystiolaethu mai yr Iesu a adgyfododd o feirw yw y Crist. Nid oedd dim a'u hattaliai hwy i gyhoeddi i'r byd y pethau a welsent ac a glywsent; ac yn hytrach na chadw y ffeithiau oedd ganddynt i'w mynegu, gwell oedd ganddynt syrthio yn ferthyron iddynt, a selio eu tystiolaeth â'u gwaed eu hunain. Pa eudeb neu dwyll a allasai fyned o dan y triniaethau hyn? Byddai yn sarhâd ar synwyr cyffredin i ni ddyweyd y buasai dim yn cynnal dyn o danynt, ond argyhoeddiad dwfn yn y meddwl fod yr hyn a dystiolaethai yn wir.

4. Yn y prawf o dystiolaeth hefyd, y mae i ni ystyried tystiolaethau gwrth-

* Y milwŷr.

wynebol. Os bydd un dystiolaeth yn cael ei gwrthwynebu â thystiolaeth arall, nis gallwn ei derbyn, hyd nes y cawn, o leiaf, ymchwiliad pellach i'r ddwy. Y mae yn deilwng o'n sylw fod tystiolaeth crefydd, heblaw ei bod yn cael ei chadarnhâu â'r pethau a enwyd yn barod, yn rhydd hefyd oddiwrth gyhuddiadau unrhyw dystiolaeth wrthwynebol. Y mae yn ffaith hynod mewn hanesiaeth, nad oes un dystiolaeth wedi ymddangos yn yr amser y cymerodd gwyrthiau a gweithredoedd yr Arglwydd Iesu a'i Apostolion le, i brofi na chymerasant le. Yr oedd gwrthwynebiad dynion i grefydd y pryd hyny, fel y mae eto, o ran hyny, i fesur mawr, yn gynnwysedig, nid yn ngwadiad y ffeithiau, ond mewn dibrisdod o honynt, ac yn eu priodoliad i ryw allu neu ddylanwad arall, megys dewiniaeth a swyngyfaredd.

Wedi i ni fel hyn ystyried y prawf o dystiolaeth, yr ydym yn meddwl ein bod yn gyfiawn yn gwneuthur y casgliad, fod y dynion na chredant unrhyw ffeithiau oddiar y seiliau a berthyn i'r prawf hwn, yn agored i beidio a chredu y pethau mwyaf amlwg a ddaw dan eu sylw, ac yn hawdd iawn y gellid cymhwyso atynt eiriau ein Harglwydd, "Oni wrandawant ar Moses a'r prophwydi, ni chredent chwaith pe cyfodai un oddiwrth y meirw."

Ond nid prawf mewn arddansoddiaeth yn unig ydyw tystiolaeth. Y mae yn perthyn iddi ryw gysegredigrwydd mwy o lawer. Dyma ydyw y cysegr sancteiddiolaf, lle mae Duw wedi addaw cyfarfod â'r pechadur, sef yn ei dystiolaeth am ei Fab. Y mae y dyn yn gyffredin yn edrych am rywbeth mwy amlwg—mwy *tangible;* ond nid oes dim mwy felly iddo i'w gael. Gallasai Duw, y mae yn wir, beri fod elfenau tröedigaeth dyn yn y gwynt, neu beri i'w natur gael ei chyfnewid gan belydrau yr haul; ond nid gallu anianyddol felly yw goruchwyliaeth yr efengyl. Y mae ei gweinidogaeth hi yn un foesol, ac yn ymwneyd â dyn fel y cyfryw, trwy dystiolaeth. Ac nid yw yn ymddangos fod un llwybr arall yn dwyn mwy o ogoniant i Dduw, nac yn gosod mwy o fawredd ar ddyn. Pe na buasai tystiolaeth, ni buasai eisieu ffydd, ac ni buasai y dyn yn derbyn yr hyfrydwch sydd yn deillio o ymarferiad grasusau yr efengyl.

Nid yw y cristion bob amser yn rhoddi y lle a'r ystyriaeth ddyladwy i dystiolaeth. Y mae y dystiolaeth sydd yn y gair yn beth y mae meddwl y cristion i weithredu yn barhâus arno; ac oddiwrth yr ymarferiad hwn y mae i dderbyn ei faeth a'i gynnaliaeth ysbrydol. Mae y cristion yn aml, fe allai, yn mwythfoddio mewn rhyw deimladau felly—y dymunasai, pe cawsai y fraint o ddilyn yr Arglwydd Iesu hyd wledydd Judea—gweled ei weithredoedd, a chlywed ei bregethau, ei gynghorion, a'i ymddyddanion, a byw yn barhâus yn ei gymdeithas, ac fel hyn y mae yn anghofio yn ormodol fod yr Arglwydd yn bresennol yn ei dystiolaeth; yr hyn a ddywedodd ac a addawodd, y mae y tu cefn iddo i beri i hyny gymeryd lle. Efe a ddywedodd, "Byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd." Ni chredai Thomas ar dystiolaeth ei frodyr adgyfodi eu Harglwydd. "Oni châf," meddai, "weled yn ei ddwylaw ôl yr hoelion, a dodi fy mys yn ôl yr hoelion, a dodi fy llaw yn ei ystlys ef, ni chredaf fi." Y mae yn ddiau fod y teimlad a feddiannai Thomas yn un teilwng pan y dywedai hyn, a'i fod yn cyfranogi o awydd gweled ei Arglwydd, fel yr awydd sydd weithiau yn meddiannu y cristion yn awr. Ond nid oes ganddo ond cymeryd i ystyriaeth yr atebiad a gafodd Thomas,—"Am i ti fy ngweled, Thomas, y credaist: bendigedig yw y rhai ni welsant, ac a gredasant."

# Y MEISTR A'R GWEITHIWR.

UN o arwireddau syml y Bibl ydyw, "Y ddaear a roddes efe i feibion dynion." Rhoddodd Rhagluniaeth hi yn waddol i'w thrigolion; ac y mae y byd yn ddigon i'w breswylwyr oll, pe gweithredid mewn iawnder a threfn. Mae gan yr hen ddaear ddigon o fodd i gynnal ei phlant oll, a'u cynnal yn foneddigion bob un; oblegid boneddwyr y galwn ni bawb sydd yn cael digon o fwyd, a digon o ddillad, a digon o waith; ac y mae gan yr hen ddaear ddigon o fodd i roddi hyny i bob pen byw sydd arni. Cyfarfu ei Fawrhydi, y diweddar Sior III., â bachgenyn unwaith wrth balasdŷ, a gofynodd iddo, "Beth wyt ti yn ei ennill yma?" "Dim ond y 'mwyd a nillad," ebe y bachgen. "Wel yn wir," ebe yr hen frenin yn ei ddull syml, "yr wyt ti yn cael cymaint a minnau." Ac meddai awdurdod uwch na gorsedd Lloegr, "O bydd genym ymborth a dillad, ymfoddlonwn ar hyny."

Mae meddiant gwlad yn wreiddiol yn perthyn i'r cyntaf a'i perchenoga; ac nid oes hawl gan unrhyw allu cryfach i ymosod arnynt, a'u hyspeilio o honi. Nis gallwn weled fod hawl gan deyrnas wareiddiedig i ymosod yn dreisiol ar genedl anwar, a'u hyspeilio trwy orthrech o'u meddiant cyfreithlawn. Gwyddom fod ein teyrnas ni, fel holl wledydd cryfion Ewrop, yn ddwfn iawn yn y camwedd yma. Mae meddiant gwlad yn perthyn yn gyfiawn i'r cyntaf a'i perchenoga; ond ni ddylai dim, ac nis gall dim, ond diwydrwydd ac ymroddiad, ddiogelu y meddiant hwnw. Dacw dri dyn yn cael eu bwrw i ryw ynys heb erioed gael ei pherchenogi gan un crëadur rhesymol. Yn briodol gellir dyweyd fod Rhagluniaeth yn gwneyd anrheg o'r ynys iddynt hwy; o leiaf, gymaint o honi ag a berchenogir ganddynt cyn i neb arall ei darganfod. Y mae y tri yn cychwyn ar yr egwyddor o hawl gyfartal; ond edrychwch arnynt yn gweithio. Y mae un yn gymeriad diog, segur, diffrwyth; casbeth ganddo ydyw gweithio; nid oes ynddo galon at ddim ond gorwedd a chysgu. Mae yr ail yn feddiannol ar gorff cryf, galluog at waith, ac awyddus i'w gyflawni; ond y mae yn ddiffygiol mewn galluoedd meddyliol i ragfeddwl a rhaglunio. At weithio y gwnaed ef. Mae y trydydd yn weithgar, llafurus, a diddiogi; yn llawn llygaid i weled ei waith, ac yn llawn bywiogrwydd i'w gyflawni. Mae yn gwmpasog ei feddwl i dynu allan ei gynlluniau, ac yn anturiaethol i'w dwyn i ymarferiad. Nid oes eisieu na dewin na brudiwr i ragweled beth fydd y canlyniad. Bydd y cyntaf yn llencyn pwdr yn ymddibynu ar lafur y ddau olaf. Bydd corff cryf yr ail yn was i feddwl galluog y trydydd. A bydd y trydydd yn fuan yn arglwydd ar y wlad a'i thrigolion. Dyna gymdeithas ar raddfa fechan. Mae yna feistr a gweithiwr, a'r segurwr yn *lumber* dros ben. A pha le y gwelwyd cymdeithas erioed hebddynt? a thra y byddo y natur ddynol yr hyn ydyw, nis gellir dysgwyl yn amgen; a gwallgofrwydd yw pob cynnygiad i ddarostwng cymdeithas yn gydradd. Mae yn wir y gellir lliniaru llawer ar wasgfeuon cymdeithas, a lleddfu llawer ar dlodi y bobl, trwy ffurfiad cyfreithiau uniawn, a'u gweinyddu yn deg, a dyrchafu y werin mewn gwyb-

odaeth, rhinwedd, a moesoldeb. Ond nis gellir, trwy unrhyw ddyfais byth, ddifodi amrywiaeth sefyllfäoedd cymdeithas; oblegid nad ydynt oll ond dadblygiad o wahaniaeth yn ngalluoedd meddyliol, tueddfryd naturiol, a grym corfforol dynion.

Ac onid yw yr un amrywiaeth i'w ganfod trwy holl weithredoedd Duw? Ydyw! oddiwrth yr isop a dyf allan o'r pared, hyd at y dderwen dewfrig sydd yn estyn ei breichiau mawrion allan i ymladd â'r ystorm: o'r foel gwynfanus hyd at y mynydd cribog a ymddyrcha i'r wybren, gan wneyd y cwmwl yn obenydd i bwyso ei ben arno: o'r ffrwd fechan a groesir gan yr ŵyn diniwaid, hyd yr afonydd mawrion dolenog a nofir gan long y marsiandwr, ac a ddyfrhâ y dyffrynoedd ëang ar eu glànau am filoedd o filldiroedd. Yn nghreaduriaid y greadigaeth gwelir yr un amrywiaeth: o'r brithyll chwyrn ei esgyll yn yr afon, hyd at y môrfarch a gynhyrfa dònau y Werydd fel crochan berwedig: o'r dryw bach a lecha ogylch muriau y tŷ, hyd at yr eryr cryf "a wna ei nyth yn uchel, ac a erys ar ysgythredd y graig:" o'r oen bach a chwery ar y llethr gyda'i fam, heibio yr ŷch corniog, hyd at y march carnol ag y mae dychryn yn ardderchogrwydd ei ffroen ef, a gloddia y dyffryn â'i draed, a lawenycha yn ei gryfder, a ddiystyra ddynoethiad y cleddyf, a wery ar ddysgleirdeb y waewffon a'r darian, a lwnc y ddaear gan greulondeb a chynddaredd, ac ymhlith udgyrn rhyfel a ddywed, Ha! Ha! Yn nghyfansoddiad cyrff dynion eto, gwelir yr un amrywiaeth. Rhai yn gorachod gwanaidd, edlychaidd, culion eu hwynebau, a meinion eu hesgyrn; tra y mae eraill yn gawri Anacaidd palfog, gewynog, a'u haelodau fel cedrwydd, a'u hesgyrn fel pibellau pres. Ac nid yn unig yn nghyrff dynion, ond gwahaniaethant lawn cymaint yn eu meddyliau. Gwnaeth rhai orchestion meddyliol dan yr amgylchiadau mwyaf anfanteisiol, pan yr oedd meddyliau eraill yn cysgu yn nghanol y cyfleusderau mwyaf manteisiol i gynnydd ac ymëangiad.

Y mae yr amrywiaeth yma a welir ymhob dosbarth adnabyddus i ni yn llywodraeth Duw, yn myned ymhell iawn tuag at brofi na olygodd yr Arglwydd ddynion i fod yn gydradd yn eu hamgylchiadau tymmorol; ond fod uwchafiaeth ac isafiaeth, meistriaid a gweision, o angheurheidrwydd naturiol. Wrth ddyweyd hyn yr ydym ymhell o feddwl mai *trefniad* Rhagluniaeth ydyw *yr holl* amrywiaeth a welir mewn cymdeithas. Gwyddom fod cannoedd, trwy ormes, ac anonestrwydd, a chribddeiliaeth, wedi ymddyrchafu i gyfoeth a dylanwad; a miloedd trwy ddiogi, neu wastraff ac afradlonedd, wedi darostwng eu hunain i'r tlodi mwyaf; a byddai yn gabledd ar Ragluniaeth dadogi dyrchafiad y naill na darostyngiad y llall arni hi. Un peth ydyw *goddefiad* Rhagluniaeth, ond peth arall, pur wahanol, ydyw *ordeiniad* Rhagluniaeth. Ar yr un pryd, golygwn na feddyliodd y Llywydd doeth am i ddynion fod yn gydradd yn eu hamgylchiadau bydol, ac y byddai cynnyg sefydlu cyfundraeth gydraddol yn ynfydrwydd hollol; dymchwelid hi ar unwaith. Pe gellid ei sefydlu, nis gellid ei pharhâu. Rhaid i bob diwygiwr gwladwriaethol, gan hyny, edrych ar gymdeithas fel y mae, ei gwella yn ei sefyllfa bresennol, ac nid ceisio ei thaflu yn ol i'w sefyllfa wreiddiol. Ond y mae yn ofnadwy fod cymdeithas mewn sefyllfa wareiddiedig yn fwy anfanteisiol i'r diwyd a'r llafurus ennill bywoliaeth nag a fyddai mewn sefyllfa anwaraidd. Ond er hyn oll, nid dymchwel trefn bresennol cymdeithas ydyw y ffordd i'w gwella. Rhaid cael adgenedliad gwladwriaethol trwy ryw foddion heblaw chwaliad cyffredinol.

Mae cymdeithas yn ei sefyllfa bresennol wedi myned fel hen gorff gwdr a braenedig. Mae rhyw hylif afiach yn rhedeg trwy ei chyfansoddiad. "Y pen oll sydd glwyfus, a'r holl galon yn llesg." Mae cyfoeth a swyddau, urddau ac enwau, dylanwad ac awdurdod, wedi eu rhoddi i ddynion heb ganddynt hawl arnynt, na chymhwysder iddynt. Yn unig dygwyddasant gael eu geni mewn palasau; croesawyd eu dyfodiad i'r byd â thwrf magnelau, a chyneuad coelcerthi; yr oedd etifeddiaethau ëang yn barod yn eu dysgwyl; ni phrofasant roddi gwadn eu troed ar y ddaear gan foethau a thynerwch; bwytânt y brasaf, ac yfant y melusaf; gwleddant ar eu moethau, a gorweddant ar eu glythau; gyrant yn ddibris yn eu cerbydau; ac edrychant ar y gweithiwr caled yn annheilwng o gael ei osod gyda chŵn eu defaid. Gwyddom am ambell gnâf a elwir yn foneddwr, ag sydd yn llawer mwy gofalus am ei gŵn hela nag am ei weithwyr tlodion. Nid rhyfedd fod y gweithiwr weithiau, dan ryw bang o gynddaredd, yn gwaeddi am ranu eu hetifeddiaethau, wrth weled y rhai sydd yn gweithio galetaf yn cael y byd salwaf.

Yn sicr y mae y gweithiwr yn fynych yn cael cam; y mae y dosbarthiadau uwchraddol iddo yn ormesol arno. Mae y llywodraeth yn ei drethu, a'i feistr yn ei wasgu. Mae ei fwyd a'i ddiod, ei lîn a'i wlân, dan deyrnged i'r Goron. Mae y trethoedd yn fwy na dyblu pris ei anghenrheidiau; a threthir un dosbarth i gynnal dosbarth arall. Gwneir! trethir y diwyd i gynnal y diog—y sobr i gynnal y meddw—y cynnil i gynnal yr afradus—y tlawd i gynnal y cyfoethog—a'r werin i gynnal y bendefigaeth. Y mae y llywodraeth wedi ei bwriadu i amddiffyn y gwan rhag gormes y cryf; ond yn lle hyny, y mae i fesur mawr yn attegu y cryf i ormesu y gwan. Anghyfiawnder gwladol ydyw fod un dosbarth o'r boblogaeth yn cael eu llethu â beichiau trymion i gynnal dosbarthiadau eraill; ac y mae yn groes i ordeiniad Duw "fod rhai dynion yn dyfod i'r byd â ffrwyni yn eu penau, a chyfrwyau ar eu cefnau, ac i ychydig bersonau eu marchogaeth i angeu." Dylai y llywodraeth ffurfio a gweinyddu ei holl gyfreithiau heb wneyd dim trwy gydbartïaeth.

Ond er yr holl anhawsderau, ac o dan yr holl anfanteision, y mae cyflwr y dosbarth gweithiol yn gwella. Maent yn ymgodi yn eu hamgylchiadau bydol, a diwygiad mawr yn eu moesau allanol. Hwyrach, ag edrych ar ryw ddosbarthiadau, na welir ond ychydig, os gwelir dim, gwelliant yn eu sefyllfa; ond a chymeryd golwg gwmpasog ar sefyllfa y werin, ceir eu bod mewn llawer gwell amgylchiadau nag y gwelwyd hwynt. Y maent yn byw yn well, yn gwisgo yn harddach, ac yn cadw eu tai yn drefnusach.

Mae llïosogrwydd y Cymdeithasau Adeiladu sydd yn ein gwlad, a'r nifer fawr o'r bobl gyffredin sydd ynddynt, yn siarad yn uchel yn ffafr sefyllfa welliadol y gweithwyr. Mae sefydliadau o'r fath agos ymhob cymydogaeth boblogaidd trwy ein gwlad; a gwyddom am ardaloedd lle y mae cannoedd o weithwyr, trwy y cymdeithasau yma, yn byw yn eu tai eu hunain; ac y mae yr olwg lanwedd, gryno, drefnus, a welir arnynt, yn dangos yn eglur fod cyflwr y gweithiwr wedi gwella yn fawr yn yr ugain mlynedd diweddaf. Nid yw hyn wedi cymeryd lle yn gymaint am fod y gweithiwr yn cael ei dalu yn well, ond am fod y gwersi pwysig o ddiwydrwydd, cynnildeb, a sobrwydd, yn cael eu dysgu, heb y rhai y mae yn anmhosibl iddynt ymgodi, beth bynag fyddo eu henill.

Mae yr Adnoddion Cynnilo (*Savings Banks*) hefyd, yn dangos fod y wlad mewn sefyllfa o welliant. Mae y sefydliadau hyn wedi eu bwriadu yn uniongyrchol ar gyfer y dyn tlawd. Derbyniant yr arian i mewn fel y caniatäo ei amgylchiadau iddo eu rhoddi, o swllt i fyny hyd ddeg punt ar hugain yn yr un flwyddyn. Mae cangenau o'r ariandai yma agos ymhob ardal boblog, a'r bobl yn eu gwerthfawrogi, trwy roddi eu harian ynddynt yn lle eu gwario ar oferedd. Yr ydym newydd dderbyn i law adroddiad Ariandy Cynnilion Liverpool, am y flwyddyn a derfynai Tachwedd 20fed, 1857, lle y cawn, er na bu y flwyddyn ddiweddaf yn un o'r blynyddoedd mwyaf llwyddiannus, eto, ddarfod iddynt agor 7,369 o gyfrifon newyddion, ac ail agor 1,024 o hen gyfrifon, yn gwneyd cyfanswm y gwystlwyr yn 24,811, —ychwanegiad o 1,528 ar y flwyddyn flaenorol, wedi tynu allan y 6,977 o hen gyfrifon a gauwyd. Swm yr arian a roddwyd i mewn yn ystod y flwyddyn oedd £220,640 9s. 1c. Y cyfanswm dyledus i'r gwystlwyr, yn cynnwys llôg, oedd £753,406 1s.; ac yr oedd hyny yn ychwanegiad ar y flwyddyn flaenorol o £14,654 12s. 9c. Ac yr oedd yr arian hyn oll wedi eu cynnilo gan bobl dlodion, o'u llafur caled, mewn symiau o bunt hyd ddau cant o bunnau. Yn Ariandy Aberdâr, am y flwyddyn a derfynai Tachwedd 20fed, 1857, derbyniwyd gan y gwystlwyr £2,312 6s. 4c. Talwyd allan £1804 2s. 3c. Dydd Llun, Chwefror 1af, 1858, derbyniwyd yno £105 0s. 10c., pan na thalwyd allan ond £13. Mae hyn yn dyweyd llawer dros gynnildeb a sobrwydd, a dyrchafiad y lle poblogaidd hwn yn nghanol yr adeg gyfyng a chaled y maent wedi bod ynddi, a gallasem ddwyn enghreifftiau cyffelyb o lawer o fanau eraill. Ni bydd dim yn ein boddhâu yn fwy na gweled plant bychain—meibion a merched ieuainc—gwragedd gweithwyr, â'u llyfrau yn eu dwylaw, yn prysuro i roddi eu mân symiau i mewn, fel y byddo ganddynt rywbeth erbyn dydd blin.. Mae yn siarad yn uchel iawn dros y gwelliant sydd yn cymeryd lle yn amgylchiadau tymmorol y dosbarth gweithiol.

Mae y gweithwyr yn gyffredin yn byw yn well nag yr arferent. Nid ar antur yr ydym yn siarad, ond y mae genym wrth law ffeithiau sydd yn dangos hyny. Os edrychir ar gyfrifiadau swyddol y llywodraeth o'r defnydd cymharol wnaed o siwgr, tê, coffi, caws, ymenyn, &c., mewn gwahanol flynyddau, ceir fod gwelliant mawr. Mae yn wir fod cynnydd y boblogaeth yn cyfrif mewn rhan am hyn; ond y mae y defnydd ychwanegol a wnaed lawer yn fwy na chyfartaledd i gynnydd y boblogaeth. Mae y difa ychwanegol a wneir ar anghenrheidiau bywyd, yn profi fod y gweithiwr mewn sefyllfa o welliant. Mewn gwrthwynebiad i hyn, hwyrach y dadleuir na chafodd y gweithiwr ond ychydig o'r ychwanegiad. Ar hyny, wrth reswm, nis gellir cael cyfrif cywir. Ond, ag ymresymu oddiar debygolrwydd, gallwn ddyfod i'r casgliad mai hwynt-hwy a gafodd fwyaf. Yr oedd y dosbarthiadau canolradd ac uwchradd yn mynu eu digonedd o'r blaen. Y gweithiwr sydd yn gorfod dyoddef gyntaf o herwydd prinder a drudaniaeth; o ganlyniad, pan fyddo ychwanegiad, gellir yn rhesymol gasglu ei fod yn myned i'r rhai oedd o'r blaen yn dyoddef prinder. Mae y cyfrifiadau a geir o rai manau yn profi fod llai o dlodion yn y gweithdai nag a welwyd, ac y mae hyny yn dangos fod cyflwr y bobl weithgar yn gwella. Yn yr adroddiadau a gafwyd am weithdai Dorset, Wilts, a Sussex, a rhai manau eraill, yspaid o amser yn ol, cawn fod y dwylaw mor brin yn y tŷ nad oedd yno neb i wneyd y gwaith; a dywedai y *Leicestershire Mercury* yn ddiwedd-

ar fod meistr y gweithdŷ yn gorfod cyflogi golchwraig am dri diwrnod o'r wythnos. Mae yr ynadon a'r barnwyr yn dwyn gwaghâd ein carchardai ymlaen fel prawf o welliant moesol y wlad; gallwn ninnau, gyda llawn cymaint o briodoldeb, ddangos gwelliant amgylchiadol y bobl oddiwrth waghâd y gweithdai. Nid dydd ac nid nos ydyw ar sefyllfa y gweithiwr; bu yn waeth, ond bydd yn well.

Mae sefyllfa y dosbarth gweithiol yn tynu sylw neillduol yn y dyddiau hyn. Yn y cynnadleddau pwysig a gynnaliwyd yn Birmingham ychydig amser yn ol, dan lywyddiaeth Arglwydd Brougham, yr oedd golwg uniongyrchol ar ddyrchafiad cymdeithasol y werin; ac yr oedd gweled cynifer o wŷr urddasol, o'r fath safiad uchel yn y deyrnas, yn teimlo y fath ddyddordeb, ac yn cymeryd arweiniad cangenau yn dal y fath gysylltiad â dyrchafiad y gweithiwr, yn ein golwg ni, yn un o'r argoelion mwyaf gobeithiol. Ac fel y daw meistri a gweision i ddeall yn well y deddfau sydd yn rheoli gwaith a masnach, a bod llwyddiant y ddwy blaid wedi eu cysylltu ynghyd, derfydd y teimlad câs sydd yn awr i raddau gormodol yn bodoli rhyngddynt.

Yr ydym yn teimlo rywfoddd fod gormod o bellder rhwng y meistr a'r gweithiwr; mae gagendor ddidramwy rhyngddynt. Ymddyga y meistr fel pe byddai ei fantais ef yn nhlodi ei weithwyr, ac ymddyga y gweithiwr fel pe byddai ei fantais yntau mewn niweidio ei feistr. Gwna y meistr ei oreu i wasgu y gweithiwr; a gwna y gweithiwr ei oreu i dwyllo ei feistr. Myn y meistr dynu oddiwrth y gweithiwr gymaint ag a allo am gan lleied o arian ag y byddo modd; a myn y gweithiwr gymaint o arian ag a allo gael, am gân lleied o waith ag a allo wneyd. Mae y pleidiau heb ddeall fod llwyddiant y naill yn llwyddiant y llall; ac mai wrth wasanaethu eu gilydd y gwasanaethant eu hunain, ac mai wrth ddrygu y naill y drygir y llall. Mae y meistr yn siarad llawer am ei hawliau, ac am ddyledswyddau y gweithiwr; ac y mae y gweithiwr yn athrawiaethu llawn cymaint ar ddyledswyddau y meistr, gan ddadleu ei hawliau ef ei hun. Mae y naill fel y llall yn dueddol i anghofio eu dyledswyddau wrth siarad am eu hawliau. Ond pe gallem, codem i fyny golofn uchel, ac ysgrifenem arni mewn llythyrenau eglur,—HAWLIAU A DYLEDSWYDDAU Y MEISTR A'R GWEITHIWR.

Gellir crynhöi hawliau y pleidiau i ychydig eiriau. Mae hawl gan y gweithiwr i waith; mae hawl gan y meistr i benderfynu pa faint a rydd am wneyd ei waith. Mae hawl gan y gweithiwr i'w gyflog mewn arian wedi iddo eu hennill; mae hawl gan y meistr i werthu ei nwyddau lle y caffo fwyaf am danynt. Mae hawl gan y gweithiwr i sefyll allan os tybia nad yw yn cael ei wir werth am ei lafur; mae hawl gan y meistr i ymofyn eraill i wneyd y gwaith yn ei le. Dyna dair egwyddor yn goblygu ynddynt hawliau y pleidiau.

Y mae gan y gweithiwr hawl i waith. Y mae y ddaear wedi ei rhoddi i ddyn i'w llafurio ac i'w chadw. Mae ei meusydd i'w gwrteithio a'u hachlesu fel y rhoddont "hâd i'r hauwr a bara i'r bwytäwr;" ei mynyddoedd i gloddio i'w crombiloedd, a dwyn i'r golwg eu trysorau cuddiedig; ei haur a'i pherlau, a'i meini gwerthfawr oll, i fod mewn cylchrediad i ddwyn ymlaen ei marsiandïaeth. Mae yn annheg fod tirfeddianwyr, a pherchenogion gweithfëydd, yn gadael eu cyfoeth i groni, ac felly o anghenrheidrwydd gyfyngu ar y werin. Mae cyfoeth wedi ei fwriadu i fod mewn cylchrediad.

Pa les a wna heb hyny? Nid yw casglu gwrtaith yn domenydd o un lles heb ei wasgaru ar wyneb y maes. Ond er fod gan y gweithiwr hawl gyflawn i waith gan y rhai sydd yn perchenogi y ddaear o'i gylch, eto y neb sydd i dalu sydd i arosod y pris. Nwydd mewn marchnad ydyw llafur y gweithiwr, ac y mae yn rhaid iddo werthu ei fedrusrwydd am bris y farchnad. Gall ofyn ychwaneg, gall ddadleu ei fod yn werth ychwaneg; ond os gweithia rhaid iddo wneyd am y pris fyddo. Mae cyflogau yn cael eu rheoli gan wahanol ddeddfau. Mae prisoedd gwahanol orchwylion hyn gwahaniaethu; gwyddom fod rhai gorchwylion, a chelfyddydau yn fwy ennillgar o lawer nag eraill; ac y mae rhyw bethau yn cyfrif am hyny.

Mae yr hyfrydwch a'r esmwythdra sydd yn y naill waith, a'r perygl a'r anghyfleusdra sydd yn y llall yn cyfrif am hyn. Nid yw cyflog yr aradwr, neu y gweithiwr tir, yn gymaint a'r glöwr, y mwnwr, neu y morwr. Ac y mae yn hawdd rhoddi rheswm am hyny. Mae y pleser a'r hyfrydwch sydd yn y cyntaf yn rhan o'r tâl am ei wneyd, tra o'r ochr arall y mae y peryglon mawrion sydd gyda'r rhai olaf yn gyfryw y rhaid fod tâl ychwanegol am danynt cyn yr ä neb iddynt.

Mae y rhwyddineb a'r rhadlonrwydd i ddysgu y naill waith, a'r draul a'r anhawsder i ddysgu y llall, yn cyfrif am y gwahaniaeth. Ennilla y saer fwy na'r llafurwr, ennilla yr oriorydd fwy na'r saer; nid am fod y gwaith yn galetach, ond am fod yr anhawsder i'w ddysgu yn fwy. Mae côst fawr i ddwyn un i fyny yn feddyg neu yn gyfreithiwr, o ganlyniad mae ad-daliad ychwanegol yn ddigon rhesymol rhagor yr un sydd mewn gorchwyl nad aeth ond ychydig draul i'w ddwyn i fyny.

Mae sefydlogrwydd y naill orchwyl, ac ansefydlogrwydd y llall, yn gwneyd gwahaniaeth yn y cyflogau a delir. Mae y dyn sydd yn ennill tri swllt yn y dydd drwy y flwyddyn yn well allan na'r dyn a ennilla bump neu saith swllt gyda gorchwyl ansefydlog. Gall mai tri diwrnod o'r wythnos a weithia yr olaf fynychaf, ac yn aml yn y gauaf gall fod am wythnosau yn segur. Mae cyflog llai yn rheolaidd yn well.

Mae yr ymddiried a'r cyfrifoldeb sydd ynglyn â rhai gorchwylion yn peri eu bod yn cael eu talu yn well. Nid yw yr arolygwr yn gweithio mor galed â'r rhai sydd dano, ac eto telir ef yn well. Mae cyfrifoldeb mawr arno, ac os ydyw yn deilwng o ymddiried mawr, y mae i'r perchenog yn werth arian mawr. Telir rheolydd yr ariandŷ yn well nag y telir ysgrifenyddion; er mai hwy sydd yn gweithio galetaf, arno ef y mae y cyfrifoldeb, a thelir ef yn ol hyny.

Mae y tebygolrwydd o lwyddiant neu aflwyddiant sydd mewn gorchwylion hefyd yn gwahaniaethu eu tâl. Mae rhai galwedigaethau y mae agos bawb sydd ynddynt yn gwneyd bywioliaeth weddol, pan y mae eraill â rhai yn yn llwyddo yn fawr ynddynt, ac eraill yn methu yn lân. Gwelir gan hyny mai nid ar galedrwydd y gwaith, ond ar *werth* y llafur, y dibyna cyflogau. Gellir cyfrif yn deg am y gwahaniaeth sydd yn nghyflogau gwahanol alwedigaethau yn ol un o'r egwyddorion a osodwyd i lawr. A hwyrach erbyn taflu pob peth i ystyriaeth, fod mwy o gyfartalwch rhwng y gwahanol alwedigaethau nag a dybir ar yr olwg gyntaf.

Ond nid yn unig y mae cyflogau gwahanol alwedigaethau yn gwahaniaethu, ond y mae cyflogau yr un galwedigaethau yn fwy neu lai ar wahanol amserau. Ac y mae hyny yn cael ei reoli yn hollol gan amgylchiadau. Y

mae gwerth gwaith, fel gwerth pob peth arall, yn fwy neu yn llai yn ol yr anhawsder i'w gael. Ni byddai pwys o aur yn ddim mwy ei werth na phwys o bres, oni bai fod llai o hono, a'r drafferth a'r gôst i'w gael yn fwy. Nid y meistri, gan hyny, o'u hewyllys eu hunain sydd yn gostwng nac yn codi cyflogau, ond y mae hyny yn cael ei reoli gan brinder a llawnder; a'r cwbl a all y meistr ydyw dal sylw manwl ar y farchnad, ac ar osod y pris yn ol hyny. Lliosogrwydd dynion a phrinder gwaith sydd yn gostwng cyflogau; a chyflawnder o waith a phrinder gweithwyr sydd yn codi cyflogau. Gwerth cymharol ydyw gwerth pob nwydd masnachol, yn amrywio yn ol amgylchiadau. Yr un faint ydyw pwys o ymenyn pan werthir ef am naw ceiniog â phan werthir ef am bymtheg ceiniog; ond nid yr un werth ydyw. Yr un faint oedd sachaid o flawd pan werthid hi am ddeg swllt ar hugain a phan ei gwerthid am dair punt; ond nid yr un werth ydyw. Mae nwyddau masnachol yn codi ac yn gostwng yn eu gwerth yn ol y galw fyddo am danynt, a'r ystôr i ateb y galw hwnw. Felly hefyd y mae dyn o'r un gallu corfforol, yn gwahaniaethu yn ei werth. Y dyn oedd yn werth deg swllt ar hugain flwyddyn yn ol, gall nad yw yn werth punt yn awr; a dichon ymhen blwyddyn eto y bydd y farchnad wedi codi cymaint, y bydd yn ddwywaith gwerth y peth yw yn bresennol. Yr ydym gan hyny yn gweled yn eglur, mai nid y gweithiwr sydd i arosod pris gwaith. Gall ofyn y pris a fyno; ond gall y meistr wneyd ei ddewis, ei roddi neu beidio; efe a ŵyr pa faint a all fforddio ei dalu. Mae y dyn sydd yn myned i'r farchnad i werthu ei gig, ei gaws, ei ymenyn, a'i anifeiliaid, at ei ryddid i ofyn y pris a fyno; ond y mae y prynwr hefyd at ei ryddid i'w roddi iddo neu beidio; ac nid yw yn debyg y rhoddir iddo ei bris os bydd yn uwch na phris y farchnad. Os myn basio ei nwyddau, rhaid gadael iddynt fyned am y pris fyddo yn cerdded. Felly hefyd y mae y gweithiwr yn myned i'r farchnad i gynnyg ei hun am y geiniog uchaf a allo gael, ac ynfyd yw y dyn a weithia am lai na hyny. Ond gall y meistr ddyweyd wrtho, "Yr ydych yn gofyn gormod; mae y farchnad wedi gostwng; ychydig o alw sydd am y nwyddau, ac nis gallaf roddi ond hyn a hyn." Yn awr beth a wneir? Mae y gweithiwr yn gofyn mwy nag a olyga y meistr a allo roddi; mae y meistr yn cynnyg llai nag a farna y gweithiwr a ddylai gael. "Ni weithiaf am lai," ebe y gweithiwr. "Ni roddaf finnau fwy," ebe y meistr. Dyna y farchnad rhyngddynt hwy â'u gilydd yn darfod. Mae y gweithiwr yn troi allan i chwilio am rywun arall a rydd ei bris iddo. Mae y meistr yntau yn chwilio am y neb a wna y gwaith am y pris a allo roddi. Ac y mae hyny yn berffaith deg. Os metha y gweithiwr a chael neb i roddi ei bris iddo, rhaid iddo ymostwng i weithio am y pris a gynnygiwyd; ac os metha y meistr a chael neb i weithio ar ei bris ef, rhaid iddo ymostwng a rhoddi ychwaneg; a dengys y canlyniadau ar y diwedd, pa un ai y meistr neu y gweithiwr oedd yn deall sefyllfa masnach oreu ar y dechreu. Byddai gorfodi y gweithiwr i weithio am bris y meistr yn anghyfiawnder; a byddai yn llawn cymaint o anghyfiawnder gorfodi y meistr i roddi ei bris i'r gweithiwr. Masnach deg ydyw i bob un wneyd oreu y gallo drosto ei hun. Pwy sydd â hawl i orfodi y gweithiwr? Onid efe a biau ei gorff a'i ddwylaw? Ac os yw yn gweled nad yw yr hyn a gynnygir iddo yn ateb ei werth, y mae ganddo hawl i attal ei lafur. Ac y mae yr un hawl gan gant o ddynion, os byddant yn cydolygu.

Dymunem fod yn ofalus rhag i neb o'n darllenwyr dderbyn camargraff.

Am yr *hawl* ac nid am *briodoldeb* y fath gynghreiriad, yr ydym yn dyweyd. Os barna dosbarth o ddynion mewn gwaith fod gostyngiad annheg ar eu cyflogau, y mae ganddynt *hawl* i sefyll allan; er nad oes ond ychydig iawn o enghreifftiau ddarfod i'r gweithwyr erioed fod yn ennillwyr trwy hyny. Nid yw y *strikes*, fel y gelwir hwy, mewn 19 o bob 20, os nad mewn 99 o bob 100 o amgylchiadau, yn ddim ond cynnyrch breuddwydion ymenyddiau wedi eu berwi ogylch pentanau y tafarnau; rhyw ychydig bersonau anhywaith a drygionus yn arwain, a'r lliaws yn eu diniweidrwydd yn rhoddi ffordd er mwyn tawelwch. Un o brif gamgymeriadau y gweithwyr ydyw cymeryd eu harwain gan ddynion cynhyrfus ac aflonydd a gymerant arnynt deimlo dros eu sefyllfa, ac a haerant eu bod yn gyfeillion iddynt; cyffröant hwynt i anesmwythder trwy eu hareithiau fflamllyd; cymerant arnynt wybod y cwbl am helyntion masnach; a gwenwynant eu meddyliau yn erbyn y meistri. Dyma flaenoriaid y sefyll allan bob amser; dynion terfysglyd, aflonydd, ac anhywaith, heb ganddynt amgylchiadau i'w peryglu, na chymeriadau i'w colli. Gresyn fod dynion sobr, diniwed, dan feichiau gofalon, yn cymeryd eu harwain gan giwed o'r fath! Mae y fath ddifrod ofnadwy yn cymeryd lle trwy y "sefyll allan," fel y byddai yn werth gwneyd unrhyw aberth braidd er mwyn ei ochel. Mae y crefftwyr yn cael eu llethu—masnachwyr gonest yn tori—teuluoedd cysurus yn cael eu gwasgaru—y sobr a'r diwyd yn suddo i ddyled—y diog a'r segur yn cael achlysur i droi allan yn grwydriaid, ac i ymosod ar feddiannau y diniwed—teimlad eiddigus yn cael eu cynhyrfu rhwng cymydogion caredig—meistri a gweision yn ymbellhâu y naill oddiwrth y llall, a'u drwgdybiaeth o'u gilydd yn ychwanegu. Mae yn anmhosibl i neb ond y rhai a ddygwyddodd fod yn y gweithfäoedd lle y cymerasant le, ddychymygu y fath alanastra a achlysurant. Barn ofnadwy! fflangell ddychrynllyd! trychineb brawychus! ydyw dau fis o *strike* mewn gwaith poblog. Yr ydym yn ddifloesgni yn eu condemnio yn yr iaith grefaf. Yr ydym mor hyf yn dyweyd yn erbyn y fath ddull o weithredu, am ein bod yn gwybod mai y gweithwyr eu hunain sydd yn dyoddef y golled fwyaf. Mae genym lawer iawn o enghreifftiau o hyn. Yn niwedd 1836 a dechreu 1837, bu sefyll allan ymysg nyddwyr Preston, pan y taflwyd 8,500 o bobl allan o waith. Parhäodd hyn dri mis, a chollodd y gweithwyr saith mil a deugain o bunnau yn yr amser. Trôdd ugain o ferched ieuainc yn buteiniaid er ennill eu bara, ac alltudiwyd dwy o honynt am ladrad. Bu tri pherson, o leiaf, farw o newyn; a gwerthwyd y rhan fwyaf o ddodrefn a gwisgoedd y gwahanol deuluoedd. Yr oedd gan driugain o'r gweithwyr £1,600 yn yr ariandŷ cynnilo, codwyd £900 o honynt yn y tri mis siomedig, a suddodd y rhan fwyaf o'r gweithwyr i ddyled. Bu ymrysonfa yn Glasgow, pan y collodd y gweithwyr bum can' mil o bunnau. Oblegid y sefyll allan ymysg y gweithwyr y collodd Dublin y gwaith o adeiladu llongau, am yr hyn y telid pum can' mil yn flynyddol. Yn y sefyll allan a fu yn Preston yn 1853, costiodd i'r meistri ymhob dull rhwng £160,000 a 170,000; ac i'r gweithwyr (1,800 mewn rhifedi), £320,000. Mae yn anhawdd cyfrif y golled a dderbyniodd y masnachwyr; yr oedd o leiaf yn £30,000. At hyn rhaid ychwanegu eto y gwahanol ddosbarthiadau a ymddibynai ar y pleidiau yma; o leiaf, gellir eu cyfrif yn £15,000, fel nad oedd y golled arianol yn ddim llai na £550,000!!

Ac nid yw colledion uniongyrchol ond rhan fechan iawn o'r trueni cysylltiedig a'r drwg hwn. Yn Dowlais flynyddoedd yn ol, bu sefyll allan am

fisoedd; ac er nad oes genym wrth law ystadegaeth o'r colledion, gwyddom fod pob dosbarth yno wedi gorfod teimlo yn alaethus trwy yr amgylchiad. Yn ddiweddar, terfynodd ymrysonfa y glöwyr yn Aberdâr, wedi bod allan saith wythnos, ac yn y diwedd yn gorfod rhoddi i fyny i delerau y meistri; mae yno deuluoedd wedi eu hysigo yn y saith wythnos yna y bydd saith mlynedd yn rhy fyr i'w hunioni. Nid oes dim ymhellach oddiwrth ein meddwl na chyfiawnhâu y meistriaid; ond wedi y cwbl y mae yr afael grefaf ganddynt fynychaf; y maent mewn sefyllfa y mae yn anhawdd i'r gweithwyr fod yn llwyddiannus yn eu hymosodiad yn eu herbyn. Gan hyny, er ein bod yn credu fod gan y gweithiwr *hawl* i sefyll allan, yr ydym yn hollol argyhoeddedig na bydd defnyddio yr hawl hono yn un fantais; ac mai gwell fyddai iddynt fabwysiadu egwyddor yr ymadrodd hwnw, "Pob peth sydd gyfreithlawn i mi, ond nid yw pob peth yn llesâu." Rhaid i bob dyn mewn cymdeithas nid yn unig ymofyn pa beth y mae ganddo hawl arno, ond hefyd pa beth sydd yn briodol iddo. Ond os *myn* y gweithiwr arfer ei hawl, dylai gofio fod gan eraill eu hawliau. Os gall y meistr gael eraill a wna ei waith am y pris a gynnygio, mae ganddo hawl i'w cymeryd, ac nid oes hawl gan y dyn sydd yn gwthod gweithio i ymyraeth â'r dyn sydd yn dewis. Pwy a all attal dyn gonest i ennill ei fywioliaeth mewn ffordd onest? Gorfaeliaeth ydyw fod y gweithwyr yn bwgwth eraill am weithio, oblegid eu bod hwy yn dewis peidio; a'r un orfaeliaeth yn y meistri yw gommedd gwaith i ddyn am ei fod wedi gwrthod gweithio gyda meistr arall. Mae y drygau hyn oll yn cyfodi oddiwrth y cynghreiriau a ffurfir; pa un bynag y byddont ai ymysg gweithwyr ai ymysg y meistriaid, maent yn gadwynau am draed rhyddfasnachaeth. Ymwared annhraethol i fasnach a llafur fyddai, pe torid i fyny mewn un dydd undebau y gweithwyr a chynghreiriau y meistri. O'r ffynnonau hyn y tardd gormes gorfeistrolaeth a gorfaeliaeth y naill, ac aflonyddwch, anniddigrwydd, ac anesmwythder y lleill. Nid teg ydyw fod y gweithwyr yn gwrthod gweithio, os gollyngir i'r gwaith ddynion heb fod ynghylch eu hundeb hwy. Mewn llawer o bethau yn ol eu gallu y mae y gweithwyr yn llawn mor ormesol â'r meistri.

Ond gall fod rhywun meddylgar sydd wedi ein dilyn hyd yma, yn awyddus er ys meityn i ofyn y cwestiynau, Pwy sydd i benderfynu pan y byddo y meistr a'r gweithiwr wedi methu? Pa amddiffyn sydd gan y gwan rhag gormes y cryf? Ai ni ddylid sefydlu rhyw lys i apelio iddo pan nad allont hwy gyttuno? Ymbwylla, gyfaill hoff, a chynnygiwn gyfarfod dy gwestiynau, nid trwy gyfeiriad neillduol atynt bob yn un ac un, ond trwy osod i lawr rai o'r egwyddorion cyffredinol sydd yn rheoli masnach a chelfyddyd.

*Hunan les ydyw egwyddor ysgogol masnach.* Amcana pob un at ei fantais ei hun. Pa foneddwr erioed a roddodd ei filoedd allan mewn anturiaethau masnachol yn unig er llesâu eraill? Pa fasnachwr erioed a gododd faelfa mewn cymydogaeth yn unig o deimlad drostynt, am fod y masnachwyr eraill yn gorfaelu ac yn gormesu? Pa weithiwr erioed a welwyd yn codi yn fore, yn gweithio yn galed, heb ddim ganddo mewn golwg ond llesâd ei feistr? Na, y mae ymweliadau y fath orddyngarwyr yn anamlach ar y ddaear nag eiddo angelion yn weledig i ddynion. Dywedir weithiau, "Dylem fod yn ddiolchgar iawn i'r gwŷr mawr am roddi eu harian allan; gallasent eu cadw heb eu gwasgaru; ond pe gwnaethent hyny, beth

ddaethai o'r tlodion?" Na ddylem, na ddylem! rhodder y diolch i ryw awdurdod uwch sydd yn trefnu y byd a'i holl amgylchiadau. Eu mantais eu hunain sydd mewn golwg ganddynt hwy; ac oni bae hyny ni welsid ond ychydig o'u harian. Ac yn wir, pe clywem foneddwr, neu fasnachwr, neu weithiwr, yn hòni ei fod yn gwneyd y cwbl er mwyn eraill, ammheuem ei ddidwylledd yn y fan. Ymgodi uwchlaw egwyddorion ysgogol masnach fyddai hyny. Mae yn wir fod pob un i ofalu rhag sathru ar hawliau eraill, na gwneyd cam â'i gymydogion; ond, a chadw hyny mewn golwg, y rheol ddiogelaf i fasnach yn gyffredinol ydyw—i bob un ofalu beth sydd oreu iddo ef yn bersonol. Mae y gweithiwr i edrych allan am y cyflog goreu a allo gael, a'r meistr am y neb a wnelo ei waith yn oreu a rhataf. Mae y gweithiwr yn achwyn ar y meistr weithiau am na byddai mor barod i godi ei gyflog pan y mae masnach yn bywiogi ag oedd i ostwng ei gyflog pan oedd masnach yn arafu. Ond ar y gweithiwr y mae cadw ei lygaid yn agored i edrych ar hyny. Ac y mae yr enghreifftiau yn llawer amlach o'r meistri yn cynnyg codiad heb ei ofyn mewn amser o fywiogrwydd, nag sydd o'r gweithwyr yn cynnyg gostyngiad mewn adeg o farweidd-dra. Ac y mae llawn cymaint o resymoldeb i ddysgwyl i'r gweithwyr gynnyg gostyngiad ar amser drwg, ag sydd i'r meistri gynnyg codiad ar amser da. Rhaid i bob plaid edrych allan am ei mantais ei hun; a rhyngddynt, fe fantolir y gallu o'r ddau du.

*Mae pob un wrth amcanu at ei lesâd personol, yn effeithio llesâd cyffredinol.* Mae yr unigol a'r llïaws wedi eu cysylltu â'u gilydd yn y fath fodd fel nas gall dyn niweidio eraill heb niweidio ei hun, na llesâu ei hun heb lesâu eraill. Wrth amcanu at fantais bersonol, effeithir daioni cymdeithasol. Mae y masnachwyr yn prynu nwyddau o'r defnydd a'r lliw a farnont yn fwyaf cymeradwy gan y prynwyr. Maent ar eu goreu yn ceisio deall chwaeth eu cwsmeriaid. Nid gwaeth ganddynt pa un ai llin, ai gwlan, ai cotwm fyddo y defnydd; pa un ai gwyn ai du, ai coch ai glas fyddo y lliw, yn unig am y pasio yn gymeradwy gan y cwsmeriaid. Mae y masnachwr yna yn garedig iawn yn myfyrio anghen ei gwsmeriaid mor dda. Ha! nid ei garedigrwydd, ond ei gallineb ydyw; myfyrio ei fantais ei hun y mae; er fod eraill yn manteisio trwy hyny. Maent yn myned ymhell i brynu eu nwyddau mor isel ag y medront, er mwyn gallu eu gwerthu yn isel wedi hyny. Nid mantais y prynwyr sydd ganddynt hwy mewn golwg; ond nis gallant fanteisio eu hunain heb fod hyny yn fantais i eraill. Mae cydymryson mawr rhwng masnachwyr â'u gilydd—pob un yn gwerthu am yr isaf, a'r wlad yn medi y cynnyrch rhyngddynt. Nis gall dim sydd yn wir welliant mewn celfyddyd, a masnach, a gwladyddiaeth, effeithio er niwed i'r llïaws; a'r pethau hyny a ymddangosant ar yr olwg gyntaf yn gwasanaethu y naill ddosbarth, ac yn drygu dosbarthiadau eraill, a welir yn y pen draw yn cydwasanaethu pob dosbarth yn ddiwahaniaeth. Mae gwrthwynebiad mawr gan y gweithwyr mewn manau i ddygiad peiriannau i'r gweithfäoedd. Safwyd allan yn eu herbyn mewn parthau o Loegr. Yn Ashton, safodd y seiri allan am gyflog; ond yn ol eu cyfaddefiad hwy eu hunain, nid hyny oedd y prif achos. Yn y papyrau a gyhoeddwyd ganddynt, dywedent fod 102 o beiriannau ar waith, a bod pob peiriant yn gwneyd gwaith bron wyth o ddynion; a bod 812 o seiri yn llai yn anghenrheidiol oblegid hyny. Ond y mae y cynnydd ychwanegol sydd wedi bod mewn llafur yn dangos nad allesid byth gael digon o ddynion i wneyd y gwaith. Daeth i

fewn i'r Deyrnas Gyfunol yn y flwyddyn 1850, ddwy filiwn, pedwar ugain a deg o filoedd, naw cant a phedwar ar ddeg o lwythi o goed, pan na ddaeth yn 1842, ond pum cant a saith ar hugain o filoedd, tri chant a saith ar hugain. Ac oni buasai dygiad peiriannau i mewn, buasai yn anmhosibl cael digon o ddwylaw i wneyd y gwaith. Camsyniad ydyw tybied fod dygiad peiriannau yn wir 'niwed i'r gweithiwr. Mae cyflogau wedi ychwanegu yn y lleoedd hyny y maent yn fwyaf arferedig. Yn *Lancashire,* a'r *West Riding* o *Yorkshire,* y mae peiriannau mewn mwyaf o ymarferiad o un parth o'r deyrnas; yno hefyd y mae cyflogau y gweithwyr yn uwch nag mewn un parth arall. Gosoded dynion eu galluoedd ar waith i ddyfeisio pa fodd y gwneir mwyaf o waith am leiaf o arian, a bydd hyny yn sicr o droi yn fantais i'r llïaws yn y diwedd. Ac nid yw gwelliant celfyddyd mewn un modd yn gwneyd fod dynion ac anifeiliaid yn llai anghenrheidiol. Mewn cwm poblogaidd yn Morganwg, lle y mae toraeth o fŵnau, arferid gynt gymeryd y glô tua y porthladd agosaf yn bŷnau ceffylau; un dyn ar ol rhyw bedwar neu bump o geffylau, yn eu gyru ar hyd heolydd culion. Ymhen amser, gwnaed yno ffordd dda, a chymerid tunnell o lô mewn trol ar ol un ceffyl. Aeth yr hen dyddynwyr i ddechreu cwyno nad oedd fawr gwerth magu ceffylau, gan fod un yn tynu tunnell ar ei ol. Ymhen amser drachefn, soniwyd am agor camlas trwy y cwm, a dywedid ar ol ei gael yn barod y cymerai un ceffyl bedair tunnell ar hugain ar ei ol! Gwarchod pawb! dyma hi ar ben, ni bydd llôg ar ddyn na phris ar anifail. Ond, aroswch! dyma reilffordd yn cael ei hagor; a'r "ceffyl tân" ar hyd-ddi yn tynu ar ei ol bum cant o dunnelli dan chwibianu. A pha beth yw y canlyniad? A oes dim gwaith i ddynion? A oes dim gwerth ar anifeiliaid? Y ffaith ydyw, na bu y galw am ddynion erioed yn fwy yno, na'r pris ar anifeiliaid erioed yn uwch. Mae darganfyddiadau celfyddyd yn gosod gwerth ychwanegol ar lafur dwylaw, ac yn gwneyd dynion ac anifeiliaid yn fwy anghenrheidiol. Mae pob celfyddydwr, masnachwr, a boneddwr, wrth wneyd yr hyn a farna oreu ar ei les ei hun, yn ddiarwybod iddo ei hun yn gwneyd hefyd yr hyn fydd yn fwyaf llesol i gymdeithas; cyhyd, cofier, y gweithredo heb sathru ar iawnderau eraill. Eto—

*Mae llesâd y llïaws yn cael ei gyrhaedd yn fwy effeithiol trwy i bob un ofalu am ei fantais bersonol, na phe gosodasid lles eraill yn nôd.* Mae rhagluniaeth wedi cyd-wau amgylchiadau cymdeithas yn y fath fodd, fel y mae pob un wrth wneyd y goreu drosto ei hun, yn gwneyd 'daioni i eraill yn effeithiolach nag y gallesid yr un ffordd arall. Nid oes un pwyllgor a all reoli amgylchiadau cymdeithas. Dyrysai ymenyddiau y dynion callaf pe cynnygient ei wneyd; canys tra y gofelid am un dosbarth, esgeulusid y dosbarthiadau eraill. Ond gan fod ymhob un ryw reddf i ofalu am dano ei hun, cynnyrchir lles y llïaws yn rhwydd a didrafferth. Rhaid i gymdeithas, gan hyny, drefnu ei hun yn ol yr amgylchiadau y byddo ynddynt, heb ymostwng i benderfyniadau unrhyw gynghor. Ynfydrwydd hollol ydyw y drychfeddwl Siartaidd o sefydlu senedd llafur, i reoleiddio cyflogau. Pa reoleiddio a wnai—pe sefydlid hi? Nis gallai orfodi y meistr i roddi pris ond yn ol y farchnad, na gorfodi y gweithiwr i weithio am lai nag a allai gael. Byddai raid i'r senedd yma drefnu cyflogau wrth ryw reol; ac nid oes un reol deg, gyfiawn, ond myned yn ol pris y farchnad; ac yna, disgynid i'r un man ag y mae yn awr. Unig amddiffyn y gweithiwr ydyw fod yn rhaid i'r meistr wrtho. Pe gallai wneyd hebddo,

nid yw yn debyg y talai gyflog iddo. Ac os tybia y gweithwyr fod y meistri yn ormesol arnynt, y peth effeithiolaf a allent wneyd i ddwyn y meistri i'w lle, fyddai hwylio drosodd yn fynteioedd i America neu Awstralia, lle y ceir digon o waith, a thâl da am ei wneyd. Mae gwledydd ëang yn y byd lle na sangodd troed dyn arnynt; ac yn hytrach nag ymryson a dadleu yn ddiddiwedd â'u meistri, byddai yn llawer gwell i'r gweithwyr gyfrwyo y weilgi, ac ymfudo iddynt. Mae prinder dynion, fel pobpeth arall, yn codi eu gwerth. Yr unig beth a allant ofyn oddiwrth unrhyw allu allanol ydyw, ar i'r llywodraeth ffurfio a gweinyddu cyfreithiau fyddo yn noddi pawb o'r deiliaid yn ddiwahaniaeth,—cael ein "llywodraethwyr yn heddychol, a'n trethwyr yn gyfiawn." Ac i'r meistri a'r gweithwyr gofio y rheol euraidd, "Pa beth bynag a ewyllysioch eu gwneuthur o ddynion i chwi, felly gwnewch chwithau iddynt hwy."

Bellach, brysiwn rhagom i ddyweyd ychydig eiriau ar ddyledswyddau y pleidiau. Mae gagendor yn awr rhyngddynt. Rhaid iddynt ddyfod yn nês at eu gilydd, ac i'r naill roddi parch priodol i'r llall. Nid oes dim gwahaniaeth naturiol rhwng y ddau. Mae y gweithiwr yn ddyn; nid yw y meistr yn ddim ond dyn. Y gwahaniaeth rhyngddynt a wnaed gan amgylchiadau. Ond pan y byddo achos o ddadl rhyngddynt, mae yn iawn i'r meistri roddi sylw a gwrandawiad i'w cenadwri, ac ymddyddan â hwy yn garedig fel rhai yn teimlo dyddordeb yn eu hamgylchiadau. Ond yn lle hyny, y mae y meistri yn rhy fynych yn ymddwyn yn drahâus atynt, gan eu dibrisio hwy a'u neges. Ac yn aml iawn y mae rhyw fân stiwardiaid yn gasach na'u meistri. Rhaid dynesu i bresennoldeb rhyw grechyn o stiward fel pe dynesech ger bron un o ormeswyr y Cyfandir. A phaham y sonir am greulondeb y caethfeistri yn America at eu caethion? mae eu cynddrwg mewn llawer gwaith yn Nghymru, ond fod y gadwyn yn ferach. Edrychir ar y tlawd yn ei garpiau yn ddiddysg a diystyr; ei fywyd yn cael ei hynodi gan flinder ac anesmwythder; cylchynir ef gan elfenau sydd yn pruddhâu ei feddwl, yn gormesu ei ysbryd, ac yn cadwyno ei weithrediadau; gan beri iddo edrych arno ei hun fel crëadur israddol, heb un annogaeth i hunanwelliant, ond gweithio ymlaen ar ffordd arw ei fodoliaeth yn fwy fel anifail nag fel crëadur cyfrifol. Onid felly yn rhy fynych yr edrych y meistr arno? Ond y mae yn ddyn. Ac y mae ei wasanaeth yn bwysig i'r wladwriaeth. Y brif olwyn yn mheiriant cymdeithas ydyw y gweithiwr; hebddo safai y cwbl. Mewn cymydogaeth adnabyddus i ni y mae arwydd uwchben drws tafarndŷ, a elwir "*The four alls.*" Mae y brenin yno yn ei rwysg breninol, ac odditano y mae, "*I govern all.*" Yn ei ymyl y mae yr esgob yno yn ei feitr a chyda ei lewys llydain, ac odditano, "*I pray for all.*" Mae y milwr yno yn ei arfogaeth rhyfel, ac odditano ef, "*I fight for all.*" Ac y mae yr hen ffarmwr yno yn ei wisg syml, ac odditano yntau, "*I pay for all.*" Buasem yn hoffi ychwanegu un arall—y gweithiwr, ac ysgrifenu odditano ef, "*I work for all.*" Ac os na bydd y cymydogion yn teimlo yn foddlawn i'w newid i "*five alls,*" nid oes genym ddim gwrthwynebiad i droi allan yr hawddaf ei hebgor o'r pedwar sydd (barned y darllenydd pa un yw hwnw), i gael lle i osod y gweithiwr i mewn. Efe ydyw y golofn fawr mewn cymdeithas. Ni ddylid dirmygu y dwylaw cyrniog; rhaid i lawer llaw fod yn gyrnig i gadw un yn gànaidd. Dylai llafur y gweithiwr gael ei brisio fel elfen hanfodol llwyddiant gwladol. Ymhob argymeriad amaethyddol, celfyddydol, neu fŵnol, llafur y gweithiwr

sydd i gael ei ystyried gyntaf. Dyna dyddyn i'w osod; mae yr argymerwr yn myned at y perchenog i gyttuno am dano; dylai y gweithiwr sydd i'w llafurio gael ei gynnrychioli yno, oblegid y peth cyntaf i'w ystyried ydyw gwerth y llafur i'w wrteithio; cofier fod yr hwn sydd yn troi yr olwyn i gael ei ddigolledu yn gyntaf. Mae yr argymerwr hefyd i gael llôg ei arian a gwobr ei lafur; a'r gweddill, wedi talu y ddau yna, ddylai fod yr ardreth. Ac os na bydd gweddill, ni ddylai fod ardreth. Os ydyw y tyddyn mor wael, fel mai yr eithaf a wna ydyw talu am ei lafurio, ni ddylai fod ardreth arno. Ac y mae cannoedd o fân dyddynod yn Nghymru, am y rhai y gellir dyweyd mai digon prin y talent, a'u cael am ddim; ond erbyn fod ardrethi uchel arnynt, mae naill ai y tyddynwr, neu y rhai sydd dano, yn gorfod goddef caledi mawr i allu talu am danynt. Gwelsom ddynion cryfion, iachus, yn gorfod gweithio am saith geiniog y dydd a'u bwyd. Ac eto yr oedd yn well ganddynt wasgu yno mewn tlodi na throi allan i'r byd i geisio gwella eu hunain. Nid ydym yn beio tirfeddiannwyr am osod eu tiroedd i'r neb a gynnygio fwyaf iddynt am danynt, nac yn beio y meistri am roddi y fath gyflogau isel i'w gweision, os ydynt yn foddlawn iddynt; ond yr ydym yn eu beio o eisieu rhoddi iddynt y parch, a dangos tuag atynt y caredigrwydd hwnw, y mae ganddynt ar dir cydraddoliaeth naturiol hawl ynddo. Rhaid i lafur y gweithiwr gael ei brisio, ei deimladau eu parchu, a'i ddynoliaeth ei chydnabod.

Ond wedi y cwbl a ellir ddywedyd am ddyledswyddau y meistri at y gweithwyr, credwn yn y diwedd fod dyrchafiad y dosbarth gweithiol ar eu dwylaw eu hunain. Mae yr arferion yr ymlynant wrthynt yn gadwynau am eu traed nas gallant ymgodi heb ymryddhâu o honynt. Gwyddom fod anhawsderau allanol. Nid ydym yn cau ein llygaid rhagddynt, ac ni fynem ar un cyfrif eu hesgusodi; ond nid cyfreithiau pleidiol—nid gormes weithfäol—nid cam drefn fasnachol—ydyw yr attalfëydd mwyaf i ddyrchafiad y dosbarth gweithiol; ond eu harferion personol. Heb ymroddiad a diwydrwydd gyda eu gorchwylion bydol—heb gynnildeb a gofal am yr arian a ennillant—heb drefnusrwydd a darbodaeth yn eu hamgylchiadau—heb bwyll a barn yn ffurfiad cysylltiadau bywyd—heb sobrwydd a gochelgarwch yn eu harferion personol—ac heb wrteithiad ac addysg briodol i'r meddwl,—y mae yn anmhosibl ymgodi beth bynag fyddo yr amgylchiadau allanol; ond trwy weithio allan yr egwyddorion yna, gellir ymgodi dan yr amgylchiadau allanol mwyaf anffafriol. Mae miloedd wedi gwneyd, a miloedd yn gwneyd.

"Yn ddiweddaf, frodyr, pa bethau bynag sydd wir, pa bethau bynag sydd onest, pa bethau bynag sydd gyfiawn, pa bethau bynag sydd bur, pa bethau bynag sydd hawddgar, pa bethau bynag sydd ganmoladwy, od oes dim rhinwedd, ac od oes dim clod, meddyliwch am y pethau hyn."

# GALARGAN.

Gerllaw i ywen werdd y llan
Mae f' anwyl un;
Yn gorwedd yn yr oerllyd fan,
Mewn marwol hûn:
Fy nghalon sy gan alar trwm,
Yn suddo ynof megys plwm,
O bob llawenydd wyf yn llwm—
Dyosgwyd fi:
Ochenaid ar ochenaid sydd
Yn esgyn o fy mynwes brudd,
A'm dagrau 'n treiglo nos a dydd
O'i herwydd hi!

Hiraethu am y Gwanwyn gwyrdd
*Bum* lawer gwaith,
Hiraethu am ei flodau fyrdd
A'u gwisgoedd braith;
Hiraethu am Fai i lenwi 'r llawr
A pheraroglau gwych eu gwawr,
Gan roi i'r awel beraidd sawr
Pan ar ei hynt:
Hiraethu am ganiadau mwyn
O gangau 'r coed a brig y llwyn,
Hiraethu am y siriol swyn
Y byddwn *gynt*.

Ond bythol, bythol, mwy na ddoed
Y Gwanwyn hardd,
I wisgo dail am gangau 'r coed,
A britho 'r ardd:
Na ddeued Mai mewn gwisgoedd gwiw,
I droedio 'r ddol na dringo 'r rhiw;
Na thardded blodyn llon ei liw,
Mewn unrhyw fan;
Na clywer ond galarus gŵyn
Oddiar delynau gwig a llwyn,
O herwydd mae f' anwylyd fwyn
Yn llwch y Llan!

O anian! gwisga mwy hyd lawr
Alarwisg ddu;
O boed dy wedd bob mynyd awr
Yn drist a thru:

O cyd-dywalltwn ddagrau 'n lli,—
Y fun mor fawr a garwn i
Oedd dy ogoniant penaf di,
A'th goron gun:
Ar bared llwyd fy meddwl prudd
Ei harlun hardd yn hongian sydd;
Yn anghof genyf byth ni bydd
Fy anwyl un.

Glân fel y lili ydoedd grudd
Fy anwyl un;
A llon ei threm fel gwawr y dydd;
O f' anwyl un!
Gwyleidd-dra pur, addfwynder drud,
Pwyll, a challineb dwfn ynghyd,
A gydlewyrchent yn ei phryd
Fel haul prydnawn;
Teg golofn risial oedd, wrth fyw
Drwy 'i hoes, yn nghanol eglwys Dduw,
Ac arni Haul cyfiawnder gwiw
Lewyrchai 'n llawn.

Ond och! ond och! ni welaf mwy
Fy anwyl un,
Er dyfal dremio dan fy nghlwy'
Yn llesg fy llun;
Hêd fy ngruddfanau gyda 'r gwynt
Tra syllaf ar lle byddai gynt;
Mynega 'i lle, Hi aeth i hynt
Na ddaw yn ol!
Ah! nid yw taerni 'r fron ddi hedd,
A dwfn och'neidiau 'r trist ei wedd,
Yn nghlustiau ceidwad dorau 'r bedd,
Ond dadwrdd ffol.

Ffarwel am byth gysuron byd—
Ffarwel i chwi!
Yn alltud yn y fynwent fud;
Gadawsoch fi!
O'm cylch mae pawb yn llawn o nwyf—
Ond mi, truenus adyn wyf,
Yn ocheneidio dan fy nghlwyf,
Yn fawr fy ngloes:
Fy meddwl hêd o dwrw dyn
I gangau 'r ywen hen ei llun,
I bruddfyfyrio wrtho 'i hun
Ar drallod oes.

Oddiar fy nghlyw byth, byth, nid aeth
Llais cloch y Llan;

O na! ei chlul sy fel y saeth
I'm calon wan:
Y mae ei chlul yn dwyn fy hedd,
Y mae ei chlul yn gwywo 'm gwedd,
A'i chlul a glywir uwch fy medd,
Yn fuan iawn;
I'r sawl a'i cais boed mwyniant byd,
Ei uchel fri i'r balch ei fryd,
I minnau 'r gwan dihoen, fy hyd
O'r fynwent lawn!

Wyf wedi blino 'n llwyr o dan
Fy nirfawr bwn;
I'w roi i lawr nid oes un man
Ond bedd, mi wn;
Croesaw, croesaw, anwyl ddydd,
Croesaw, croesaw, ywen brudd;
Croesaw, croesaw, feddrod cudd,
A'th felus hun;
Nid wy 'n dymuno mwyach fyw,
Ond fy nymuniad unig yw,
Cael "marw a'm pwys ar ras fy Nuw"
Fel f' anwyl un.

---

# GWYR IEUAINC LLANLLENORION.

## Y BENNOD GYNTAF.

Yr oedd yn arferiad gan feirdd yr oesoedd gynt, ac y mae yn un o brif ffoleddau beirdd yr oes bresennol, wrth ddechreu eu cyfansoddiadau, alw yr awen i'w cynnorthwyo. Yr ydym bron ag edifarhâu hefyd am restru yr arferiad ymysg ffoleddau ein beirdd, o herwydd nid ydyw yn ddim amgen na phrawf o'u gostyngeiddrwydd, a'u teimlad o'u hamddifadrwydd o'r awen; gan mai ynfyd ydyw i ddyn alw am yr hyn sydd eisoes yn ei feddiant. Yr oedd Byron am gydffurfio â'r arferiad, pan ddywedai,—

"Hail muse, etcetera. We left Don Juan sleeping."

Y mae arferiad gyffelyb o ran cyffredinolrwydd wedi dyfod i gyfansoddiadau o'r fath ag ydyw yr hanes a fwriadwn roddi am wŷr ieuainc Llanllenorion, sef dechreu trwy ddywedyd, "Yr oedd yn brydnawn hyfryd yn

Mehefin, &c.," neu "Mewn dyffryn tlws ar lânau, &c." Ond, gan nad ydym ni ar hyn o bryd yn meddwl ymgystadleu â ffughaneswyr, gadawn heibio y dull arferedig ac ystrydebedig ganddynt trwy adael allan lawer o fanylion perthynol i'r lle ac i'r amser y dygwyddodd yr hyn a gynnwysa yr hanes hwn. Ein rheswm dros adael allan y ddau ydyw, — pe rhoddem yr *amser*, dysgwylid i ni hefyd ddarlunio y *lle* i fanylrwydd, yr hyn nis gallem ei wneuthur heb fod yn dra phersonol; o herwydd wedi cael allan y lle, yn fuan y ceid allan y personau; ac y mae genym cyn ffarwelio â'r darllenydd rai dadguddiadau i'w gwneuthur na fyddent, pe cyhoeddid hwy, o un anrhydedd i rai sydd heddyw yn nhir anghof, nac o un cysur i'r rhai a adawsant ar eu holau. Felly, yr oll a ddywedwn am y lle ydyw, mai tref ganolig o ran maint ydyw Llanllenorion, a bod yr oll a adroddir yn yr hanes hwn wedi cymeryd lle o fewn y ganrif hon. Yn wir, gallem ddyfod yn nês at y presennol; nid yw yr hynaf o'r cymeriadau a ddygir allan fel arwyr yn yr hanes hwn nemawr dros ddeugain oed.

Gan nad ydym yn bwriadu gorphen yr hanes hwn yn ein rhifyn presennol, ond y cawn (os Duw a'i myn), bedwar tymmor y flwyddyn hon i draethu hanes "Gwŷr ieuainc Llanllenorion,"—eu haniad—eu dygiad i fyny—eu perthynas lênyddol â'u gilydd yn nyddiau ieuenctyd—eu gwasgariad i wahanol leoedd, sefyllfaoedd, gwledydd, ac yn wir, rai o honynt i fyd gwahanol, ni wnawn y tro cyntaf hwn nemawr ond eu henwi, a dywedyd rhyw ychydig bethau mewn perthynas i'w gwahanol sefyllfaoedd, a'u cymeriadau.

Cyn i ni fyned ymhellach, rhaid i ni gael dywedyd fod yn Llanllenorion un enwad crefyddol yn sefyll uwchlaw pob enwad arall mewn lliosogrwydd a dylanwad. Yr oedd y pedwar enwad sydd yn gyffredin ymhob tref yn Nghymru yn meddu eu hymlynwyr brwdfrydig yn y dref, a mynych iawn yn ngweithdai y dref y clywid profion o zêl y naill enwad a'r llall dros eu gwahanol opiniynau a'u gwahanol weinidogion, yn y dadleuon brwd a gymerent le ar wahanol amserau, yn enwedig ar fore dydd Llun, pan y byddai pob un wedi bod yn ei gapel ei hun, yn gwrandaw ei "farn" ei hun yn cael ei hamddiffyn gan ei weinidog ei hun; a chan nad oedd llawer o hwyl gweithio arnynt fore Llun, byddent yn gyffredin yn cysegru y rhan foreuol o'r dydd hwnw, fel attodiad i'r Sabboth, i ddadleu pynciau crefyddol. Yr oedd "etholedigaeth," a "marw dros bawb," "pechod gwreiddiol," a "chwymp oddiwrth ras," "Ffwleriaeth," a "phwnc y bedydd," yn dyfod dan sylw duwinyddion carpiog Llanllenorion; ac yn wir, chwareu teg iddynt, buasai rhai o honynt yn wrthwynebwyr i'w hofni, hyd yn nôd gan ddynion dysgedig, ar rai o'r pynciau yna. Y mae yn wir y byddent weithiau yn dangos mwy o deimlad nag o ddoethineb yn eu dadleuon; ac nid ydym yn ammheu nad oedd cael y gair olaf yn y ddadl yn fwy peth ar feddyliau llawer o honynt, na chael allan y gwirionedd ar y pwnc. Yr ydym yn cofio un yn dadleu mor zelog ar fedydd dwfr, fel y tynodd waed o ffroenau ei wrthwynebydd i brofi ei bwnc, ac ni feiddiodd hwnw mwyach ymgystadleu mewn dadl â dyn a ddygai y fath resymau nerthol a tharawiadol dros ei athrawiaeth, yr hyn a ystyriwn yn rhagocheliad doeth iawn; oblegid nid yn fynych y gwelir yn yr oes hon ddynion yn foddlawn i golli gwaed yn achos eu hopiniynau. Pa fodd bynag, er yr holl wahanol farnau hyn, ac er yr holl zel a amlygid o'u plaid gan eu gwahanol arddelwyr, yr oedd un blaid grefyddol yn dyrchafu ei phen uwchlaw y lleill i gyd. Yr

achos ein bod yn awr hyn ydyw, fod yr holl "wŷr ieuainc" a ddygwn i mewn fel ein harwyr yn perthyn i'r blaid hono; ni ddalient gysylltiad cyfeillgar âg ieuenctyd unrhyw blaid arall; nid oedd dim "cyfeillach rhwng yr Iuddewon a'r Samariaid" yn Llanllenorion. Ond y mae llawer o gyfnewidiad wedi cymeryd lle yn Nghymru er yr amser hwnw, pan oeddid yn dadleu yn ddidor ar Arminiaeth a Chalfiniaeth, yr hen *system* a'r *system* newydd, taenelliad a throchiad. Yr ydys wedi dysgu cyttuno i wahaniaethu mewn barn, ac i ddywedyd fel un hen Gymro ar ddiwedd dadl frwd, yr hon sydd eto heb ei phenderfynu, "Wel, 'machgen i, meddwl di fel yna, mi feddylia innau fel hyn, a gâd i ni fod yn ffrindiau."

Yr oedd gwŷr ieuainc Llanllenorion bron i gyd yn blant i rieni crefyddol, ac yr oedd eu rhieni hefyd yn grefyddwyr o'r iawn ryw. Yr oedd rhai o honynt yn blant i rai a deimlasant nerthoedd argyhoeddiadau Ysbryd Duw, y rhai a deimlid yn nyddiau boreuol John Elias, Michael Roberts, Williams o'r Wern, Christmas Evans, ac eraill; ac yr oedd rhai o honynt hefyd yn ŵyrion i rai o ddychweledigion dyddiau Daniel Rowlands, a Howel Harris, ac a fuont yn myned i Langeitho ar y Sabboth cymundeb i wrando hyawdledd eneiniedig Rowlands, ac i gofio am angeu y groes. O hen seintiau anwyl! y mae ein calon yn cynhesu wrth gofio am danoch! Rhai felly ydoedd rhieni a theidiau a neiniau rhai o fechgyn Llanllenorion. Ond y mae llawer o honynt yn huno, "a chyfododd oes arall ar eu hol hwynt," am lawer o ba rai y gellir ychwanegu, "y rhai nid adwaenent yr Arglwydd, na'i weithredoedd nerthol ef yn Israel;" tra y mae eraill fel Timothëus, yr hwn a feddai y "ffydd ddiffuant, yr hon oedd yn ei fam Eunice, ac yn ei nain Löis."

Gan fod ein harwyr, trwy eu rhieni, yn dal y fath gysylltiad allanol â chrefydd, a bod eu rhieni yn gwisgo y fath gymeriad rhagorol,—naturiol ydyw dysgwyl eu bod hwythau wedi cael holl fanteision crefydd deuluaidd, ynghyd â chyfleusderau cyhoeddus i ddyfod i wybodaeth o grefydd. Ac felly y bu. Addysgwyd y rhan fwyaf o honynt mewn ysgol ddyddiol, yr hon a gedwid gan bregethwr ymroddedig, yr hwn, gyda dysgu darllen, ysgrifenu, grammadeg, rhifyddiaeth, &c., iddynt, a arferai bob moddion i wneuthur argraffiadau crefyddol ar eu meddyliau. Yr oedd yr eglwys i ba un y perthynai eu rhieni hefyd yn dra gofalus am danynt. Pan oeddynt yn blant bychain, neillduid noson o bob wythnos i'w hegwyddori, yr hyn a ddygid ymlaen gan un o weinidogion, pregethwyr, blaenoriaid, neu un o aelodau hynaf a mwyaf profiadol yr eglwys. Pan ddaethant yn fechgyn, ymddyddenid â hwy yn fynych ar nos Sabbothau, yn y cyfarfodydd eglwysig, pan fyddai yr holl eglwys yn bresennol. Gwylid a bugeilid hwy, nid yn unig gan eu rhieni, ond hefyd gan swyddogion ac aelodau yr eglwys hono, gan ddysgwyl mai hwy fyddai yn codi mewn amser dyfodol i lenwi y bylchau a wneid gan angeu yn y ddeadell hono o braidd Crist.

Oddeutu deugain mlynedd yn ol, bu cyfnod newydd ar Gymru. Yr oedd y cyffröad mawr a ddeffrödd y wlad o'r cysgadrwydd ofnadwy hwnw i ba un yr oedd wedi ymollwng ar ol y diwygiad Protestanaidd, ac ymha un yr oedd wedi gorwedd am amser maith heb ei haflonyddu—yr oedd y cyffröad mawr hwnw, meddwn, a gynhyrfodd holl Gymru benbaladr, ac i'r hwn y mae Cymru yn ddyledus am ei chapeli, ei Hysgolion Sabbothol, ac yn wir, yr agwedd bresennol sydd arni,—yr oedd hwnw wedi myned heibio, ac yr oedd nerthoedd ysgydwol y diwygiad hwnw wedi llonyddu. Yr

oedd cenedl yn cyfodi a fagwyd dan esgyll Ymneillduaeth,—a ddygwyd i fyny yn holl fanteision yr Ysgolion Sabbothol a gweinidogaeth oleuedig ac efengylaidd; ac nis gallesid dysgwyl eu bod hwy, hyd yn nôd y rhai ailanedig o honynt wedi myned trwy yr un cynhyrfiadau â'u rhieni, ac fe allai, fod yn rhaid dywedyd mai ychydig o honynt a feddent yr un ysbrydolrwydd crefyddol ag a nodweddai eu tadau a'u teidiau. Crefydd oedd pob peth oedd gan yr hen bobl; y Bibl ydoedd, nid yn unig eu prif, ond bron eu hunig lyfr; y capel oedd eu hunig gynnullfan, ac edrychent gyda gradd o ddrwgdybiaeth ar unrhyw lyfr a gyhoeddid, os na fyddai yn dwyn arno ryw enw Puritanaidd a gymeradwyid ac a grybwyllid yn fynych gan eu hoff bregethwyr, ac edrychent gyda gradd o ofn ar unrhyw gynnulliad heblaw i addoli Duw. Yn awr, nis gellid dysgwyl fod eu plant, hyd yn nôd y rhai goreu o honynt, yn hollol yr un fath â'r hen bobl yn hyn. Wedi y wawr a lewyrchodd ar grefydd yn Nghymru, ni bu gwawr ar ei llênyddiaeth yn hir heb wneuthur ei hymddangosiad; ac yr oedd yn naturiol i'r olaf effeithio rhywfaint ar yr oes a fagwyd o dan ei llewyrch. Ofer ydoedd dysgwyl i'r rhai y gwelodd eu llygaid lewyrch "Seren Gomer," ac i'r rhai fu yn rhodio dan belydrau "Goleuad Cymru," ac i'r rhai a fu yn cyfranogi o gyfoeth y "Drysorfa," ac yn eistedd wrth draed y "Dysgedydd," fod yn gwbl yr un fath â'r rhai a ddygwyd i fyny yn Nghymru yn yr oes flaenorol, pryd yr oedd ymddangosiad llyfr newydd yn cael edrych arno fel comed, gan mor anfynych y dygwyddai y fath beth.

Bu cyffröad mawr iawn yn y cyfnod y cyfeiriwyd ato dros "goledd yr iaith Gymreig," dros "ddefion ein cenedl," yr hwn a esgorodd ar "Gymdeithasau" dirif o "Gymreigyddion;" daeth y "Beirdd" i fri ac anrhydedd; ac yn ngwyliau y sefydliadau gwladgarol a thrystfawr hyn, dyrnid byrddau, a tharenid â'r traed ar loriau ystafelloedd tafarnau, tra y llyncid barilau o "gwrw da," fel y dywedent, a'r cwbl i gyd am eu bod yn dymuno "Oes y byd i'r Iaith Gymraeg." Bu yr holl bethau hyn yn foddion i droi meddyliau lliaws mawr o ieuenctyd Cymru at llênyddiaeth. Wrth ymuno â Chymdeithasau Cymreigyddol, a chymdeithasau â beirdd lleithion, diau y dinystriwyd llawer o honynt—gymeriadau ac amgylchiadau, gyrff ac eneidiau; ac yn gweled hyn, aeth yr hen dduwiolion, yn eu gofal, i edrych yn gilwgus ar y cyfryw sefydliadau, ac i wahardd i'w plant fyned iddynt. Gall llawer un edrych yn ddirmygus arnynt am hyny, a'u galw yn bethau culion a rhagfarnllyd; ond yn ein byw nis gallwn ni wneuthur hyny, a dyweder a fyner, hen bobl dda oeddynt, a'u daioni a barai iddynt edrych ar y cynnulliadau crybwylledig gyda y fath ddrwgdybiaeth; a phrif elynion a niweidwyr y sefydliadau hyny oedd y rhai hyny a'u dianrhydeddent trwy eu camymddygiadau eu hunain. Chwareu teg i'r hen bobl, os oeddynt yn camgymeryd mewn llawer o bethau, byddent yn camgymeryd ar yr ochr ddiogelaf. Yr oedd hyd yn nôd eu beiau yn gynnwysedig mewn gormodedd o ryw rinweddau.

Tua yr amser yr oedd ein harwyr yn dyfod o ddyddiau maboed i ddyddiau ieuenctyd, yr oedd y Cymdeithasau Cymreigyddol mewn bri mawr; ond yr oeddynt yn dechreu colli eu cymeradwyaeth gyda dynion crefyddol; a phan y daeth Dirwest fel llifeiriant dros y wlad, ysgubodd ymaith lïaws o'r cymdeithasau hyn, heb ddileu yr ysbryd llênyddol a nodweddai Gymru Ieuanc. (Efelychiad, ni a addefwn i ti, ddarllenydd, o *Young England.*) Yna ymffurfiai yr ieuenctyd yn wahanol gymdeithasau dan enwau eraill.

Aeth yr enw "Cymdeithas Gymreigyddion," ac "Eisteddfod" allan o fri bron yn hollol; a gelwid y sefydliadau newyddion hyn wrth yr enwau, "Cymdeithas Lênyddol," "Cymdeithas y Gwŷr Ieuainc," a phriododd rhai yr hen enw â Dirwest, gan alw eu hunain yn "Gymreigyddion Dirwestol," "Cymrodorion Dirwestol," ac o'r sefydliadau hyn y mae rhai yn aros hyd y dydd hwn, a rhai wedi diflanu. Y mae amledd y sefydliadau hyn, pa fodd bynag, yn un o brif nodweddion yr oes hon yn Nghymru; y mae yn hyfryd gweled cymoedd bychain rhwng mynyddau Cymru, ac agenau bychain yn ei chreigiau, yn gallu ymffrostio o'u cymdeithasau llênyddol, a'u cyfarfodydd cystadleuol, lle y gwelir lliaws, ïe o'r dosbarth gweithiol, yn cael annogaethau a chymhelliadau mewn gwobrau i ddiwyllio eu meddyliau, ac i gynnyrchu cyfansoddiadau, y rhai yn fynych a barant i rai o raddau uwch mewn cymdeithas synu, a gofyn uwchben traethawd, neu awdl, neu bryddest, neu dôn ambell fachgen tlawd, "Pa fodd y medr hwn ddysgeidiaeth, ac yntau heb ddysgu?" Gynt yr oedd darllenwyr Cymru yn hollol gydnabyddus âg enwau a ffugenwau pob ysgrifenydd yn Nghymru; ac os dygwyddai rhywun newydd wneuthur ei ymddangosiad yn un o'r cyhoeddiadau, mawr fyddai yr holi a'r dyfalu pwy fyddai y gŵr gobeithiol. Ond yn awr y mae cenedlaeth "Ieuan," "Dewi," "Gomer," "Llewelyn," "Iago," &c., &c., yn heigio drwy Gymru oll, o Aberdaron i Aberdâr, ac nid oes odid o gwm na glŷn trwy holl Wyllt Walia, nad oes yno ryw ddyn ieuanc yn llawenychu mewn ffugenw, ac yn anrhegu ei gydwladwyr âg ambell ddarn llênyddol, un ai yn ffurf traethawd, neu ar lun englyn. Pe buasai John Jones, Glanygors, yn fyw yn awr, gallasai ddywedyd gyda mwy o bwyslais nag erioed,

"O! faint o gyfnewid yn awr sydd yn Nghymru."

Ni bu gwŷr ieuainc Llanllenorion yn ol o ddilyn yr oes yn y peth hwn, ac ymaflasant yn y cyfleusdra o ymddattodiad hen Gymdeithas Gymreigyddion i ffurfio yn gymdeithas newydd; amcan proffesedig yr hon ydoedd diwyllio meddyliau, ac arfer talentau yn y modd tebycaf o ateb y dybenion goreu. Cawn yn awr fwrw golwg ar rai o'r bechgyn a gyfansoddent y gymdeithas hon.

Y cyntaf a ddaw dan ein sylw ydyw Walter Wyn. Mab ydoedd efe i rieni crefyddol, y rhai a welsent yn mlynyddoedd boreuaf Walter ddyddiau llwyddiannus iawn mewn masnach. Yr oeddynt wedi dechreu eu byd dan yr amgylchiadau mwyaf gobeithiol; a phan wnaeth Walter bach ei ymddangosiad yn y fuchedd hon, gallesid edrych arno fel un ag yr oedd rhagolygon da o'i flaen. Ond yr oedd un diffyg yn y teulu hwn. Yr oedd yn anhawdd iawn dywedyd ymha le yr oedd y diffyg hwnw; ond profai canlyniadau yn ddiwrthddadl ei fod yn rhywle. Yr oedd ganddynt ryw ffordd anweledig o fyned trwy eu harian. Pa fodd yr oeddynt yn myned oedd yn aros yn ddirgelwch. Nid oedd Mr. Wyn yn arfer yfed; ac os eid i'w tŷ, nid oedd dim arwyddion gwastraff i'w canfod ar un amser. Nid oeddynt yn gwisgo uwchlaw eu sefyllfa ychwaith. Ond er y cwbl, pa faint bynag o arian a ddeuai i mewn, yr oedd rhyw anghen yn eu llyncu yn ddioed, a pha fodd bynag y byddai masnach yn myned ymlaen, prinder arian a fyddai yn nhŷ rhieni Walter Wyn. Yr oedd rhai o'u cymydogion yn taflu "coeg eiriau lled gas" eu bod yn bwyta yn rhy dda; pan ddelai ychydig arian i mewn, nad oedd yno ddim ond rhostio a berwi, sleisio, a ffrïo, yn myned ymlaen ar bob pryd bwyd; a phwy bynag o'u cymydogion a ddy-

gwyddent ddyfod i mewn i'r tŷ ar yr adegau hyny, y gwahoddid hwy gan y garedig Mrs. Wyn i gyfranogi o'r arlwy. Nis gwyddom pa faint o wirionedd sydd yn hyn; ond hyn a wyddom, nid oedd dim arian a safai o flaen y teulu. Yr oedd rhyw duedd ynddynt i wario mewn rhyw ffordd neu gilydd yr hyn a ddelai i'w dwylaw, oblegid nis gallasent gadw arian mwy na phe buasent yn farwor tanllyd yn eu llosgi yn annyoddefol, ac fel pe buasai yn esmwythder mawr cael ymwared oddiwrthynt. Y mae tegwch â'r teulu yn galw am i ni ddywedyd eu bod yn rhai mwyn, tirion, a charedig iawn i bawb a ddelent ar eu gofyn am unrhyw gymwynas. Nid oedd neb a dorai dafell mor dew, nac a roddai yn fwy rhwydd i'r cardotyn na Mrs. Wyn. Yr oedd rhyw garedigrwydd beius yn treiddio drwy yr holl deulu o'r ddau du. Nid oedd dim ynddynt ond "llaeth tiriondeb dynol," heb ddim surni i'w wrthweithio. Y mae rhai teuluoedd mor sarug a digymwynas i bawb a phe byddai eu gwaed i gyd yn finegr, ond yr oedd teulu Wyn o Lanllenorion yn rhy amddifad o'r elfen hono. Y canlyniad o hyn oll fu i'r teulu caredig hwn fyned i ddyryswch yn eu hamgylchiadau; ac nid oedd dim ymwared i'w gael ond trwy *dori*. (Tori *i fyny* a ddywedir yn rhai o Siroedd Gwynedd.) Gall dyn mewn masnach wneuthur hyny wedi methu ymhob peth arall. Wedi methu cael modd i ddwyn ei fasnach ymlaen—wedi methu talu i'w ofynwyr—pan yn nghanol y benbleth, mewn "ing a chyfyng-gynghor," dyma wawr yn llewyrchu ar ei feddwl yn y gair bach hwn—*tori*. Y mae rhai pobl na fedrant yn eu byw gael ymwared o'u gofidiau yn y ffordd yma. Mae eu gofidiau yn pwyso arnynt o flwyddyn i flwyddyn, bron a'u llethu; ond y mae eu trallodau o'r fath natur fel nas gallant *dori*, ac y maent yn barod i lefain yn fynych, O gwyn fyd y bobl sydd yn gallu tori!

Ond i ddychwelyd at Mr. a Mrs. Wyn: torasant hwy mor anrhydeddus ag ydoedd modd o dan yr amgylchiadau. Nid oedd ganddynt drannoeth ar ol yr arwerthiad ddim wedi ei adael; cafodd y cwbl fyned. Ac yr oedd rhyw barchusrwydd yn perthyn iddynt drwy y cwbl. Er iddynt weled cyfnewidiadau mawrion, a theimlo cilddannedd pellaf y fuchedd hon, eto ymhen blynyddau ar ol hyny, pan nad oedd Mr. Wyn ond John Wyn, a Mrs. Wyn ond Anne Wyn, er nad oedd ganddynt er eu cynnal hwy a'u rhai bach ond yr hyn a ennillai y "deng ewin," cyferchid hwy gan eu hen weithwyr a'u hen wasanaethyddion fel "Meistr" a "Meistres" pa bryd bynag y cyfarfyddent â hwy. Yr oedd un peth arall teilwng o sylw ac efelychiad ynddynt—ymdrechasant er eu tlodi i gadw Walter yn yr ysgol, flynyddau yn hŵy nag y cedwid plant gweithwyr yn gyffredin, ac yr oedd yntau yn fachgen o'r fath ymddangosiad dyddorol, ac o'r fath feddwl bywiog, ac o'r fath dymher serchus, fel y buasai yn resyn ei dynu allan o'r ysgol yn gynt. Pan oddeutu un ar bymtheg oed, o herwydd na fedrai ei rieni ei gadw yn hŵy yn yr ysgol heb wneuthur cam â'r plant eraill, rhoddasant ef i ddysgu celfyddyd. Tua yr amser yma y ffurfiwyd cymdeithas gwŷr ieuainc Llanllenorion, ac yr oedd Walter yn un o'r rhai mwyaf brwdfrydig yn ei chychwyniad; ac ar ol hyny bu yn un o'i phrif addurniadau. Yr oedd dau neu dri o bethau yn Walter a ddenai sylw bob edrychydd. Yr oedd yn dra phrydweddol; yr oedd dealltwriaeth yn pelydru yn ei wynebpryd; ac yr oedd deuparth o serchogrwydd ei rieni wedi disgyn i'w ran yntau. Yr ydym wedi aros yn fwy gyda Walter nag y bwriadwn aros gydag un o'r lleill, oblegid fod yn dda nodedig genym am dano hyd y dydd hwn.

Y nesaf a ddaw dan ein sylw ydyw Goronwy Williams, yr hwn oedd fab i rieni mewn amgylchiadau tra llwyddiannus. Yr oedd ei fam ef a mam Walter yn gyfeillesau mynwesol er eu dyddiau ysgol; ac er i Mrs. Wyn ddisgyn mewn amgylchiadau bydol, tra na wnaeth Mrs. Williams ond esgyn, eto parhäodd y gyfeillach. Yr oedd holl elfenau gwir fenyw yn Mrs. Williams. Hyd yn nôd pan ydoedd ei phriod yn Faer y dref, elai hi i ymweled â Mrs. Wyn er tloted ei hannedd; eisteddai oriau yn nghwmni hen gyfeilles ei hieuenctyd, ac ymddyddanai â hi yn y fath fodd fel ag i beri iddi beidio teimlo dim o'r gwahaniaeth ag oedd rhwng eu sefyllfäoedd. Pan wnelai Mrs. Williams gymwynas i Mrs. Wyn, er ei chynnorthwyo i ymdrechu drwy anhawsderau bywyd, gwnai hyny bob amser yn y fath fodd ag i beidio clwyfo ei theimladau, canys ni byddai yn ei roddi yn ffurf elusen. Yr oedd tlodi a gofid Mrs. Wyn, mae yn wir, wedi ei dysgu i gymmodi â phethau garwaf y byd hwn; ond y fath ydoedd boneddigrwydd Mrs. Williams fel nas gallai oddef cynnyg yr ymddangosiad lleiaf o sarhâd i un a hoffai mor fawr, ac un y gwyddai fod ganddi deimladau coethedig un a fagesid yn dyner ac yn anwyl, ac a gawsai ddysgeidiaeth dda. Un o fil ydoedd Mrs. Williams. Yr oedd undeb cyffelyb rhwng Walter a Goronwy. Er yr holl wahaniaeth gwisg ac amgylchiadau oedd rhyngddynt, gwelid hwy gyda'u gilydd bron yn wastadol; ac yr oedd eu tymherau a'u dulliau yn gyffredinol mor gyfaddas i'w gilydd âg ydyw llaw a maneg. Rhoddai Goronwy fenthyg unrhyw lyfr i Walter yr hwn oedd yn analluog i brynu y rhai a ddymunai, tra yr oedd Goronwy yn cael yr un a fynai. Er y buasai yn well gan ei dad ei weled yn troi ei feddwl yn fwy at fasnach nag at lênyddiaeth, eto yr oedd Mrs. Williams yn hoffi rhoddi pob meithriniad i brif duedd ei hoffus fachgen Goronwy, ac nid oedd ei serch hi at Walter fel mab ei hen gyfeilles ac fel cyfaill ei mab ei hun, heblaw ei fod ef yn un hawddgar iawn ei hunan —yn syrthio nemawr yn fyr o gariad mam.

Un arall o wŷr ieuainc Llanllenorion ydoedd Aneurin Edwards. Mab i amaethwr ydoedd Aneurin, rhieni yr hwn oeddynt mewn amgylchiadau o'r fath ag a ddymunai Agur, heb ganddynt na chyfoeth na thlodi, ond "digonedd o fara." Er nad oedd Aneurin mor fynwesol gyda'r ddau flaenaf ag ydoedd y ddau hyny â'u gilydd, eto yr oeddynt ar delerau mor dda fel y gellid ystyried y tri yn gyfeillion arbenig. Yr adegau ar ba rai y cyfeillachent fwyaf ydoedd ar ol yr oedfäon hwyrol, pryd y byddai Walter a Goronwy yn myned i ddanfon Aneurin ran o'r ffordd adref. Yr oedd un peth neillduol mewn cysylltiad â hyn: yr oedd gan Aneurin chwaer brydferth iawn, ac yr oedd ei meddwl yn deilwng o'i hymddangosiad, ac yr oedd Walter yn rhyfeddu ynddo ei hun beth a allasai fod yr achos fod Goronwy bob tro y byddai Miss Edwards gyda'i brawd, yn estyn yr hebryngiad hyd at ddrws y tŷ. Mewn digrifwch, crybwyllodd y peth wrth Goronwy, yr hwn a wridodd hyd at fôn ei wallt, ac ni wnaeth yr un peth drachefn. Yr oedd Aneurin yn fachgen gobeithiol, wedi cael addysg gyffredin dda, ac yn dra ymofyngar am wybodaeth, yn enwedig gwybodaeth dduwinyddol.

Y nesaf ar lyfr cymdeithas y gwŷr ieuainc hyn ydoedd Tudur Owen. Bachgen o'r dosbeirth gweithiol ydoedd ef, a phinacl ei uchelgais ydoedd bod yn fardd. Yr ydym yn cofio Tudur yn ymboeni yn ngair ac athrawiaeth Robert Davies o'r Nantglyn i astudio Rheolau Barddoniaeth; ac nid ydoedd Archimedes ar ol ei ddarganfyddiad gallofyddol yn fwy cynhyrfiedig nag ydoedd Tudur pan ddaeth atom i ddyweyd ei fod o'r diwedd wedi

llwyddo i wneuthur englyn unodl union. Nid oedd paladr ac esgyll yr englyn hwnw wedi bod awr mewn undeb â'u gilydd nad oedd Tudur wedi ei adrodd wrth gryn ddwsin o'i gydnabod; ac nid oedd yn ddigon ganddo ei wneuthur yn hysbys yn y dref, ond cerddodd filldir a hanner o ffordd i'r Bryn heulog i ddangos cyntafanedig ei awen i Aneurin Edwards; ac yr ydym yn credu hyd y dydd hwn mai prin y rhoddodd gwsg i'w lygaid a hun i'w amrantau y noson hono; y gwir yw yr oedd mewn twymyn barddonol.

Bachgen arall yn y gymdeithas ydoedd Erasmus Richards, mab i fasnachydd bychan. Prif bwnc y cyfaill hwn ydoedd areithio. Pe cerddid gydag ef ar y ffordd, torai Erasmus allan i areithio. Wrth ei orchwyl, rhyw araeth a fyddai yn berwi ei ymenydd, ac yn ysgogi ei dafod yn barhâus; a byddai ar brydiau yn ngwres ei hyawdledd yn anghofio ymha le yr ydoedd, oblegid llefai â'i geg heb arbed, a dyrchafai ei lais fel udgorn, nes tynu sylw y rhai oeddynt o'i amgylch, yr hyn, pan welai Erasmus, a barai iddo gywilyddio yn fawr. Un tro, yr ydym yn ei gofio yn eithaf da, casglodd Erasmus amryw o honom i wrandaw araeth oedd ganddo. Yr amser penodedig ydoedd fin nos, a'r lle ydoedd maes oddeutu chwarter milldir o'r dref. Ymgynnullodd oddeutu dwsin; a safai Erasmus ar ben y clawdd, tra y gwrandawai y lleill yn astud wrth ei draed. Bu un neu ddau mor anfoesgar a chwerthin; ond ni effeithiodd hyny ddim ar yr areithydd. Pa fodd bynag, pan yn nghanol gwres ei hyawdledd, wele y darganfyddiad yn cael ei wneuthur gan un o'r gwrandawyr fod yno ryw ddynion yr ochr arall i'r clawdd yn gwrandaw. Trôdd Erasmus yn ol, ac erbyn hyny yr oedd wyneb yn wyneb â'i dad; ac yr oedd amryw eraill yn gwrandaw Erasmus y tro hwnw nad oedd efe yn eu canfod. Mor fuan ag y gwelodd hyny, ymaith âg ef nerth y camrau, gan adael ei gynnulleidfa i synu at ddiflaniad ei hareithydd.

Cymeriad arall teilwng o sylw yn y gymdeithas ydoedd Oliver Rowland, a phrif hynodrwydd y cyfaill hwn ydoedd ei ddadleugarwch. Beth bynag fyddai testun yr ymddyddan, byddai Oliver yn clustfeinio am ryw le i godi gwrthddadl. Llawer canwaith, pan fyddai un yn siarad, y clywsom ef yn tori allan, ac yn dywedyd gyda golwg ddoctoraidd ac awdurdodol iawn, "Profa dy bwnc." Nid oedd Oliver o herwydd hyn yn gydymaith dyddan bob amser; oblegid nid yn fynych y mae dyn yn hoffi bod mewn brwydr geiriau. Ond mewn brwydr yn unig y gwelid Oliver yn mwynhâu heddwch. Yr oedd bob amser yn ymddangos allan o'i elfen os na byddai rhyw ddadl ar droed. Ofnid wrth sylfaenu y gymdeithas y buasai Oliver yn peri cryn flinder iddi; a buasai yn llawer gwell gan lawer o'r aelodau fod hebddo; eithr ni buasai modd byw yn agos ato heb ei dderbyn, ac felly gollyngwyd ef i mewn, gan benderfynu arfer pob moddion i'w gadw i lawr hyd y gellid.

Nis gallwn beidio enwi ein hen gyfaill Enos Tomos, yr hwn hefyd a berthynai i'r frawdoliaeth. Yr oedd yn unig fab i rieni tlodion, ond parchus; ac yr oedd ei dad a'i fam yn meddwl yn annhraethol fawr o Enos. Prif hyfrydwch Enos oedd ysgrifenu testunau a phenau pregethau. Ysgrifenai hwy yn y capel, a phan elai adref, copïai hwy drachefn. Byddai ambell dro allan o'i hwyl yn dyfod o'r oedfa, oblegid nad oedd gan y pregethwr "benau." Yr oedd un hen bregethwr ag oedd yn dra uchel yn ffafr Enos; hen ŵr duwiol ydoedd, heb lawer o ddoniau, ond yr oedd ei bregeth bob amser wrth fodd Enos, am fod ynddi nifer benodol o benau a chasgliadau, a'i fod yn cymeryd pwyll i'w traethu; ac felly yr oedd Enos yn

caël amser i ysgrifenu. Byddai gan yr hen ŵr da yr un nifer o benau hefyd ar bob pregeth, sef tri, ac yn dra chyffredin yr un penau oeddynt, pa beth bynag fyddai y testun, sef, "I. Y gwrthddrych a nodir. II. Y ddyledswydd a grybwyllir. III. Y fraint a gysylltir." Yr un nifer hefyd fyddai y casgliadau: a'r un rhai hefyd ar bob achlysur,—sef, "1. Gwelwn fawr ddrwg pechod. 2. Trugaredd Duw. 3. Holwn ein hunain." Fel yna y gwelsom hwy yn llyfr Enos Tomos; ac yr oedd y penau a'r casgliadau yna yn gwneyd y tro yn eithaf naturiol ar nifer mawr o destunau. Yr oedd pregethau yr hen ŵr yn ymddangos y rhai mwyaf cryno o'r holl rai a addurnent dudalenau llyfr Enos Tomos.

Aaron Parry ydyw yr enw nesaf sydd genym ar lawr; ac nid oedd Aaron yntau heb ei hynodrwydd. Y nôd y cyfeiriai ato ydoedd cael ymddangos mewn argraff yn rhai o gyhoeddiadau Cymru. Yr oedd ei fysedd yn ysu yn barhâus am ysgrifenu rhywbeth; ond byddai yn methu yn lân a gwybod pa beth i'w ysgrifenu. Gwelai draethawd ar ol traethawd yn ymddangos yn y cylchgronau, ac yr oedd yn ddig wrtho ei hun bob tro na buasai wedi meddwl am yr un pwnc â'r ysgrifenydd o'i flaen, a theimlai yn y benbleth fwyaf a fu erioed am gael gafael ar ryw bwnc arall. O'r diwedd, anturiodd anfon cyfieithiad o ddernyn bach digon diniwed a difai i un o'r cyhoeddiadau; a phan y daeth pen y mis, bu Aaron gryn ddwsin o weithiau yn nhŷ y dosbarthwr, yn holi a oedd y rhifyn am y mis wedi dyfod. Ond rywfodd, fel pe buasai Rhagluniaeth am brofi ei amynedd, bu y rhifyn hwnw wythnos ar ol ei amser cyn cyrhaedd Llanllenorion; ac ni threuliodd Aaron wythnos fwy annedwydd erioed. Ond o'r diwedd fe ddaeth; ac ymhlith y derbyniadau eraill, cydnabyddai y Golygydd yr eiddo, "A. Parry, Llanllenorion," a chwanegai, "ymddengys yn ein nesaf;" ac erioed ni thywynasai goleuni mor ddysglaer o amgylch Aaron o'r blaen. Edrychai ar yr amlen drachefn a thrachefn; drannoeth, yr oedd rhaid cael golwg arno; a thrennydd drachefn, fel pe buasai yn anghredu ei olygon ei hun. Y gwir ydyw, y foment y gwelodd ei enw mewn argraff, ystyriai Aaron Parry ei hun wedi ei ganoneiddio am byth. Yr oedd yn fachgen eithaf diniwed a charedig; a pharai ei yrfa ysgrifenyddol gryn lawer o ddifyrwch i'w gyfeillion.

Yr oedd bachgen o'r enw Cadwaladr Vaughan hefyd yn un o honynt. Hynodrwydd y brawd hwn ydoedd ei ymofyngarwch am wybod hanes pawb a phobpeth; pwy oedd i ddyfod i'r Gymanfa, pwy a bregethodd yn Nghymdeithasfa y lle a'r lle, pwy a ddysgwylid i bregethu ymhen wythnosau i ddyfod. Nid gormod fyddai dywedyd mai nefoedd Cadwaladr druan ydoedd bod yn berffaith hysbys o bob peth allanol cysylltiedig â chrefydd. Yr oedd yn adwaen ceffyl pob pregethwr yn y Sir, a llawer o Siroedd eraill hefyd. Ac ar y pynciau hyny oll yr oedd Cadwaladr yn oracl ymysg ei gyfoedion.

Y ddau gymeriad mwyaf annymunol ymysg y gwŷr ieuainc hyn oeddynt, Arthur Morris Hughes a Michael Morgan. Yr oedd y cyntaf yn fath o ysgoegyn *(fop)* mursenaidd a ystyriai ei hun yn annrhaethol uwchlaw ei holl gyfoedion, o herwydd ei fod wedi bod yn Lloegr am ychydig yn yr ysgol. Taflai ddirmyg a sarhâd ar holl ymdrechion ei gyfoedion i ddyfod rhagddynt, ac ni wnai unrhyw ymdrech ei hun ychwaith. Y llall, Michael Morgan, ydoedd grëadur cyfrwysddrwg a wnai ei oreu i ennill ymddiried, ac i dynu cyfrinach allan, ac yna gwnai ddefnydd o hyny i geisio ffaglu y gymdeith-

as. Yr oedd ei dad yn union yr un fath. Wedi i aelodau y gymdeithas adnabod y ddau, gwnaethant y lle yn rhy boeth iddynt; cydunodd pawb i'w hanfon i Coventry, sef peidio yngan gair wrthynt; ac er y buasai pob un o honynt yn elyn tra phoenus i aelod unigol o'r gymdeithas, ac y buasent yn meiddio gwneuthur eu goreu i'w ddifrïo, eto yr oedd yr holl gymdeithas yn unedig yn ormod gan hyd yn nôd y ddau yna i wneuthur ymosodiad arni.

Yr oedd un arall yn y gymdeithas, neu o leiaf yn y lle yr arferai y gymdeithas ymgynnull, ar bob cyfle, sef Evan Meredydd. Nid oedd ynddo un duedd at efrydiaeth; ni ddywedodd air erioed yn y gymdeithas; ni wnaeth na drwg na da mewn un modd i neb o'i haelodau; ac eto rywsut pe buasai Evan yn absennol, buasai rhywun yn holi am dano. Buom yn synu lawer gwaith pa beth oedd yn ei dueddu i ddyfod i blith ei gyfoedion llênyddol, oblegid nid ymddangosai ei fod yn teimlo unrhyw ddyddordeb mewn unrhyw beth a drinid; ac eto yr oedd Evan ymhlith rhai o duedd lênyddol braidd bob amser pan y caffai gyfle. Ei brif, ac yn wir ei unig ragoriaeth fel aelod, ydoedd ei fod yn talu ei dansgrifiad mor rheolaidd ag un, a'i fod yn un da iawn am ofalu am y drws.

---

# ADGOFION MEBYD.

[Gan i'r llythyr canlynol ddyfod i'n llaw mewn modd hollol gyfreithlawn, a bod y teimladau a'r syniadau a osodir allan ynddo, nid yn unig yn rhai tra naturiol i'r amgylchiadau, ond yn gyfryw ag a allant dueddu er lles cyffredinol y rhai a'i darlleno, ac nad oes ynddo ddim rhy neillduol i'w wneuthur yn gyhoeddus, yr ydym yn hyderu na bydd yn un blinder i'w ysgrifenydd ei weled yn argraffedig.]

*Ionawr*, 1858.

FY ANWYL GYFAILL,

YR wyf yn deall mai fy nhro i sydd i ysgrifenu, a'ch bod wedi cael dysgwyl yn hŵy nag y dylasech am fy llythyr. Byddaf bob amser yn arfer hysbysu fy nheimladau ar y pryd wrth ysgrifenu atoch, ac y mae hyny yn gryn lawer o esmwythâd i fy nghalon yn aml. Bwriadwyf wneyd hyny y tro hwn hefyd. Y mae genyf destun newydd a chyffröus, ac os dywedaf y cwbl o'r syniadau a'r teimladau y mae wedi gynnyrchu ynof, yr wyf yn ofni y bydd fy llythyr yn faith ac annyben.

Telais ymweliad yr wythnos ddiweddaf â'r bwthyn y'm ganwyd ynddo, wedi bod am dair blynedd ar hugain o'i olwg, a chefais loes dost i'm calon pan welais ei fod wedi myned yn anghyfannedd. Yr oedd ei wedd wedi newid yn fawr; eto, yr oedd arno lawer nôd pur adnabyddus i mi, a chasgliad o adgofion yn gysylltiedig â phob peth perthynol iddo. Dacw hen fur agenog talcen y tŷ—y mae mor adnabyddus i mi â'r un wyneb yn yr ardal

yr wyf yn byw. Mor dda yr ydwyf yn cofio ffurf y ceryg sydd ynddo, a'r twll lle byddai y "Parla glas bach" yn gwneyd ei nyth, a lle bum â'r ysgol lawer gwaith yn dringo i dynu ei ŵyau gwynion bychain. Yr oeddwn yn ceisio barnu pa un ai myfi ai y bwthyn oedd wedi cyfnewid fwyaf. Yr oedd y coed afalau ac eirin a blanodd fy nhad yn aros yno, ac yn para yn ffrwythlawn, tra mae y dwylaw a'u planodd wedi malurio yn y bedd. Yr oedd yr hen foncyff draenen wèn yn nghlawdd yr "ardd fach" wedi dal agos yn ddigyfnewid. Cefais lawer pigiad gan ei ddrain wrth dynu y *gooseberries* o'r llwyn sydd yn ei ymyl. Y mae yr hen fwthyn a'i amgylchoedd wedi heneiddio llawn cymaint â'r rhai fu yn byw ynddo, am a wn i. Gallwn i feddwl fod y twmpathau, y perthi, a'r coedydd, yn ymddangos lawer yn hynach nag oeddynt pan welais hwynt o'r blaen. Y mae y nant sydd yn rhedeg heibio i dalcen y tŷ mor fywiog a gwisgi ag erioed. Y mae hi yn rhedeg heb orphwys na blino, a byth yn ieuanc. Pa le, tybed, y mae yr "adar bach" oeddent yn canu ac yn ymbyncio yn y llwyni yna, pan oeddwn i yn chwareu mor llon â hwythau ar y twyn uwchlaw iddynt, â'r rhai y bum yn rhwygo fy nillad a'm cnawd yn y drain wrth chwilio am eu nythau? Y mae cenedlaethau o honynt hwy, mae yn debyg, wedi myned, ac eraill wedi dyfod yn eu lle.

Y mae yn anmhosibl i mi ddesgrifio fy nheimladau pan aethum i mewn i'r hen dŷ gwag ac unig, ac edrych o gwmpas ar ei welydd moelion. Un o'r pethau cyntaf a dynodd fy sylw oedd hen gareg yr aelwyd a'r hollt trwy ei chanol, o gylch yr hon yr eisteddai fy nhad a mam, a'r plant oll,—lle yr adroddwyd llawer 'stori—yr wylwyd llawer deigryn—ac y dygwyddodd llawer tro nad anghofir mo honynt ar y ddaear. Dyna y gornel lle safai gwely fy rhieni, wrth erchwyn yr hwn y deliais fy mam gannoedd o weithiau yn gweddïo. Fan acw yr oedd y gwely y gorweddwn innau ynddo, lle y cysgais y nosweithiau mwyaf diofal erioed, ac a gysgaf byth. Ar yr hen lofft rwyllog yma, yr oedd gwely y bechgyn hynaf, ac yr oeddynt i ddringo i fyny iddi dros ysgol o wneuthuriad cartref. Ië, dyma y fan y dechreuais fyw—y cychwynodd ffrwd ddiderfyn fy mywyd. Y mae eisoes wedi crwydro ac ymddolenu cryn lawer; ond i ba le y mae yn tynu? Gallaf ddilyn y ffrwd yn ol i'w tharddiad rywsut, ond pwy all farcio ei llwybr ymlaen? Beth fydd ei hanes fil o flynyddoedd i heddyw? Y mae adgof o lawer golygfa a ddygwyddodd ar yr aelwyd yma yn ymrithio yn fy mryd. Dyma y fan y bum yn gwrando cannoedd o ystoriau ofergoelus am ysbrydion, drychiolaethau, a chanwyllau cyrff, nes y byddai braw yn ymgripio yn iasautrwy fy nghnawd; gymaint nes yr ymwasgwn ymlaen i'r cylch bychan wrth y tân, rhag i ryw ysbryd ymaflyd ynof o'r tu cefn, a'm cipio ymaith. Y mae ugain mlynedd o amser wedi profi yn rhy fyr i oleuni gwybodaeth a rheswm ddilëu yr argraffiadau hyny. Ar yr hen fwrdd bychan a safai fan yma, y cefais y blas goreu ar fwyd, ac y mwynhêais y gwleddoedd goreu erioed, er mai ystwff gweddol arw oedd ynddynt, ac wedi eu coginio gan fy mam. Ië, llawer noswaith y bu y galon yn llawn hyd yr ymyl o ddedwyddwch, tra y cylchynem y ford, o flaen tân glô mawr, a boncyff anferth wrth ei gefn, a ninnau yn gwledda ar "dwmplins," neu hwyaden a "photch pytatws," neu bastai pen mochyn. Cymaint o ddedwyddwch y bywyd plentynaidd sydd mewn bwyta!

Yn eistedd ar y llawr fan yma, a'm cefn yn erbyn yr hen bentan hwn, yr oeddwn pan deimlais yr argraffiadau crefyddol dwysaf erioed. Nid oeddwn

ond o bump i chwech oed. Yr oedd fy mam yn eistedd ar ganol yr aelwyd, ar hen gadair dderw isel; a'r plant, saith o nifer, rhai ar bob llaw iddi, yn gwneyd i fyny y cylch o flaen y tân. Ar y llawr yr eisteddwn i, ac yn nesaf i'r pentan. Yr oedd y Testament Newydd yn agored ar ei glin, wedi bod yn darllen pennod o hono. Yr oedd fy nhad yn y dafarn. Yr oedd yn noswaith dywyll, ystormllyd, a'r gwlaw yn curo yn drwm ar y ffenestr. Nid wyf yn cofio y bennod a ddarllenodd fy mam; ond ar ol darllen y bennod, cyn myned ar ei gliniau i weddïo, dywedai wrthym am Iesu Grist, am Bethlehem, am ardd Gethsemane, am Galfaria, am y nefoedd, am uffern, ac am y byd tragywyddol; ac yr oedd ei dagrau yn cwympo yn ddiarwybod iddi ar y Testament agored oedd ar ei glin. Yr oeddem ninnau, y plant, yn gwrando yn ddystaw, gan syllu ar ei gwyneb, a chydymdeimlo â'i dagrau. Mor glir a pherffaith y mae yr holl olyga yn ymrithio o flaen fy llygaid y funud hon! Ac fel y mae y teimladau a ferwodd fy mynwes fechan y noswaith hono, yn ymgynhyrfu ynof yn awr, fel y maent wedi gwneyd ganwaith er y pryd hwnw. Pan ddywedai fy mam fod "yn rhaid i ni fod byth, *byth*, BYTH, yn y nefoedd neu uffern," gan adrodd pennill Deifas gan hen Ficer Llanymddyfri,—

"Y gair byth sy 'n tori 'nghalon,
Y gair byth sy 'n cnoi 'ngholuddion,
Y gair byth sy 'n peri imi
Fwyta mreichiau a gwallgofi,"

tarawodd y syniad fi fel mellten, fel nas gellais wrando un gair arall, na'r weddi ar ol hyny. Nid uffern a'i phoenau oedd yn peri i mi wylo, ond "*bod byth*,"—hyny oedd yn pwyso yn arswydus ar fy nghalon. Ac yr oeddwn yn teimlo y buasai y meddwl am "fod byth" yn ddigon i droi y nefoedd ei hun yn uffern i mi. Ymhen ychydig fynydau, methais a dal yn hŵy—torais allan i lefain yn uchel. Dychrynodd yr holl deulu wrth fy lleisiau a'm hwylofain. Ceisiwn ddyweyd wrthynt oreu y gallwn beth oedd arnaf, ond digon anhawdd y gallent ddeall yr achos o'm trallod. Mynai fy mam mai ofn "myned i'r tân" oedd arnaf, a cheisiai fy nhawelu trwy fy ngwasgu yn ei mynwes, a dywedyd nad oddefai Iesu Grist byth i *mi*, oedd yn fachgen da, gael myned yno. Ond yr oedd y teimlad o *fod byth* mor annyoddefol i mi, fel nad oeddwn yn prisio nemawr pa un ai yn y nefoedd ai yn uffern y byddwn. Ac yn wir, yr wyf wedi cael cannoedd o ffitiau wedi hyny gan yr un syniad. Aethum i'r gwely dan wylo, deffroai fy mreuddwydion fi eilwaith, ac felly perais gryn ofid i fy mam. Ar ol hyn, byddai yn ofalus rhag sôn am *fod byth* yn fy nghlyw. Ond sôn neu beidio, gwir a ddywedodd,—yr wyf yn ei deimlo; ac mi roddwn fyd yn gyfan, weithiau, am allu ysgwyd yr ymwybyddiaeth ymaith. Yr wyf yn cofio gyda y fath nerth yr adnewyddwyd y teimladau yma, ymhen amryw flynyddau, pan ddarllenais y waith gyntaf linellau awdwr pruddglwyfus y "*Night Thoughts*,"—

"Immortal! Ages past, yet nothing gone!
Morn without eve! a race without a goal;
Unshortened by progression infinite!
Futurity for ever future! Life
Beginning still, where computation ends!
'Tis the description of a Deity!
'Tis the description of the meanest slave.

* * * *

Immortal! what can strike the sense so strong,
As this the soul? It thunders to the thought;
Reason amazes."

Ond'y mae yn rhaid i ni adael y cyfeiriad'yna, neu roi heibio ysgrifenu. Yr wyf bron methu credu weithiau mai yr hwn sydd â'i ysgrifell yn ei law fan yma, ac yn plygu uwchben y ddesc, a'i rudd mor welw, oedd y plentyn seithmlwydd hwnw oedd yn chwareu ac yn prancio ar ben waun P——, yn droednoeth, ac yn bennoeth, mor hoew ac iach â'r brithyll, yn chwareu pob campau plentynaidd, yn dringo y coed, yn chwilio y perthi am wïalen, a "bando," yn tynu brwyn o'r gwreiddiau, ac yn plethu "cap cornicyll" â hwynt, ac heb ofal am ddim, ond chwareu, bwyta, a chysgu. Nid oedd amgylchiadau teuluaidd, na helyntion cyfundebau na theyrnasoedd, yn blino dim arnaf. Nid oeddwn yn meddwl fod "cystal gŵr" a fy nhad i'w gael yn y byd, nac yn meddwl fod y byd yn fawr mwy nag y gallwn i weled oddiar ben twyn y D——; ac yr oeddwn yn meddwl mai y mynydd-oedd oedd yn y golwg oddiar ddrws "ein tŷ ni" oedd yn dal cronglwyd las y nefoedd i fyny. Ac yn wir, fel y dywedodd Hood,—

"It was a childish ignorance;
But now 'tis little joy,
To know I'm farther off from heaven
Than when I was a boy."

Yr oeddwn mor ddedwydd y pryd hwnw ag angel bychan (oddieithr fod y "bod byth" hyny ar brydiau yn fy mlino), heb gyfoeth nac addysg, na rhagolygiad yn y byd. Nid oedd genyf ddim yn fy mhoced, wedi i mi gael poced, ond rhyw fân gortynau, a chyllell geiniog, a dwy neu dair marblen; a chyda hyny o feddiant teimlwn fy mod mor gyfoethog ag Iuddew. Pethau go ddyeithr i ni oedd moethau, fel yr awgrymais; ond os caem ambell dafell o fara càn, ac os byddai ychydig o ddwsinau o *currants* yn y dorth, a chael tê prydnawn Sabbath, yr oedd yn fyd brenin arnom. Nid oeddwn yn meddwl dim byd am ennill arian—gwneyd fy ffortun yn y byd—na chael clod na gwobr am ysgrifenu na chanu; ond os gallwn ffeindio nyth aderyn bach a hanner dwsin o wyau ynddo, teimlwn mor falch a phe cawn heddyw faich ysgwydd o aur Australia.

A ydych chwi ddim yn credu mai dyna y pryd yr oeddwn i yn fwyaf o ŵr boneddig? Ai nid y plentyn sydd yn cael ei godi felly yn y bwthyn gwledig, ar fwyd garw, ond iachus,—digon o ddillad i'w guddio a'i gynhesu —yn chwareu ar hyd y twyni gwyrddlas, yn crwydro ar hyd glànau y nentydd trystiog, a thrwy y coedydd a'r cilfachau, yn cymuno mor gyfeill-gor â natur, a'i galon fach ddiniwed yn hobio gan serchogrwydd a mwyn-hâd yn ei fynwes,—ai nid hwn yw y mwyaf annibynol o bawb? Gall ef fyw yn hapus heb filoedd o bethau y teimlai y cyfoethog a'r moethus yn chwith hebddynt. Ac y mae bywyd ac iechyd yn dygymmod yn well â'r fath fywioliaeth. Edrychwch ar ei foch goch, ac ar ei lygad bywiog; "y mae y gwrid glân a fedda yn fyw addurn anian." Do, bum innau y cyfryw un, ond nid yw y bobolaeth hwnw ond fel breuddwyd i mi heddyw. Gymaint o syniadau a theimladau sydd wedi bod yn chwareu eu rhan yn fy nghalon, ac wedi myned i'w ffordd! Gymaint o amgylchiadau ydwyf wedi myned trwyddynt, a'r dylanwad y maent wedi ei adael yn ffurfiad fy nghymer-iad! John Foster, onide, oedd yn dyweyd, y buasai yn olygfa hynod pe

buasai yn bosibl i ddyn ddychwelyd trwy yr amgylchiadau y daeth, i'w febyd eilwaith, a rhoi yn ol i bob amgylchiad yr hyn a dderbyniodd oddiwrtho; ac edrych ar y darnau o'r dyn a fuasent wedi eu gadael ar hyd ymyl ei lwybr dychweledig. Ac os yw y bywyd yma i gario ei hun ymlaen yn ddiddiwedd, ac i dderbyn argraffiadau parhâus oddiwrth yr amgylchiadau newyddion, beth a fydd yn y diwedd—pe byddai diwedd hefyd? Dyma fi eto wedi fy arwain ar draws y "bod byth" brawychus yma.

Ie, dyma y bwthyn lle y preswyliai gŵr a gwraig a saith o blant er ys pum' mlynedd ar hugain yn ol; ond pa le y maent heddyw?

"Mae rhai mewn bedd yn huno,
A'r lleill ar led y byd,
Nad oes un gloch a ddichon
Eu galw heddyw ynghyd."

Y mae fy nwy chwaer ddiniwed wedi canu yn iach i'r blaned hon a'i blinderau, a chorff y naill yn gorwedd yn mynwes y llall yn mynwent yr Y——. Y mae fy nhad yntau wedi eu canlyn i fyd dyeithr yr ysbrydoedd, a'i gorff, yr hwn a fu unwaith mor hoew a chadarn, yn malurio yn naear newydd America. Gobeithio, ac nid heb sail, o drugaredd, eu bod wedi cydgyfarfod "mewn byd gwell, heb boen na thrallod." Y mae fy anwyl fam weddw ac oedranus, a thri brawd i mi, yn preswylio yn Unol Daleithiau America, a brawd arall yn nghilfachau creigiau euraidd California; a minnau wedi fy ngadael yn unig ac amddifad, â'r môr mawr llydan rhyngof â'r oll o'r teulu sydd yn fyw, a glŷn tywyll cysgod angeu rhyngof â'r rhai sydd wedi marw. Y mae y plant mân fu'n chwareu mor ddifeddwl ar hyd yr hen lawr yma, heddyw oll yn benau teuluoedd, a'r hon a'u hymddug yn crymu gan henaint, a mwy na thriugain a deg o flynyddoedd, a'r rhei'ny yn drwmlwythog gan ofidiau, yn pwyso arni. O fy mam! Y mae fy nyled iddi yn anfeidrol. Byddai yn dda genyf allu dechreu fy oes eto i gael byw yn fwy ffyddlawn iddi. O fôr! paham y gorweddi fel gagendor brawychus rhyngof â hi? Na chawn, yn fy llais fy hun, gydnabod fy rhwymedigaethau iddi! na chawn gyffesu fy edifeirwch am bob gair croes ac anufudd; na chawn ei harwain i'r capel, ac o hono, yn fy mraich, yn rhyw dâl am y miloedd troion y cariodd fi yn ei mhynwes, pan oedd fy nghoes yn rhy fêr i gerdded; na chawn roi cusan ar y rudd welw, wywedig, rychiwyd gan ddagrau yn fy achos; na chawn weddïo eto unwaith, lle y clywai, dros yr hon a dreisiodd y nefoedd am iachawdwriaeth i fy enaid; na chawn gyfleusdra i'w helpu i ddwyn ei baich yn niwedd oes o'r llafur caletaf! waith yn wir,

"Er mwyn i'm hawddgar fam heb groes,
Ddiweddu oes yn ddyddan,
Wrth iddi blygu bob yn bwyth
Dan ddirfawr lwyth o oedran;
Rhag suddo i'r bedd dan ofal bwn
Cymeraf hwn fy hunan."

Ond y mae yn rhaid i mi dynu at y terfyn; a dylaswn gofio yn gynt, fe allai, nad ellwch chwi ddim teimlo yr un swyn yn yr hen fwthyn yma a'i amgylchoedd, ag wyf fi yn deimlo—cymaint o swyn ag y carwn allu ei anfarwoli fel y mae heddyw, a dyfod o'r nefoedd i dalu aml ymweliad âg ef. Ond dyna—yr ydych chwithau wedi bod yn blentyn—y mae gyda

chwithau adgofion mebyd; ac fe allai y geilw fy llythyr hwn liaws o honynt i'r wyneb yn eich mynwes. A byddai yn dda genyf gael ychydig o hanes eich dyddiau boreuol yn eich llythyr nesaf, er mwyn cymharu ein hamgylchiadau a'n teimladau plentynaidd. Gŵn fod llawer o debygolrwydd rhyngom heddyw; ond a yw yr amgylchiadau y daethom trwyddynt *yn rhoi cyfrif* am hyn?

---

# GRYM YMARFERIAD.

Y MAE yn hen ddywediad fod dyn yn "grëadur amgylchiadau;" a diau fod yn hyny gryn lawer o wirionedd. Gŵyr pob dyn yn brofiadol fod gan yr amgylchiadau sydd yn ei gyfarfod ddylanwad mawr arno, ac na buasai efe ddim yr hyn ydyw hebddynt. Hwy a barasant iddo weithredu fel y gwnaeth ar hyd ei fywyd: pe buasent hwy yn wahanol, yn wahanol hefyd y buasai yntau yn ymddwyn yn eu hwyneb. Ond nid yw hyny mewn un modd yn diddymu ei gyfrifoldeb—yn lleihâu dim ar ei hawliau a'i ddyledswyddau fel rhyddweithredydd—eithr yn hytrach eu mwyhâu. A pha fodd y gall fod yn amgen? Nid cyfyngu ar ei weithrediadau y mae amgylchiadau, ond rhoi cyfleusdra iddo weithredu. Fe'i gorfodir, mae yn wir, i ymddwyn rywfodd—i weithredu rywsut—ond efe ei hunan sydd i benderfynu pa fodd; ac ar hyn y mae y pwys—hyny sydd yn gwneyd y canlyniad yn arswydlawn neu yn gysurus—a hyny a selia ei dynghed yn y dyfodol.

Ond nid yw efe yn fwy o "grëadur amgylchiadau," nag ydyw o grëadur ymarferiadau. Pa faint bynag a ellir ddywedyd am ddyn yn y golygiad cyntaf, gellir dywedyd llawer mwy am dano yn yr ail olygiad, a chyda llawer mwy o briodoldeb. Y mae yn wir fod "ysbryd mewn dyn." Y mae ganddo ef enaid o'i fewn—ysbryd anfarwol a thragywyddol. Am y rhan hono o'r dyn, nis gwyddom ni nemawr yn awr. Y mae genym dystiolaeth bendant y Dadguddiad Dwyfol fod y rhywbeth rhyfedd hwnw o'n mewn; ac y mae ynom ryw ymdeimlad—ryw ymsyniad—ryw ymddyheuad am anfarwoldeb ac anfeidroldeb, ag sydd yn peri i ni gredu y rhaid ein bod yn feddiannol ar y fath beth—rhywbeth nad oes dim llai na thragywyddoldeb yn ddigon o dymmor iddo fyw ynddo, na dim llai na'r Duw anfeidrol fawr yn ddigon iddo ymhyfrydu ac ymserchu arno. Oes, y mae enaid mewn dyn! Ond ynglŷn â hyn, rhaid cofio fod gan ddyn feddwl, a galluoedd i ddirnad, cynnwys, olrhain, ac ymsynied am bethau o'i amgylch. Pa un a ydyw y galluoedd dealltwriaethol hyn yn anwahanol gysylltiedig, neu yn rhan o, yr elfen ysbrydol arall a grybwyllwyd, ynte yn beth gwahanol—yn beth y mae yn bosibl iddo fodoli ar wahân—yn beth ag y mae dyn yn ei feddiannu mewn cydgyfranogaeth â phob crëadur arall ag sydd yn preswylio y ddaear, sydd yn bwnc na feiddiwn ei benderfynu. Diau fod gan anifeil-

iaid a bwystfilod y ddaear ryw fath o feddwl. Y mae ehediaid y nefoedd yn darparu eu nythod, ac yn gofalu yn dyner am eu cywion; ac y mae yr ŷch yn adnabod preseb ei berchenog. Y mae ffyddlondeb rhai o'r crëaduriaid a alwn yn ddireswm, yn gymaint, fel y byddai yn gywilydd wyneb i lawer a ymhònant berchenogaeth mewn rheswm, pe cymherid hwy i liaws o honynt. Ymae rhai o honynt hefyd wedi rhoddi prawf ar adegau o rywbeth mor debyg i reswm, fel y mae yn anhawdd gwybod pa fodd i'w gwahaniaethu oddiwrtho—yn anhawdd penderfynu ymha le i osod y llinell derfynol rhwng rheswm a greddf. Ond y mae yn sicr fod crëaduriaid uwch na dyn hefyd yn arfer meddwl. Y mae yr hyn a wyddom ni am drigolion gwlad y goleuni yn dangos yn ddigon eglur eu bod hwy yn meddu galluoedd meddyliol o radd uwch a mwy arbenig nag y gall dynion ymffrostio ynddynt. Eithr pa beth ydyw meddwl? Ai yr un ydyw o ran natur ynddynt hwy ag ydyw yn yr anifail? Ai mewn graddau yn unig y mae greddf yn gwahaniaethu oddiwrth reswm? Ai dadleniad perffeithiach ydyw yr olaf o'r un galluoedd ag sydd yn cyfansoddi y blaenaf? Ai dolen ydyw dyn yn y gadwen feddyliol hono ag sydd yn uno y dosbarthiadau iselaf ac uchaf yn nghrëadigaeth Duw? Y mae hon yn wybodaeth rhy ryfedd i ni, ac nid cywilydd genym gydnabod nas gwyddom oddiwrthi.

Ond y mae y ffaith yn aros yr un. Y mae gan ddyn feddwl. Ac wrth edrych ar ei amcanion a'i weithrediadau, y mae yn llawer hawddach genym ni dybio ei fod mewn agosach cyfathrach â'r angel nag â'r anifail. Nid oes dim yn rhy uchel i'w attal i geisio ehedeg i'w ben, na dim yn rhy isel nad amcana dreiddio i'w waelodion. Os ar y ddaear y bwria efe ei olygon, efe a ymwthia i'w cheudod, ac a chwilia ac a chwala ei pherfeddion, gan ddadlenu ei holl ddirgeloedd a flaen ein llygaid. Nid erys efe nes gosod ei holl gyfansoddiad yn noeth ac yn agored ger eiu bron. Efe a ymsudda i waelodion y môr, ac a olrheinia ei gelloedd tywyllaf; ac efe a ddwg oddiyno wybodaeth lawer gydag ef. Efe a dafl ei linyn mesur o'i hamgylch ogylch, ac efe a'i mesura hi; neu efe a bwysa ei llwch hi yn ei glorianau. Neu, os dyrchafa efe ei lygaid i'r uchelder, a chanfod yr haul, y lloer, a'r sêr, nid ymfoddlona efe ar edrych ar eu gogoniant ysplenydd, er eu bod yn tanio ei enaid, ac yn ei hanner ynfydu gyda'u gwychder, ond efe a chwilia i mewn i'w hanes hwythau. Nid digon ganddo sefyll oddiyma draw i synu ac addoli yn ei olwg ar y fath ogoniant, eithr efe a wregysa ei lwynau, ac a gymer ei daith tuag atynt! ac wedi cyrhaedd i'w tiriogaeth, efe a ddechreua eu holi a'u cwestiyno nes cael allan eu dirgelion. Daw yn ol drachefn i adrodd i'w gyd-drigolion ar y ddaear yr hyn a welodd efe ymysg llu y nef. Cawn wybod eu pellder oddiwrthym, a'u maintioli aruthrol i'r manylder lleiaf. Ni chânt symud fodfedd o'u hunman heb iddo ef sylwi ar yr ysgogiad, a chofnodi yn fanwl bob "ysmiciad" a gogwyddiad o'u heiddo. Efe a ymgydnabydda fel hyn â'u holl hanes; ac er cyfleusdra a mantais iddo ei hun, y mae wedi dyfeisio a llunio offerynau pwrpasol, trwy gymhorth pa rai y mae yn gallu ymdaflu megys i'w canol mewn amrantiad. Nid oes unpeth, ymron, o fewn holl diriogaeth anian yn cael dianc heb eu sylw manylaf. Sylla gyda chymaint o ddyddordeb ar y milyn dystadlaf ag a wna ar y cawrfil. Chwilia i natur ansoddau a threfniad cyrff y crëadaduriaid mwyaf disylw gyda chymaint o chwilfrydedd âg eiddo y lefiathan a'r behemoth cadarn. Y mae yn gystal ganddo olrhain y lindysyn yn myned drwy ei wahanol gyfnewidiadau nes ei weled ar hirddydd haf yn

chware yn yr awyr ar ei adenydd gweiniaid, gan ymhyfrydu yn mhelydr yr haul, ag ydyw ganddo wylied yr eryr, o'i ddeoriad yn yr ŵy, nes y gwelir ef yn ei holl nerth a'i ogoniant yn ymsaethu drwy yr awyr yn frenin ar holl ehediaid y nef. Pa beth sydd nad yw dyn wedi troi ei feddwl i syllu arno? Y mae wedi gosod yr holl grëadigaeth o dan dreth iddo ei hunan.

Ac nid digon ydyw ganddo hyny. Nid yw y byd materawl neu ddefnyddawl yn ddigon ëang iddo, eithr efe grëa fydysawd iddo ei hunan. Pan wedi blino yn teithio ac yn chwilio y grëadigaeth weledig, efe a gaua ei lygaid, ac a bletha ei freichiau yngbyd, a chyn pen ychydig fynydau bydd wedi galw i fodolaeth yn ei ddychymyg grëadigaeth arall mor ardderchog ac ysplenydd nas gallasai neb ond Duw, neu ryw un mewn agos gyfathrach âg ef, wneuthur y fath beth, nes ein temtir o'r bron ambell dro i waeddi— "Yn ddiau, duwiau yn rhith dynion sydd yn preswylio y ddaear." Y mae yn wir fod llawer o'r crëadigaethau hyn o'i eiddo yn bethau lled salw o ran eu parhâd. Y maent yn ymgilio yn ol i'w diddymder dechreuol bron cyn gynted ag y gelwir hwynt i fod. Nid yw gwlith y bore yn cael ei wasgaru yn nghynt o dan belydrau tanbaid yr haul nag y mae llawer o grëadigaethau dychymyg dyn yn dychwelyd i'r dim. Fe'u "malurir hwynt yn gynt na gwyfyn." Ond nid hyna ydyw tynghed yr oll o honynt ychwaith. Na, y mae genym ar gof a chadw filoedd o honynt ag sydd yn wrthddrychau syndod ac edmygedd pob dyn a'u gwelodd. Cymerodd eu hawdwyr, neu ryw rai eraill drostynt, ysgrifbin yn eu dwylaw—amlinellasant y cynllun—llenwasant ef i fyny—perffeithiasant y gwaith—saif miloedd yn syn i syllu ar yr olygfa—ac fe "ä y nef a'r ddaear heibio" cyn y gwelir y diwrnod ag y dywedir am danynt, "Darfu;" oblegid nid rhithiau gweigion disylwedd ydynt; y maent wedi eu bywiocâu âg ysbryd y peth byw hwnw ag sydd yn eu trawsgyfnewid yn sylweddau pur yn meddyliau pawb a'u gwelant. Ac nid yw y cylch ëang yna yn ddigon i foddloni meddwl dyn. Nis gall efe aros gyda phethau gweledig—nis gall gyfyngu ei hunan at ddim a ellir ei wneyd neu ei alw i fod mewn amser. Y mae yn rhaid iddo ef gael ymollwng dros lànau yr ynys fechan a adnabyddir wrth yr enw hwnw, ac ymha un y cafodd efe ei ddwyn i fod, i gefnfôr tragywyddoldeb. Efe a ymboena i chwilio a dyfalu pa beth sydd yno. Yn ngoleuni yr ychydig wybodaeth a welwyd yn dda ei dadguddio i ddyn yn y fuchedd hon am yr hyn sydd o'r tu fewn i'r llen, efe a ymsudda i'r dyfnderoedd at borth y carchar diobaith, ac a ddyry ei glust wrth y ddôr, i wrando ar yr ocheneidiau a'r ysgrechiadau, a thrwst y rhincian dannedd, sydd oddimewn. Efe a ysbïa er cael golwg ar y "maglau, tân a brwmstan, a'r poethwynt ystormus," ag sydd yn rhan o drueni annwn. Efe a wêl y cymylau duon yn ymddyrchafu oddiar enau y pydew ag sydd yn cau allan am byth bythoedd bob pelydryn o oleuni gobaith rhag tywynu ar y carcharorion. Edrycha arnynt yn yfed gwaddod cwpan eu digofaint. Pa ryfedd, ar ol y fath olygfa, os teimla awydd i ymgodi uwchlaw y ser—i gael mynedfa at borth y nef—y drigfan ddedwydd a ddarparodd Duw i'r rhai a'i carant ef? Yno efe a wêl ddinas ysplenydd wedi "ei hadeiladu o aur pur." Y mae ei gwychder mor ragorol nes yr ymddangosa i'r llygaid fel "gwydr gloew." Y mae ei heol wedi ei gwneuthur o'r un defnyddiau, a'i muriau "wedi eu harddu â phob rhyw faen gwerthfawr." "Nid rhaid wrth oleuni yr haul na'r lleuad i oleuo ynddi; canys gogoniant Duw a'i goleuodd hi, a'i goleuni hi ydyw yr Oen." Efe a glyw ynddi sain cân a moliant gan dyrfa yn cadw gŵyl

dragywyddol. Ac nid rhyfedd, canys y mae Duw ei hunan gyda hwynt, ac wedi "sychu ymaith bob deigr oddiwrth eu llygaid;" a marwolaeth ni bydd mwyach, na thristwch, na llefain, na phoen;" canys y mae cystudd a galar wedi ffoi ymaith, a hwythau wedi goddiweddyd hyfrydwch a llawenydd yn oes oesoedd. Y mae y golygfëydd a wela yno yn annhraethadwy o ogoneddus; ond nid uwchlaw i'w ffydd allu eu sylweddoli, a'i obaith hiraethu am eu mwynhâu. Ac nid erys ei feddwl ar ol cyrhaedd y pellderau yna. Nid yw efe eto wedi cyfarfod â digon i lenwi ei holl ddymuniadau. Mae efe eto yn dyheu am ychwaneg fel hydd sychedig am afonydd dyfroedd. Ac ymha le y gall efe gael hyny ond yn yr Anfeidrol ei hunan? Y mae yno ddigon o le iddo ymhyfrydu ac ymlonyddu am oesoedd diderfyn yn yr olwg ar ei hanfod dragywydd a'i berffeithiau gogoneddus. Nid oes dim, gan hyny, a'i digona, nes iddo ymwthio i'r sanctaidd sancteiddiolaf, a chael gweled megys yr Anweledig ei hunan.

Wele ni, yn awr, wedi olrhain rhanau o'r ffyrdd ag yr hoffa y meddwl dynol deithio ac ymbleseru ar hyd-ddynt. Er na chymerasom ond prin gipolwg bychan arnynt, y mae yn ddigon, ni a hyderwn, er dangos pa mor ardderchog ydyw—y fath allu sydd ganddo—pan y byddo wedi cael ei ddadlenu yn iawn. Gallesid meddwl, wrth edrych arno yn gwneuthur y fath orchestion, mai mewn cyflawn faintioli yr ydoedd pan ddechreuodd weithredu gyntaf—na bu efe erioed ddim llai na gwanach nag ydyw yn awr. Ond ni bu erioed gamgymeriad mwy. Nid oes eisieu ond y sylw mwyaf arwynebol er canfod fod y gwahaniaeth mwyaf sydd yn bosibl rhwng galluoedd meddyliol gwahanol bersonau, hyd yn nôd yn eu cyflawn faintioli. Pan yn fabanod, y mae yn ammhëus a ellir dyweyd fod ganddynt *feddwl* o gwbl. Y mae yn wir fod ganddynt alluoedd cymhwys *i* feddwl—eu bod wedi eu cynnysgaethu â chynneddfau cyfaddas i synied ac amgyffred—ond y maent eto heb eu dadlenu—heb gael eu gosod ar weithrediad—heb gynnyrchu dim ffrwyth. Rhaid i'r galluoedd fod yn gweithio cyn y gallwn yn briodol ddyweyd fod dyn yn meddwl. Ond pa fodd y mae rhai dynion wedi dyfod i'r fath enwogrwydd—eu meddyliau wedi gosod y fath arbenigrwydd arnynt nes eu dwyn i sylw yr holl fyd? Ai dadleniad sydyn a gafodd eu meddyliau? Ai mewn un dydd y daethant yr hyn ydynt? Ai myned i'w gorweddfan a wnaethant un noson, a'u meddyliau yn weiniaid a diymadferth, heb erioed gael eu deffröi o'u cwsg crëadigol, ac agor eu llygaid bore drannoeth gan gaffael eu hunain yn wrthddrychau syndod pawb o'u cwmpas o herwydd nerth, dyfnder, a gwreiddiolder eu drychfeddyliau? Ai fel yna y mae dynion yn dyfod yn feddylwyr mawr? Na, pe yr arosai perchenog y meddwl cryfaf a galluocaf ar y ddaear heddyw nes iddo ymddadlenu o hono ei hunan, cyn ei roddi ar waith, mor ddyddim a fuasai efe mewn cymhariaeth i'r hyn ydyw.

Yn ddiau, crëadur ymarferiad ydyw dyn. Ni a welwn y fath ddylanwad sydd gan hyn yn ffurfiad a chryfhâd ei feddwl—y fath rym sydd gan ymarferiad yn nygiad allan ei adnoddau, ac yn ei alluogi i gyflawni yr holl orchestion a grybwyllwyd sydd o fewn cyrhaedd y meddwl dynol i'w cwblhâu. Ac nis oes dim yn fwy eglur nad peth graddol iawn yw caffaeliad gwybodaeth. Y mae pob un sydd wedi cyrhaedd rhyw ychydig, pa mor fychan bynag ydyw, yn gwybod yn dda mai nid heb gryn ymdrech a llafur y daeth efe yn feddiannol ar yr hyn sydd ganddo. Ai yn rhifyddwr enwog y mae y dyn wedi troi allan? Efe a fu yn anwybodus unwaith o egwydd-

orion symlaf y wybodaeth hòno. Fe welwyd y dyn ag sydd yn awr yn gallu gweithio y *problems* mwyaf dyrus gyda hawsder, ryw dro yn dysgu cyfrif *un, dau,* a *thri.* Ond trwy ddyfal ymarferiad, efe a orchfygodd yr anhawsderau oedd ar ei ffordd, nes o'r diwedd y mae yn cael ei gydnabod fel yr awdurdod uchaf ar bob cwestiwn cysylltiedig â chyfrifiaeth. Y mae yr un egwyddor yn gymhwys i'w defnyddio gyda golwg ar bob gwybodaeth arall. Nid yn Serydd wr, yn Ddaearyddwr, nac yn Ddaearegwr, y ganwyd neb i'r byd. Nid oedd y galluocaf mewn unrhyw wyddor y gŵyr dyn am dani, yn gwybod dim mwy yn ei chylch ar un tymmor o'i fywyd nag a ŵyr y mwyaf anwybodus a ellir ei gyfarfod. Yn raddol iawn y daeth efe i synied dim yn ei chylch. Treuliodd flynyddoedd lawer mewn cyson ymarferiad â'r gangen hòno o wybodaeth cyn iddo ddechreu enwogi ei hunan ynddi. Ond nid aeth ei lafur yn ofer; eithr efe a welodd ffrwyth lawer yn dyfod iddo mewn canlyniad i'w ymdrechiadau.

Eto, ar ol iddo gyrhaedd y safle uchel a wnaeth efe mewn gwybodaeth —ar ol iddo ddodrefnu y meddwl â ffrwyth ymchwiliad a llafur blynyddau —y mae yr un anghenrheidrwydd yn aros iddo ddal ymlaen heb ddiffygio. Ni wêl dyn un adeg byth ar ei hanfodiad ag y gall efe eistedd i lawr, a phlethu ei ddwylaw ynghyd, a dywedyd wrth ei feddwl y gall efe ymdawelu ac ymfoddloni—nad yw ymdrech a llafur yn anghenrheidiol iddo mwy—a gorchymyn iddo o hyny allan fyw ar yr hyn a ennillodd iddo ei hun, oblegid fod ganddo "dda lawer wedi ei roddi i gadw dros lawer o flynyddoedd." Na, ni ddaw yr adeg yna byth i gyfarfod â dyn. Y mae llafur yn anhebgorol i fywyd ei feddwl. Byddai mor hawdd ei gadw rhag gweithio ag a fyddai cadw dwfr rhag rhedeg. Y mae o dan anghenrheidrwydd i wneyd rhywbeth—ni oddefa ei gyfansoddiad iddo fod yn llonydd. Oni roddir iddo destunau newyddion—oni chaniateir iddo faesydd toreithiog i fyned iddynt na bu efe yn sangu arnynt o'r blaen, efe a ymdeifl yn ol ar ei hen adnoddau—efe a ä dros yr hyn a ddysgodd mewn adeg flaenorol—geilw y pethau hyny i'w gof, a myfyria arnynt, ac efe a ddwg hyd yn nôd oddiyno rywbeth newydd i'r amlwg—rywbeth nad oedd wedi ei ganfod o'r blaen, yr hwn a agora fyd newydd o fyfyrdodau iddo. Y mae dyn fel hyn o dan anghenrheidrwydd o ymarfer ei feddwl gyda rhywbeth na'i gilydd yn ddibaid.

Ac hyd yn nôd wedi i ddyn gyrhaedd i enwogrwydd mewn gwybodaeth, rhaid iddo wrth lafur ac ymarferiad, onide fe ä yn ei ol, ac a gyll yr enwogrwydd a ennillodd. Dangosasom eisoes nas gall y meddwl fod yn ddiwaith —y rhaid iddo gael rhywbeth yn barhâus i'w wneyd. Ac oni pharhâ dyn i ddilyn ymlaen gyda y wybodaeth ymha un y rhagorodd efe, y mae rhywbeth arall yn rhwym o ddwyn ei fryd. Po fwyaf o'i sylw a gaiff pethau eraill, lleiaf oll a gaiff ei hoff bwnc. Bydd hyny, o anghenrheidrwydd, yn ei anghymhwyso i fyned ymlaen yn ei efrydiau gydag ef. Os esgeulusa dyn unrhyw wybodaeth a gyrhaeddodd, am ychydig amser, ac i un arall fyned a'i fryd, y mae yn amlwg na fydd ei feddwl mewn agwedd mor gyfaddas i ymgymeryd â hi yn llwyddiannus eilwaith. Bydd llawer o'r hyn yr ymdrafferthodd i'w ddysgu a'i ddeall wedi cilio o'i feddwl—o'r hyn lleiaf ni bydd mor fywiog yn ei gof ag y bu. Y mae hyny yn rhwym o beri anhwylusdod mawr iddo. Bydd yn rhaid iddo, yn enwedig os bydd y gangen o wybodaeth y llafuria ynddi yn un ddyrys ac anhawdd, fyned dros lawer o'r un tir drachefn ag y bu yn ymboeni ynddo o'r blaen. Y mae

hyny yn rhwym o fod yn niweidiol, gan yr ä llawer o'i amser yn ofer. Ond heblaw hyny, nid yw dyn braidd byth yn rhagori ond mewn rhyw un peth. Mewn un gangen o ddysgeidiaeth yn unig y mae y mwyaf athrylithgar yn gallu ymgodi yn uwch o'i ysgwyddau i fyny na'i gydoeswyr yn gyffredinol. Nid yw yr un person byth mor enwog fel Seryddwr ag ydyw fel Daearegwr, na'r hwn a ennillodd enwogrwydd fel Daearegwr byth yn hynod am ei wybodaeth Seryddol. Anaml y ceir yr Athronydd dyfnddysg a'r Bardd hedegog yn ymgyfarfod yn yr un dyn; neu, os bydd efe yn lled gyfartal yn ei chwaeth at y naill ag at y llall, nid oes nemawr o berygl y rhagora efe yn yr un o honynt. Gall dyn ag a fyddo wedi darllen, chwilio, a myfyrio yn lled helaeth i wahanol gangenau gwybodaeth, gael ei barchu fel dyn dysgedig, ac fel awdwr rhagorol; gall fod yn ddefnyddiol yn ei oes a'i genedlaeth; ond nid yw efe yn debyg o gyfansoddi dim yn y ffordd hòno ag a ddyga nôd anfarwoldeb arno. Tuag at wneuthur rhyw waith mewn oes ag a erys yn fyw ag i dynu sylw mewn oesau dyfodol, y mae yn gofyn holl ymadfertboedd yr enaid tuag at ei gyflawni. Rhaid i'r meddwl fod wedi ymgysegru yn llwyr ac yn hollol i'w gwblhâu. Rhaid iddo wneuthur i bob peth arall a ddyga ei sylw dalu gwarogaeth i hwn, ac ymostwng yn ufudd i wasanaethu iddo. Llafur ac ymarferiad parhâus o eiddo y meddwl gydag un peth yn arbenig, yn unig a alluoga ddyn i gyrhaedd enwogrwydd mawr. A'r un modd y galluogir ef i ddal ei enw i fyny hefyd. Os erys efe heb fyned yn ei flaen mewn llafur gyda y peth hwnw, y mae yn anmhosibl iddo gadw y cymeriad a ennillodd. Oni welwyd llawer gŵr ieuanc wedi dangos athrylith nodedig at ddysgu ieithoedd tra yn yr athrofa —wedi ennill iddo ei hunan enw uchel ymhlith ei holl gydfyfyrwyr—a derbyn clod a chymeradwyaeth arbenig gan yr athrawon? Yr oedd efe wedi ymadael yn y mwynhâd o gymaint o urddas ac enwogrwydd ag a allasai y sefydliad y perthynai efe iddo roddi arno. Yr oedd dysgwyliad uchel wedi cael ei gyfodi yn meddyliau ei holl gydnabyddion ar ei ran. Gobeithient bethau mawr am dano yn y dyfodol. Ond ymhen ychydig efe a flinodd ar ei efrydiaeth ieithyddol—trödd ei sylw penaf at ryw gangen arall, a hòno o bosibl yn un ddigon defnyddiol, a digon anghenrheidiol am i rywun o alluoedd cryfion ymgymeryd â hi. Ond fe fu y cam hwnw yn un tra niweidiol iddo ef. Y mae yn wir ei fod wedi meistroli y wyddor neu y wybodaeth y trödd ei feddwl ati, ac y cydnabyddid ef yn gyffredin fel un tra medrus, ond nid allodd erioed wneyd dim nodedig gyda hi; ac ni chlywyd byth mwy son am dano fel campwr arbenig yn y gangen yr oedd efe yn dra enwog ynddi ar y cyntaf. Y mae amrywiol o esiamplau o amgylchiadau cyffelyb yn ymrithio yn awr o flaen ein meddwl—o wŷr ieuainc a gyrhaeddasant i sylw nodedig, mewn amrywiol o gangenau dysgeidiaeth; a'r rhai, yn ol pob tebygolrwydd, a fuasent yn cyrhaedd i enwogrwydd nodedig iawn, pe dilynasent ymlaen yn y cyfeiriad y cychwynasent. Ond wedi ennill clod ac edmygedd cyffredinol ar y pryd, hwy a aethant i dybio eu bod wedi gwneyd iddynt eu hunain enw am eu hoes—eu bod wedi llafurio digon—y gallent yn hawdd ddal i fyny yn y sefyllfa barchus a chymeradwyol yn ngolwg eu cydwladwyr, ag yr oeddynt ynddi—heb ymboeni ac ymdrafferthu ychwaneg. Ac felly y gwnaethant am gryn amser. Ond nid felly y parhäodd gyda hwy. Pan wêl dynion nad yw y rhai a fynant fod yn arweinwyr arnynt yn cynnyddu dim eu hunain, y mae eu ffydd ynddynt yn dechreu gwanhâu; ac fel y bydd gwybodaeth y cyffredin yn cynnyddu,

y mae y parch a fu ganddynt tuag at y dosbarth a nodwyd, nid yn unig yn lleihâu, ond o'r diwedd yn troi yn ddiystyrwch. Ac fel hyn, y mae diffyg ymarferiad a llafur yn eu difeddiannu o'r enwogrwydd a gyrhaeddasant.

Ond nid hyna ychwaith yw y cwbl. Y mae gwybodaeth yn ddibaid yn myned rhagddi. Y mae rhyw rai yn wastadol yn ymgysegru yn hollol a chyfangwbl i bob cangen o honi. Y mae llawer yn cynniweirio, ac y mae gwybodaeth yn amlhâu. Y mae dyn a gyrhaeddodd radd uchel o ddysgeidiaeth, ac a ymfoddlonodd ar hyny, gan dybied ei fod wedi cyrhaedd digon, yn lled debyg cyn hir iawn o ganfod ei fod wedi camgymeryd yn fawr. Os ydyw ef wedi eistedd i lawr i orphwyso, nid ydyw gwybodaeth eto wedi cyrhaedd perffeithrwydd. Y mae rhyw ddadguddiadau newyddion yn cymeryd lle yn feunyddiol ymhob cangen. Y mae ychydig flynyddau yn gwneuthur chwyldröad hollol yn ystâd dysgeidiaeth. Yr hyn a gyfrifid ychydig yn ol yn nôd uchel iawn i ymgyrhaedd eto, y mae hwnw erbyn hyn wedi dyfod yn lled agos i ffon isaf yr ysgol, neu ynte wedi ei daflu o'r neilldu fel peth hollol ddiwerth a chyfeiliornus. Ac erbyn hyn, y mae yr hwn a dybiodd ei fod wedi gwybod a deall y cyfan—ei fod wedi meistroli pob gwybodaeth—ac yna a orphwysodd, gan feddwl byw ar gnwd y cynauaf a gasglodd, yn cael ei hun wedi ei adael ymhell, bell, yn ol. Fel hyn, y mae ymarferiad parhâus a diball yn hollol anghenrheidiol i ddyn, ac yn meddu dylanwad grymus ar gyfansoddiad a diwylliad ei feddwl.

Rhaid cofio, drachefn, fod gan ddyn *gorff* yn gystal a meddwl, a hwnw yn meddu ei alluoedd a'i gylch priodol o weithrediadau yn ogystal a'r llall; ac y mae gan ymarferiad ddylanwad grymus ar y rhai hyn eto. Y mae yn wir nad yw corff dyn mor ardderchog ag ydyw ei feddwl; ond y mae yn anmhosibl edrych hyd yn nôd arno ef heb deimlo fod urddasolrwydd nid bychan yn perthyn iddo. Y mae geiriau y Salmydd yn ddigon cyfaddas i'w cymhwyso ato—"Ofnadwy a rhyfedd y'm gwnaed." Er mai pabell ydyw, yr hon a breswylir gan y meddwl—gan yr ysbryd—eto y mae cymaint o wychder yn perthynu iddi ag sydd yn ei gwneyd yn drigfa gymhwys iddo. Nid oes ynddi ddim a all daflu un anfri ar ei phreswylydd. Yn hytrach, y mae yn arddangos y fath gyfaddasder nes yr argyhoeddir ni ar unwaith ei bod wedi ei darparu a'i bwriadu gan ei Hadeiladydd mawr yn breswylfod iddo. Ni buasai modd iddi fod yn fwy cyfleus a chymhwys at ei wasanaeth—i'w alluogi i weithredu yn rhydd a dilyffethair, ac yn gyson â'i urddas goruchel. Ac nid oes genym ni yr un dychymyg pa fodd y gall y meddwl weithredu ar wahân oddiwrth y corff. Y mae eu perthynas mor agos—yn ymddangos i ni mor anhebgorol—fel nad oes genym un syniad pa fodd y gallwn feddwl ond drwy gymhorth ein galluoedd corfforol. Yn wir, y mae ein holl brofiad yn y byd hwn yn barod i dystiolaethu nas gallwn. Pa fodd y bydd arnom yn y sefyllfa ddyfodol—y cyflwr hwnw ag y byddwn yn fuan iawn wedi myned iddo—hyd y dydd y bydd udgorn Duw yn cael ei udganu, a'r rhai a gysgant yn llwch y ddaear yn deffröi, a'r enaid a'r corff pur ac anllygredig yn ymuno eilwaith heb eu hysgaru mwy,—nis gwyddom; y mae y dirgelwch hwnw heb ei ddadguddio. Ond yn y byd hwn, y mae ein cynneddfau corfforol yn hollol anghenrheidiol cyn y gall ein meddwl weithredu. Nis gall weled dim heb gymhorth llygaid y corff—clywed dim heb glustiau y corff—arogli dim heb ffroenau y corff—archwaethu dim heb dafod y corff—na theimlo dim heb gïau y corff. Pa un a oes rhyw ddosbarth o feddylrithiau yn briodol wreiddiol i'r

meddwl—nas gallasai eu derbyn drwy gymhorth unrhyw gyfryngau allanol, —ai nad oes, nid yw yn un rhan o'n hamcan presennol i ymholi. Ni a wyddom yn dda, pa fodd bynag, nas gall dderbyn un syniad am ddim o'r tu allan iddo ei hun—am agwedd gwrthddrychau allanol—ond drwy gynnorthwy y corff, na gweithredu mewn un modd ond drwy ei offerynoliaeth. Y mae y corff, a gweithrediadau y cynneddfau corfforol, gan hyny, o'r pwys mwyaf i'r meddwl. Ac eto, mor ddibynol ydyw y rhai hyn ar ymarferiad!

Ar hyn y dibyna tyfiant, a chryfder, a bywyd, ei gorff. Y mae gwahaniaeth mawr rhwng y gŵr canol oed â'r plentyn yn ei fabandod. Y mae y cyntaf yn ei gyflawn faintioli a'i gryfder, tra y mae y llall yn eiddilyn gwan bychan. Ac felly y parhasai efe byth, oni buasai iddo ymarfer ei aelodau. Pe byddai angherheidrwydd am egluro hyn, ni raid ond cyfeirio at aelod hogyn a anafodd ei droed. Trwy ryw anhap efe a analluogwyd i'w roddi ar y llawr, ac i ymarfer ei goes, mewn cerdded, rhedeg, a neidio, fel yr arferodd efe ei goes arall. Efe a dyfodd i fyny; ac wele y mae ei holl aelodau yn gyfhyd a chyfnerth, onid yr aelod anafus—yr hwn a gadwyd drwy y blynyddau mewn cyflwr diymarferiad—y mae hwnw byth yn parhâu yn fyr ac eiddil. Yr un fath a fuasai ei gorff oll pe cadwesid ef mewn cyflwr o lonyddwch didòr, *os* buasai efe byw. Ac nid ychydig o bwys sydd i'w roddi ar yr "os" hwna. Y tebygrwydd ydyw, mai wedi marw y buasai ymhell cyn cyrhaedd oedran gŵr; oblegid y mae ymarferiad yn anghenrheidiol tuag at fywyd y corff. Y mae yn rhaid i'r corff gael ei ymysgwyd a'i gynhyrfu yn ddiball er galluogi ei ranau tumewnol i gyflawni eu gorchwylion yn llwyddiannus—er cynnorthwyo cylchrediad a phuredd y gwaed—ac i'w alluogi i weithio allan yr elfenau afiachus sydd yn ymgasglu ac yn ymgrynhöi yn ei gyfansoddiad. Nid oes braidd ddim yn fwy anhebgorol nag ymarferiad, oddieithr ymborth ei hunan, er ei gadw yn "fyw ac yn iach."

Y mae ymarferiad yn anghenrheidiol hefyd er galluogi ei wahanol aelodau i gyflawni eu dyledswyddau. Mor egwan a diymadferth ydyw y baban. Nid oes braidd un crëadur a enir ar y ddaear yn fwy wrth drugaredd eraill nag ydyw ef. Nid oes ganddo yr amcan lleiaf at ddim, nac i wneuthur dim. Y mae yn rhaid ymboeni a llafurio i'w ddysgu, cyn y daw yn alluog i gyflawni y gwasanaeth lleiaf iddo ei hunan. Y mae ganddo lygaid, y mae yn wir; ond mor araf y mae yn dyfod i'w defnyddio trwy sylwi ar yr hyn sydd yn cymeryd lle o'i amgylch. Y mae ganddo glustiau; ond mor lleied o effaith y mae trwst a thwrf yn ei gael arno ar y cyntaf. A chynifer o fisoedd a dreiglant dros ei ben cyn y bydd yn meddu yr amcan lleiaf i arogli neu archwaethu yr hyn a roddir o'i flaen. Ond trwy ymarferiad—trwy fynych gyflawniad o'r un peth yn feunyddiol—y mae ei sylw o'r diwedd yn cael ei ddenu—y mae ei glustiau o'r diwedd yn ymagor, ac yn dysgu gwahaniaethu rhwng dystawrwydd a therfysg—a'i ffroenau a'i enau yn dyfod yn alluog i gyflawni eu dyledswyddau hwythau. Mor ddiamcan ydyw i wneuthur defnydd o'i ddwylaw a'i draed. Nis gall fantoli ei hunan i sefyll mwy nag y saif ffon ar ei phen. Ac mor araf y mae yn dysgu gwneuthur hyny, ac yn enwedig i gerdded a rhedeg. Ond y mae ymarferiad yn ei alluogi o'r diwedd i gyflawni yr hyn ag oedd yn anmhosiblrwydd ar y dechreu, gyda'r cyflymder mwyaf ag sydd yn ddichonadwy iddo. Mor hylaw y mae ei dafod a'i ddannedd yn gwasanaethu er parotôi ei ymborth yn gyfaddas i gael ei dderbyn gan y cylla. Mor fanwl

y mae yn dyfod i ffurfio barn am faintioli a phellder gwahanol wrthddrychau, yn unig drwy edrych arnynt. Ac y mae wedi cyrhaedd hyn oll drwy ymarferiad.

Ymarferiad hefyd sydd yn ei alluogi i roddi y wybodaeth a gyrhaedda ei feddwl mewn gweithrediad er ei gysur a'i ddedwyddwch yn y byd. Wrth edrych ar y dyn yn darllen gyda y fath fedrusrwydd a chyflymder—yn cipio y geiriau ar amrantiad oddiar y llyfr—yn rhoddi ei sain briodol i bob llythyren yn ddiarwybod, ac heb yn waethaf iddo ei hun—yn pwysleisio gyda y fath briodoldeb nes dadlenu meddwl yr awdwr, fel pe buasai efe ei hun yn ei fynegi,—ac edrych ar y plentyn, efo ei lyfr corn yn ei law, mor annyben, ac aflêr, ac anhylaw y mae efe yn ceisio swnio llythyrenau a geiriau,—y mae yn anmhosibl peidio synu at y gwahaniaeth. Neu, edrycher ar y llanc yn ysgrifenu. Mor deg ac mor fedrus y ffurfia efe ei lythyrenau a'i eiriau, ac mor gyflym y llunia efe hwynt ar y papyr wrth y miloedd—heb yr orchest na'r drafferth leiaf. Nis gall yr ysgrifenydd lai na rhyfeddu wrth deimlo mor ddiboen y mae ei bin yn ymlithro ar hyd y papyr sydd o'i flaen, ac yn trosi ei feddwl i eraill mor gywir ac mor gyflym, —pan yr edrycha yn ol arno ei hun, yn hogyn chwech oed yn yr ysgol, pryd y rhoddwyd iddo orchymyn y waith gyntaf i ddyfod a'i gopi yno drannoeth —gynifer o dudalenau a ddyfethodd efe yn dysgu llunio *strokes;* a phan y caniatäodd ei athraw iddo ddechreu gwneyd *curves*, y fath feddwl oedd ganddo o hono ei hun ei fod o'r diwedd yn dechreu troi allan yn ysgrifenydd. Ond fe dreiglodd blynyddau lawer dros ei ben cyn y cyrhaeddodd i'w fedrusrwydd a'i gyflymder presennol; ac ni wnaethai hyny byth heb ddygn a dyfal ymarferiad. Yr un modd y mae y cerddor yn dysgu chwareu ar ei offerynau, ac y mae y celfyddydwr yn dysgu ei gelfyddyd. Mor anhylaw ac afrosgo ydyw symudiadau bysedd y cyntaf pan yn dechreu ymarfer ar ei offerynau, a'r fath seiniau anhynod ag aflafar a wneir ganddo,—ond sylwer ar yr un person ymhen rhai blynyddau ar ol hyny, pan y mae ei fedrusrwydd a'i ragoroldeb yn hudo miloedd i'w weled a'i glywed,—pwy fuasai yn dychymygu fod yn bosibl i'r fath wahaniaeth gymeryd lle; ond fe'i heffeithiwyd gan ymarferiad. Neu, edrycher ar y celfyddydwr. Byddai tynu cymhariaeth rhwng yr un person pan yn ymaflyd yn ei waith y diwrnod cyntaf y dechreuodd dymmor ei egwyddor-rwymiad, â'r diwrnod y daeth yr amser hwnw i ben, yn nesu at fod yn wrthuni. Byddai yn gywilydd braidd gan y person ei hunan adgofio yr hyn a fu, gan mor ddifedr a dilun ydoedd gyda'i waith. Prin yr oedd ganddo amcan pa fodd i ymaflyd yn ei arfau gweithio y pryd hwnw. Pe dangosid siamplau o'i waith ar y naill adeg a'r llall ochr yn ochr, byddai yn ddigon i beri ammheuaeth yn meddyliau yr edrychwyr o ddilysedd yr enghreifftiau; ond eto, byddai yr olygfa yn un lawn o addysg. Anmhosibl fyddai taro wrth un enghraifft ragorach o rym ymarferiad. Hyn yn unig sydd yn peri y gwahaniaeth. Hyn sydd yn galluogi y llygaid, y dwylaw, a'r traed, i gydweithredu mor gywir a chyson, er ei alluogi i gyflawni ei waith yn ddeheuig a phrydferth. Ymarferiad sydd yn galluogi y gôf i weithio yr haiarn, a'i blygu, a'i ystumio i bob ffurf yn ol ei ddewisiad. Trwyddi hi y mae y saer yn medru llunio y pren garw ceinciog, a'r adeiladydd y maen hyll aflunaidd, yn gymhwys at y dyben fyddo ganddynt mewn golwg. Edrycher ar yr argraffydd wrth ei waith yn casglu ac yn cysodi y llythyrenau. Mor gyflym ac mor reolaidd y mae ei law yn ymsymud, ac yn cipio llythyren i

fyny bob ysgogiad a wna, gan ei throsi mewn eiliad yn ei lle priodol; ac os dygwydd fod y naill lythyren wedi myned ar grwydr i diriogaeth y llall, y mae y celfyddwr medrus bron yn sicr o'i darganfod wrth "synwyr y fawd," o herwydd y mae drwy gynnefindra yn dyfod i ddeall i raddau helaeth y gwahaniaeth rhwng y naill a'r llall oblegid eu trwch. Y mae hon yn arbenig yn gelfyddyd ymarferiad. Nid oes na gwybodaeth na dysg, er eu bod hwy yn fanteisiol, ac i raddau yn angenrheidiol, a wna ddyn yn argraffydd; y mae yn rhaid wrth flynyddoedd o ymarferiad cyn y bydd yn alluog i ennill ei fara. Ond i ba beth y nodwn wahanol gelfyddydau fel hyn? Ac os awn ymlaen, ymha le y terfynwn? Y mae yn sicr fod y naill gelfyddyd yn gofyn mwy o gywreinrwydd er ei meistroli na chelfyddyd arall, eithr ni chyrhaeddir medrusrwydd mewn cymaint ag un, pa mor ayml bynag y byddo, ond drwy ymarferiad. Drwyddi hi y galluogir rhai i ddarparu bwyd yn briodol i'r cylla—gwisgoedd yn drefnus am y cefn,—esgidiau yn gysurus am y traed—a gorchudd cyfaddas am y pen. Heb ymarferiad ni fyddai genym dŷ diddos cysurus i drigo ynddo. Byddem yn amddifad o bob mwyniant daearol sydd genym. Pe ein hamddifedid o'r fendith hon, byddem yn fwy truenus na bwystfilod y goedwig, ïe, elai ein bywyd ei hunan yn faich trwm arnom.

Y mae ymarferiad yn dylanwadu yn rymus ar dymherau dynion. Y mae yn hen sylw cyffredin erbyn hyn, nad oes dim unffurfiaeth i'w gael yn ngweithredoedd Duw—eu bod oll yn cael eu nodweddu âg amrywiaeth diderfyn—nad oes cymaint â deilen yn holl goedwigoedd y byd, na glaswelltyn yn tyfu ar hyd y ddaear, yn gwbl yr un fath. Ac nid yw yn ddim amgen na'r hyn a fuasem yn ei ddysgwyl. Nid gwastraff ar ddoethineb a gallu ydyw cynnyrchiad yr amrywiaeth yma. Gallasai hyny fod yn wir, mewn rhan, am ddyn, pe buasai yn alluog i wneyd rhywbeth yn gyffelyb. Ond am Dduw, y mae yn anmhosibl iddo Ef wneuthur gormod. Y mae ei allu Ef yn annherfynol, a'i ddoethineb yn ddiball; ac y mae yn rhaid iddo Ef bentyru yr amlygiadau o hyny yn afradus, i olwg dyn, cyn y gall gael lle i arddangos y trysorau anhysbyddadwy sydd ynddo. Pa fodd bynag, os ydyw hyn yn wirionedd, nid ydyw tymherau dynion yn eithriad ymhlith ei weithredoedd Ef. Y mae y rhai hyn mor amrywiaethol ag ydyw wynebau dynion. Y mae tymher un yn fywiog a sydyn, ac eiddo y llall yn siriol a hawddgar; eiddo y naill yn araf a phwyllog, ac eiddo y llall yn drwm a phruddaidd. Ac y maent fel hyn wrth naturiaeth. Y mae eu hansawdd yn gwbl wahanol. Byddai dysgwyl i'r naill weithredu a theimlo yn gymhwys yr un fath â'r llall yn ynfydrwydd. Pe byddai y peth yn bosibl, effaith dynwarediad, nid natur, a fyddai hyny. Nis gellir gosod un safon—un cynllun—wrth ba un y dylem ffurfio ein tymherau. Ac nid oes anghen am yr un—y maent wedi eu gwneyd yn amrywiaethol, fel y maent, gan Law fawr Anffaeledig. Y mae prydferthwch, cyfaddasder, a daioni yn ymddangos i ni yn y trefniad hwn. Hyn i raddau helaeth sydd yn rhoddi gwerth ar gymdeithas,—yn ein galluogi i fwynhâu ac ymbleseru y naill yn nghwmni y llall. Er hyny, y mae gan ymarferiad ddylanwad grymus er cadw, trefnu, a llywodraethu y tymherau, a'u gwneyd yn gysurus i ni ac eraill o'n hamgylch. Trwy ymarferiad y mae tymher fywiog a sydyn, naill ai yn ymollwng yn wyllt ac aflywodraethus, nes myned yn boenus a pheryglus i bawb nesâu at ei pherchenog, neu ynte yn cael ei chadw o fewn terfynau rhesymol. Trwy ymarferiad y mae y dymher siriol a hawddgar, naill ai yn ymollwng

i bob ysgafnder a gwegi, ac yn hudo ei meddiannydd i redeg i bob oferedd a ffolineb, neu yn cael ei rheoli yn y fath fodd nes y mae yn cyfranu dedwyddwch, cysur, a dyddanwch iddo ei hun a phawb o'i amgylch. Ac yn gyffelyb gyda y tymherau pwyllog a phruddaidd,—ymollynga y naill, trwy ymarferiad, i gyndynrwydd adgas, a'r llall i sarugrwydd annyoddefol,—neu ynte fe'u cedwir i droi mewn cyfeiriad gwahanol. Yn wir, y mae modd, drwy ymarferiad, liniaru a rheoli y tymherau mwyaf aflywodraethus; ac o'r tu arall, gall rhai a gyfrifid unwaith yn lled hynaws eu tymherau, drwy roi y ffrwyn iddynt, ac arfer ymollwng yn wyneb pob esgus o gynhyrfiad, fyned o'r diwedd yn nodedig am eu gwylltineb a'u sarugrwydd.

Y mae gan ymarferiad ddylanwad mawr ar chwantau dynion. Y mae gormod o duedd ynom, ambell dro, i siarad am chwantau fel pethau ag y dylid ymhob modd eu gochelyd—pethau nad yw yn gyfreithlawn i ddyn o gwbl eu llochesu, ac yn enwedig cydymffurfio â hwy. Y mae hwn yn olygiad annheg ar y mater. Nid yn y chwantau, fel y cyfryw, y mae y niwed; ond yn y gwrthddrychau a chwennychir genym, os bydd y rhai hyny yn gyfryw ag a fyddo yn tueddu i ddarostwng neu halogi dyn. Y mae yr un mor bosibl mynwesu chwantau sydd yn oddefol a chymeradwy, ag ydyw llochesu rhai anghymeradwy a halogedig. Dichon, ar yr un pryd, fod *arferiad cyffredin* yn cyfreithloni cysylltu y drychfeddwl a nodwyd ynglŷn â'r gair; oblegid felly y mae y werin yn arfer meddwl a synied am dano. Ond y mae gan ymarferiad ddylanwad mawr yn rheoleiddiad chwantau dynion, ac yn nghrëad ambell fath o flysiau neu chwantau. Yr ydym weithiau yn gweled ymarferiad yn gallu cyfnewid archwaeth dyn yn llwyr—yn gweled pethau ag oedd yn ffieidd-dra anorchfygol ar y cyntaf yn dyfod yn ffynnonell mwynhâd. Nid oedd dim yn fwy croes i'r teimlad ar y dechre na chnoi neu chwiffio myglys; ond y mae ymarferiad yn gwneyd hyny yn hyfrydwch a phleser nad oes modd ei draethu. Y mae ymarferiad âg yfed diodydd gwirfol a meddwol yn crëu chwant anniwalladwy am danynt. Nid oes dim na wna y dyn sydd wedi ymarfer digon â hwy, er eu cael. Efe a'i hymddifada ei hun o bob cysuron. Seria ei deimladau yn y fath fodd fel y gall edrych ar y rhai anwylaf ganddo ar y ddaear yn dyoddef newyn a noethni, a phob adfydau, ond iddo ef gael porthi ei chwantau aflywodraethus am ddiod gref. Ac yn gyffelyb y mae gyda golwg ar bob peth ag y gall dyn ei chwennychu. Drwy arfer boddhâu pob chwant am bethau ofer a diles, y mae un yn myned o'r diwedd fel nas gall fyw hebddynt; a thrwy arfer rheoli ei flysiau a'i chwantau y mae y llall yn teimlo ei hun yn gysurus wrth wrthod pethau ag y mae eraill braidd yn wallgof am danynt, pan y gwel fod ynddynt duedd i'w niweidio mewn unrhyw fodd; ac felly yn cael ei alluogi i drysori iddo ei hun foddion i foddhâu ei chwantau mewn pethau ag sydd yn deilwng o hono ei hun fel crëadur cyfrifol am ei holl ymddygiadau.

Ond y mae ymarferiad hefyd yn cario dylanwad grymus ar egwyddorion moesol y galon. Nid ydym yn teimlo fod un galwad am i ni ymyraeth â Duwinyddiaeth yn y fan hon,—i ymholi pa un a ydyw dyn wrth natur yn bechadur—yn wreiddiol lygredig—neu nad yw? a pha un a ydyw yn anghenrheidiol am waith arbenigol o eiddo Ysbryd y gras ar ei galon er ei dröedigaeth, ai nad yw? Ond ni a giliwn o'r neilldu heb gyffwrdd â'r pynciau yna, ac edrychwn yn hollol ar ffeithiau,—fel y mae dyn yn byw—felly yr edrychwn ni arno, ac wrth hyny y barnwn ansawdd ei galon.

Ac yma y mae yn rhaid i ni gydnabod nas gwelsom erioed yr un dyn perffaith dda, na'r un ychwaith yn berffaith ddrygionus. Y mae rhyw bethau canmoladwy i'w gweled yn nghymeriad y mwyaf annuwiol, a rhyw wendidau i'w gochel i'w gweled yn mywyd y mwyaf duwiol. Ni chlywsom ni ond am un cymeriad perffaith ar y ddaear, ac yr oedd hwnw yn Dduw mewn cnawd. Ond y mae hyn yn ddiammheuol,—y mae ymarferiad yn gwneyd yr annuwiol yn annuwiolach, ac y mae hefyd yn gwneyd y duwiol yn dduwiolach. Gan nad pa mor annuwiol y gall dyn fyned, nid ar unwaith y mae yn myned felly. Nis gall gyrhaedd rhyw arbenigrwydd mawr mewn drygioni mewn un dydd. Y mae hadau llygredigaeth, y mae yn wir, yn blanedig yn ei galon, ac y maent yno yn cael dyfnder daear, a hono o natur gyfaddas a chydweddol â'u hanian; ond nid yn union y maent yn tyfu ac yn ymddangos yn brenau mawrion. Y mae yn cyrhaedd y nôd hwnw yn raddol, bob yn ychydig. Y mae yn ymddangos ar y dechreu yn flagur gwan; ond y mae yn parhâus gynnyddu ac ymledu, nes y gwelir ef o'r diwedd yn ddigon uchel i dynu sylw cyffredinol ato. Y mae hwna yn ddangosiad digon naturiol o'r dull y cynnydda dyn mewn drygioni. Rhyw bechodau bychain, mewn cymhariaeth, a gyflawna efe ar y cyntaf. Digon prin y gellir dyweyd ar lawer adeg pa un a ydynt yn bechodau ai peidio. Ond y mae yn myned hyfach, hyfach—yn ymollwng yn bellach, bellach i lygredigaeth, nes y canfyddir ef o'r diwedd yn adyn digon caled i sathru deddfau Duw a dyn gyda pherffaith ddibrisdod o dan ei draed. Ni bu dau ddyn yn preswylio ymhlith dynion o'r braidd mor orlawn mewn drygioni a chreulondeb ag ydoedd Caligula a Nero; ond nid ar unwaith y cyrhaeddasant i'r arbenigrwydd annymunol sydd yn gysylltiedig â'u henwau. Ar ddechreuad ei deyrnasiad, fe ddangosodd Caligula gryn arwyddion o diriondeb a thynerwch. Gallesid dysgwyl y buasai yn troi allan yn deyrn lled ddymunol. Efe a ryddhäodd luoedd o garcharorion y llywodraeth—helaethodd derfynau awdurdod yr ynadon, a chyfyngodd gryn lawer ar ei awdurdod ei hun, ragor yr hyn a fwynheid gan ei ragflaenoriaid. Yr oedd efe yn ymgodi yn gyflym i barch ac edmygedd ei ddeiliaid. Ond bob yn ychydig, efe a ddaeth yn un o'r dynion creulonaf a sangodd ddaear. Efe a ymwelai â'r carcharau, ac a orchymynai i'r holl garcharorion, pa un bynag a fyddent yn euog neu beidio, gael eu dwyn allan, a'u bwrw i ganol bwystfilod gwylltion. Ac ambell dro, pan na fyddai wedi ei foddhâu yn ddigon gan echryslonrwydd yr olygfa, a'i syched am waed wedi cael ei dori, gorchymynai i'r milwyr ruthro ar nifer o'r edrychwyr, ac wedi tynu ymaith eu tafodau, fel na phoenent ef â'u hymbiliau, fe'u teflid i fysg y lleill. "Nid oedd na hen nac ieuanc, na gelyn na chyfaill, yn ddiogel, fel na chymerai hyfrydwch yn eu poeni a'u lladd." Ac nid oedd Nero ychwaith yn fwy dideimlad ac ysgeler na dynion eraill ar y cyntaf. Efe a ddechreuodd ei yrfa drwy gyflawni mân-greulonderau, megys aflonyddu ar y dinasyddion ar hyd yr heolydd yn y nos, ac yspeilio eu tai. Ond wrth ymarfer â chreulondeb, cafodd flas arno; ac ni orphwysodd nes gwneuthur ei enw yn ddiareb ac yn rheg ymysg dynion. Yn gyffelyb y mae pob anfad-ddyn yn myned ymlaen yn ei yrfa. Trwy ymarferiad y galluogir ef i wisgo ymaith yr ychydig ddaioni oedd yn ei galon, nes yr ä o'r diwedd yn ddim amgen na chythraul ymgnawdoledig.

Ond y mae ymarferiad yn gwneyd y duwiol hefyd yn dduwiolach. Er y dichon fod ei fywyd yn gadwedig drwy ymorphwysiad ei enaid ar Wared-

wr croeshoeliedig yr efengyl, eto nid yw efe ar y cyntaf ond "un bach yn Nghrist." Plentyn bychan, egwan ydyw. Ac fel y cyfryw yr ymddygir ato. Y mae i gael ei borthi, ar y dechreu, fel "un bychan newydd eni ar ddidwyll laeth y gair." Ond yn raddol y mae yn dyfod ymlaen—yn "cynnyddu drwyddo ef," nes y galluogir ef o'r diwedd i ymborthi ar y "bwyd cryf" a ddarparwyd i'r "rhai cryfion." Er y siaredir am dano yn yr ymadrodd hyn a'u cyffelyb fel goddefydd, eto mewn gwirionedd gweithredydd ydyw ef. O herwydd gwendid ein deall y lleferir wrthym yn aml megys wrth blant bychain. Y mae y cristion i lafurio am wybodaeth o eiriau Duw; a thrwy fynych ymarferiad â hwy—trwy fynych fyfyrio a throi dalenau y Gair, y mae yn dyfod i ddeall ewyllys ei Dad yn lled fedrus. Yn wir, bywyd o ymarferiad parhâus ydyw bywyd y duwiol i fod. Y mae temtasiynau lawer iddo i'w cyfarfod, ac nid oes modd iddo allu eu gwrthsefyll, ond drwy "wisgo am dano holl arfogaeth Duw." Mor anfedrus a thrwsgl y mae efe yn cyflwyno ei ddymuniadau a'i erfyniadau ger bron "gorsedd y nefol rad," ar y dechreu; ond y mae efe drwy ymarferiad yn ennill "hyder" yn barhâus. "Ocheneidiau" gweiniaid oeddynt ar y cyntaf; ond y mae ymarferiad yn ei alluogi o'r diwedd i "ymddyddan megys wyneb yn wyneb, fel y llefarai gŵr wrth ei gyfaill." Nid ar unwaith y cyrhaedda efe i enwogrwydd mewn gras nac yn nghysuron yr efengyl; ond trwy "barhâu yn gwneuthur daioni," a thrwy "ddyfal-barhâu mewn gweddi," a thrwy "aros yn ofn yr Arglwydd ar hyd y dydd," y mae efe yn cael ei alluogi i ymgodi yn lled uchel yn y breintiau goruchel a nodwyd, sydd yn perthyn yn unig i deulu Duw.

Yn ddiau, y mae grym mewn ymarferiad. Y mae dyn yn fwy o dan ddylanwad yr egwyddor yma nag un arall. Nid oes dim yn fwy o fendith, nac yn fwy o felldith. Drwy ymarferiad, galluogir ef naill ai i esgyn i'r nef, neu i ddisgyn i uffern. Y mae effaith ei ymarferiadau yn y byd hwn i lynu wrtho byth. Bydded i'r gwrthddrychau y mae a wnelom â hwy yma fod yn gyfryw ag na raid i ni gywilyddio eu harddel yn y dydd y dadguddir dirgeloedd dynion. Y mae o'r pwys mwyaf gosod yr oes sy yn codi ar y ffordd iawn—eu cyfarwyddo i rodio llwybrau uniondeb—eu "hyfforddi ymhen eu ffordd." Fel y cyfarwyddir hwy, felly, y mae yn fwy na thebyg, y rhodiant ar hyd eu bywyd. Tröer eu meddyliau i ymarfer â phob peth ag sydd â thuedd ynddo i ogoneddu Duw, ac i lesâu dynion; oblegid dyna yw gorchwylion mawr dyn yn y bywyd hwn. Cânt yma ddigon i ymarfer âg ef, am amser; ac wedi gorphen eu dydd, cânt dderbyniad croesawgar i'r breswylfa lonydd,—cânt glywed y gwahoddiad cysurus,—"Da, was da a ffyddlawn, tyred i mewn i lawenydd dy Arglwydd.'

# MYFYRION AR DDYNION AC AR DDONIAU.

O NOD-LYFR GWEHEDYDD VYCHAN.

I.

NA ddysgwyliwch i blant dynion weled gwirionedd *cyn* iddo gael ei ddangos iddynt, canys y mae y rhan fwyaf yn methu ei weled *ar ol* ei ddangos.

II.

Gadewch i bobl eraill, os mynwch, brynu i chwi fuwch neu geffyl; ond am brynu llyfr, neu ddewis gwraig, na adewch i neb farnu drosoch.

III.

Mae y meddwl galluog, nid yn unig yn amlygu ei ddawn ei hun, ond, yn deffro doniau mewn eraill; mae dawn yn enyn dawn, fel mae y naill ganwyll yn cael ei goleuo wrth oleu y ganwyll arall.

IV.

Beth yw coethder chwaeth? Tebyg ydyw i'r synwyr hwnw yn y wenynen sydd yn canfod ac yn dethol y mêl o bob blodeuyn, ac yn gadael heibio y pethau difaeth.

V.

Lle mae un dyn yn barnu oddiar reswm, cewch ugain o ddynion i farnu naill ai oddiar nwyd neu ynte o herwydd fod y lliaws yn barnu felly.

VI.

Mae yn anhawdd iawn gan lawer dyn ddywedyd *Nis gwn*, rhag ofn iddo ei iselu ei hun yn ngolwg eraill; ond cymeryd arno wybod yr hyn nad yw sydd yn ei iselu mewn gwirionedd.

VII.

Diffyg mawr llawer o siaradwyr dawnus yw, nid methu myned yn eu blaenau, ond methu gwybod pa le i aros ar ol cychwyn.

VIII.

Mae yn berygl i lefarwr cyhoeddus fyned i ymddiried ar ei ddawn siarad ac i anghofio meddwl. Byddai gan lawer un *fwy* o synwyr i'w ddywedyd, pe byddai ganddo *lai* o eiriau.

IX.

Gall dyn wrth ddarllen llawer fyned yn wybodus, ond nid heb feddwl llawer y gall fyned yn ddoeth.

X.

Os gall "un o'n gohebwyr" gyfansoddi traethawd mewn deuddydd, dylai drachefn gymeryd un diwrnod cyfan i'w ddiwygio a'i gwtogi cyn ei anfon ymaith at "Mr. Golygydd."

XI.

Mae y meddwl drwgdybus, neu y meddwl ofergoelus, yn gyffredin yn un rhy wan i'w resymu allan o'i ddrwgdyb neu ei ofergoeledd.

XII.

Fel nad yw llygad y corff wedi ei gyfaddasu i edrych yn uniongyrchol ar ddysgleirder yr haul, felly nid yw llygad y meddwl yn ddigon cryf, yn y byd hwn, i ddal llewyrch llawn y gwirionedd.

XIII.

Mae dyn cyhoeddus yn debyg i lechdöwr; mae yn araf yn dringo i ben yr ysgol, ond yn dyfod yn dra chyflym i lawr.

XIV.

Bydded pregethwr a swyddog eglwysig mor ddiargyhoedd ag y byddont, os ä rhywun i feio ar y naill neu y llall, bydd hwnw yn sicr o gael plaid i gydsynio âg ef.

XV.

Mae y difeddwl yn gwneyd pleser yn waith, ond y synwyrol yn gwneyd gwaith yn bleser.

XVI.

Gwell o lawer yw i chwi gael dyn o gymeriad isel yn elyn, nag i chwi ei gymeryd yn gyfaill.

XVII.

Mae yr ieuanc yn fynych yn anghofio y gall efe fyned yn hen, ac y mae yr hen mor fynych yn anghofio iddo yntau fod unwaith yn ieuanc.

XVIII.

Mae rhai dynion fel y *samplers* a wneir gan enethod, yn deg a phrydferth ar un ochr, ond yn anghryno a gerwin ar yr ochr arall.

XIX.

Y crëadur sydd wedi disgyn i bwll isaf tlodi a gwarth trwy ei ymarferiad â gwlybyroedd meddwol, nid yw efe heb fod o ryw defnydd i'r byd; canys y mae yn gwasanaethu fel mynegpost i ddangos y ffordd i ddinystr.

XX.

Cymhellir ambell ddyn i wneuthur cymwynas am fod hyny yn rhoi gradd o iselhâd ar y nêb fydd yn derbyn, a mawrhâd, wrth gwrs, arno ef ei hun.

XXI.

Adwaenom rai dynion nad ydynt byth yn canmawl pobl eraill ond fel arweiniad i mewn i achwyn arnynt, nac yn achwyn arnynt eu hunain ond fel rhagymadrodd i'w canmawl eu hunain.

XXII.

Nid oes dim yn nôd sicrach o feddwl bychan na cheisio dynwared pethau allanol dyn o feddwl mawr; ac, ysywaeth! nid oes dim yn fwy cyffredin.

XXIII.

Gwelwyd rhai dynion, er eu bod trwy siarad am bob peth, ac ymyraeth â phob peth, wedi eu gwneyd eu hunain yn rhad iawn, yn synu yn fawr am fod pobl yn rhoi càn lleied o bris arnynt.

XXIV.

Yr achos fod rhagoriaethau ymddangosiadol yn pasio mor dda yn y byd ydyw, fod rhagoriaethau gwirioneddol mor anfynych yn agos i'w cymharu wrthynt.

XXV.

Mae dyn yn dueddol i addef ei feiau yn y rhif lïosog, ac i'w gwadu yn y rhif unigol.

XXVI.

Y peth cyntaf gan lawer o ddynion yw yr ochr a gymerant; *ail* beth ganddynt yw y rhesymau sydd i'w rhoddi dros yr ochr hono.

XXVII.

Anaml iawn y mae dynion yn dygwydd siarad yn wael am danynt eu hunain ond mewn lle y bydd pob tebygrwydd y cânt eu gwrthddyweyd.

XXVIII.

Mae y siaradwr didaw yn dangos llai o synwyr na physgodyn cocos, gan nad yw hwnw byth yn agor ei enau ond pan mae y llanw yn dyfod i mewn.

XXIX.

Dylai merch sydd yn hoff o siarad llawer gael dyn mûd a byddar yn ŵr iddi, gan y cai felly yr holl siarad iddi ei hun, heb neb i'w rhwystro.

XXX.

Meddygon, meddir, yw y rhai salwaf i farnu am eu hanhwylderau eu hunain; ac felly awdwyr, pa un ai mewn rhyddiaeth ai barddoniaeth, yw y rhai anghymhwysaf i fod yn feirniaid ar eu gwaith eu hunain.

XXXI.

Nid oes neb yn fwy diallu i fyw yn gysurus na hen lanc yn ei dŷ ei hun heb chwaer ofalus i edrych ar ei ôl.

XXXII.

Dyn anffodus ac anhapus yw hwnw y mae ynddo ysfa aflonydd am wybod helyntoedd pobl eraill.

XXXIII.

Arian wedi eu hir gadw, pan unwaith y cânt awyr a rhyddid, a ehedant ymaith i bob cyfeiriad.

XXXIV.

Nid oes un dyn yn annibynol, a siarad yn fanylaidd. Gall y crydd, os dewisa, orfodi y pendefig i gerdded yn nhraed ei hosanau.

XXXV.

Y mae teulu yn debyg i awrlais, lle mae gan bob olwyn ryw swydd i'w chyflawni, a lle mae y lleiaf, pan heb fod yn ei lle, yn anhwyluso y cwbl.

XXXVI.

Dylai dyn ddewis gwraig wrth ei glustiau yn llawer mwy nag wrth ei lygaid.

XXXVII.

Dyn yw yr unig anifail sydd yn arfer yfed heb fod yn sychedig.

XXXVIII.

Yr un egwyddor lygredig ag sydd yn arwain rhai dynion penrhydd i ddywedyd, "Nid oes un Duw," sydd yn peri i rai eraill sydd eto heb gyrhaedd cymaint o addfedrwydd mewn annuwioldeb, ddywedyd yn erbyn yr athrawiaeth am fanylrwydd rhagluniaeth Duw.

XXXIX.

Nid yw y rhan fwyaf o'r hyn a elwir yn feddyliau gwreiddiol mewn awdwr neu bregethwr yn ddim amgen, o ran sylwedd, na syniadau a aethant trwy ymenyddiau myrdd o bobl o'r blaen, ond eu bod heb eu traethu mor gryno a grymus, os traethwyd hwy o gwbl.

XL.

Yr areithiwr effeithiol yw hwnw sydd â'i feddwl wedi ei lyncu i fyny yn ei bwnc, ac nid yn manylu yn drafferthus ynghylch dull y traddodiad.

XLI.

Mae llawer o'r dynion goreu a fu yn y byd erioed wedi byw a marw mewn anenwogrwydd, ac nid yw eu henwau ar gael ond yn llyfr coffadwriaeth Duw. Ond darllenir hwnw ar gyhoedd yr holl fydoedd eto; ac yna cânt enw ymhob man ac am byth.

# SAESON YN ESGOBION YN NGHYMRU.

[*On the Inexpediency, Folly, and Sin of a* "BARBARIAN EPISCOPATE" *in a Christian Principality, being a Protest against the Illegal, Uncanonical, and Unchristian Intrusion into the Episcopal Sees in Wales, of Prelates unable to discharge the Necessary Duties of their Office. By* JOHN WILLIAMS, *A.M., Oxon., Archdeacon of Cardigan.* London: Hughes and Butler].

"CAS gŵr ni charo y wlad a'i maco," medd un o hen ddiarebion y Cymry. Pa le bynag y gwelir y casddyn hwnw, amlwg ydyw fod hybarch Archddiacon Ceredigion yn eithaf pell oddiwrth y fath un. Y mae Mr. Williams yn cael ei restru yn gyfiawn ymysg y rhai penaf o ysgoleigion a henafiaethwyr ein teyrnas; a chafodd ddeniadau a themtasiynau ddigon i wadu Cymru a Chymraeg. Ond y mae efe yn para yn ffyddlawn i geisio daioni i wlad ei dadau, ac yn gwneyd ei oreu i gywire prophwydoliaeth Taliesin am ei genedl dros byth, "Eu hiaith a gadwant." Trwy ei ysgrifeniadau dysgedig, yn enwedig ei "*Gomer*," a'i "*Essays on Various Subjects*," y mae efe wedi dadlenu urddas a rhagoriaethau y Gymraeg i lênogion y Saeson a chenedloedd eraill, gan brofi yn anwadadwy ei bod yn deilwng o bob anrhydedd ac anllygredigaeth. Gwelir weithiau ieithyddwyr mawrion ac ysgoleigion enwog yn aros gyda phenddysg diddyben ac anymarferadwy, yn eu difyru eu hunain ac heb lesâu neb â'u hefrydiau clasurol; eithr nid gyda y cyfryw ddosbarth yr erys yr Archddiacon Williams; canys y mae ei ben, ei galon, a'i law yn gysegredig i wasanaethu ei genedlaeth. Nid yw ei gydnabyddiaeth â "blynyddoedd yr hen oesau" yn ei rwystro i gymeryd sylw ar amgylchiadau a rheidiau yr oes hon; ac, "o bob sain ac o bawb sydd," at yr Omeraeg a'r bobl sydd yn ei siarad, y mae ei feddwl, dybygid, yn rhedeg fynychaf ac yn aros hwyaf. Mae y llyfryn sydd yn awr ger ein bron yn arddangos Cymro diledryw, gonest ei galon, craff ei olwg, a grymus ei lafar, un a ddywed ei feddwl yn ol fel y mae yn gweled ac yn teimlo, heb ofni wyneb dyn. Gwelir ei fod fel Eglwyswr, fel yr oedd yn naturiol dysgwyl, yn caru yr Eglwys y mae yn swyddwr arddunedig ynddi, tra y mae fel gwir Frythoniad yn caru hen iaith y Brython, "cangeniaith gysefin (fel y dywed) o'r iaith Indo-Ewropëaidd fawreddus;" a chan fod uchelwyr yn ceisio attegu eu Heglwys yn y Dywysogaeth ar draul y Gymraeg, mae yn cŵyno yn chwerw wrth weled yr Eglwys Sefydledig yn ei dyfetha ei hun yn Nghymru.

Mae teitl y llyfr, fel y canfyddir uchod, agos yn ymresymiad cyflawn ynddo ei hun; ac yn dangos fod yr awdwr yn myned at ei bwnc o ddifrif. Ni a roddwn i'n darllenwyr frâs olwg ar gynnwysiad y gwaith, heb chwanegu ond ychydig sylwadau o'r eiddom ein hunain. Cynnwysa bump o lythyrau, y pedwar cyntaf o ba rai a gyhoeddwyd yn y *Carnarvon Herald*, gyda yr enw "Brawdol," oll ar y testun, "Esgobion Seisonig mewn Esgobaethau Cymreig." Yn nechreu y llythyr cyntaf, mae yr awdwr parchedig yn ymosod ar ei bwnc rhag blaen, heb un math o ragymadrodd, gan ddyweyd, "Mae yn llawn bryd i'r cwestiwn gael ei benderfynu gan y

cyffredin, pa un a ydyw y penodiad i Esgobaethau Cymru o glerigwyr Seisonig, hollol anghymhwys i gyflawni ei dyledswyddau llëol trwy arferion blaenorol o anwybodaeth a rhagfarnau dyfnreddfol, i beidio neu i barhâu er gwarthrudd i synwyr cyffredin a sarhâd i'r Dywysogaeth." Y prif reswm, medd efe, a ddygir ymlaen, ymysg pobl fawr Llundain dros y cyfryw benodiad chwithig ac anghyson ydyw y dymunoldeb o oruchafiaeth y Saesoneg ar y Gymraeg, fel na byddo dim rhwystr ar ffordd yr undeb agosaf rhwng Cymru a Saeson. Fe fyddai hyny yn beth digon cysurus, addefa ein hawdwr, pe gellid ei gwblhâu trwy fodd ac ewyllys da y naill genedl a'r llall. Ond nis gellir gwneyd hyny. Mae y Cymro yn etifeddu oddiwrth linell hir o henafiaid seiniau lleisiol a hynodion cydseiniol penodol sydd yn ei luddias rhag efelychu yn llwyddiannus ddywed-ddull iaith estronol i'w glustiau. Nid oes dim ond amser yn unig, gyda chyfundeb o amgylchiadau ffafriol eraill, a all symud yr attalglawdd naturiol hwn, a gwneuthur dwy genedl fuont yn ysgaredig mor hir, i fod o un wefus a thafod. Daeth Llywodraeth Lloegr, yn enwedig ar ol dyfodiad Teulu Hanover i'r orsedd, yn rhy ddiamynedd i aros wrth waith amser, a meddyliasant mai un peth mawr a dueddai at daflu heibio y Gymraeg a fyddai bod yr holl urddasolion eglwysig yn Nghymru yn Saeson pur. Yr oedd corff mawr y pendefigion a'r prif foneddwyr yn y Dywysogaeth yn bleidiol i hynyma, gan eu bod hwy wedi dyfod yn dra Seisnigaidd eu hunain. Ond yr oeddynt yn methu cael lliaws y bobl i ymgymeryd â'r ysgogiad hwn; ac oddiyma y mae fod llai o gyfundeb, cydfeddwl, a chydweithrediad rhwng y bobl â'r gwŷr mawrion yn Nghymru, nag sydd rhwng y cyfryw ddosbarthiadau yn Lloegr. Canlyniad y gyfundrefn hon oedd iselhâd y corff o offeiriaid yn Nghymru, y rhai, yn enwedig tua chanol a diwedd y ganrif ddiweddaf, nid anrhydeddid gan y mawrion, ac ni pherchid gan y bobl. Nid oedd gweinidogaeth y clerigwyr a osodid arnynt gan eu harolygwyr estronol, yn gwneyd y tro gan y Cymry; ac oddiyma y cychwynodd yr ysgogiad sydd wedi dybenu mewn gwneuthur pum rhan o chwech o'r boblogaeth sydd yn siarad Cymraeg yn Ymneillduwyr.

Felly, fel pwnc o ddyfais wladol, gwelir fod trawsymwthiad esgobion o Saeson i esgobaethau Cymreig, yn hollol fethiant, os y nôd ydoedd prysuro yr amser i'r Cymro ymwrthod â'i iaith a'i lênyddiaeth frodorol, a dyfod yn Sais undafodog. Cyn sefydliad y Diwygiad Protestanaidd yn y wlad hon, nid oedd o nemor bwys pa un a ydoedd esgob Pabaidd yn gydnabyddus â iaith siaradedig y bobl yr oedd yn dal arolygiad ysbrydol arnynt, ai peidio,—gan fod y sacramentau yn cael eu gweinyddu, ac addoliad yn cael ei gadw, yn yr hen Ladin barchus, yr hon, fel y credid yn gyffredin, yr oedd y seintiau yn dewis cael eu cyfarch ynddi, ac oedd yn arswyd arbenig i'r ysbrydion drwg. Ond erbyn y dyddiau hyn, y mae synwyr cyffredin yn mynu gwrandawiad, hyd yn nôd yn y gwledydd Pabaidd mwyaf rhagfarnllyd, fel y byddai yn bur anhawdd cael esgob yn eglwys Rhufain heb fedru yn hyawdl gyfarch pobl ei esgobaeth yn eu hiaith gynnwynol eu hunain. Nid yw yn debyg y gallai Ymherawdwr Awstria, pe felly y byddai ei duedd, lwyddo i gael gan y Pab gydsynio i osod offeiriad o dafodiaith Allmaenaidd yn esgob yn un parth o Italy.

Yr oedd yr awdwr rywbryd yn ddiweddar yn ymddyddan â chyfreithiwr eglwysyddol o enwogrwydd ar y mater hwn, pan yr oedd hwnw yn synu, ac yn gofyn pa fodd nad ydoedd gweithrediad niweidiol y gyfundrefn dan sylw—

pe yn *drefn* o gwbl—yn fwy adnabyddus, ac yn cael ei wasgu ar sylw y llywodraeth. Yr oedd yr ateb i'r perwyl canlynol:—

"Y mae y clerigwyr gweithiol yn Nghymru, o herwydd tlodi y bywioliaethau, yn ddibynol yn gyffredin ar eu hesgob, gan yr hwn yn unig y mae yr awdurdod o benderfynu pa un a gaiff y rheolau am breswyliad clerigwr yn ei blwyf eu gosod mewn grym neu ynte eu llacio er mwyn cyfleusdra, a pha un a gaiff dau wasanaeth ar y Sabbath eu hestyn i bob plwyf, neu randiroedd mawrion eu cyfyngu at un gwasanaeth, gyda llawer o byngciau eraill ynghylch amlblwyfogaeth, &c. Ar bob achlysur o'r fath y mae llawer yn dibynu ar y wedd ffafriol neu anffafriol yr edrychir ar y person gan yr esgob. Cafodd y wlad gipolwg ar sefyllfa wirioneddol y cyfryw bethau mewn esgobaeth Gymreig oddiwrth ysgrifau anfwyn esgob presennol Bangor, pan y tybiodd fod clerigwr anffodus wedi gwrthdystio yn erbyn yr hyn a farnai yr esgob yn ymarferiad iachusol o arolygiaeth esgobol gyda y cyfryw achosion.

"Yn yr ail le, nid yw ein mawrion, a siarad yn gyffredinol, o herwydd rhesymau na byddai yn ddymunol eu crybwyll, yn bleidiol i feithriniad iaith a llênyddiaeth y Cymry, a byddent yn bur barod i'w trosglwyddo i lwyr ebargofiant. Maent fel dosbarth yn hollol anwybodus o'r naill a'r llall, ac yn edrych yn eiddigus ar bob pregethwr Cymreig poblogaidd fel un yn dilyn yn glòs yn nghamrau y clerigwyr hyawdl hyny a adfywiasant y marwor o grefydd yn Nghymru oedd ar ddiffodd, pan yr oedd yr eglwys wedi suddo i segurdod a ffurfioldeb, a'r hen ymneillduwyr uniongred, yn enwedig y Presbyteriaid anghydffurfiol, wedi adfeilio i Ariaeth a Sosiniaeth.

"Yn y trydydd lle, y mae corff mawr y bobl yn Nghymru wedi ymadael âg eglwys y clerigwyr, yr esgobion, a'r gwŷr mawrion, ac wedi dyfod yn gorff ymneillduol gweithgar. Mae yn dda gan eu harweinwyr weled sefyllfa bresennol pethau, ac ni wnânt hwy byth ein cynnorthwyo i symud yr ymarferiadau gwyrgam sydd yn cloffi ac anurddo yr Eglwys Sefydledig a'i gweinidogaeth slafaidd. Mae pob penodiad o esgob analluog i ddal cymdeithas â phobl ei esgobaeth, o herwydd anwybodaeth o'u hiaith, neu arferion sefydlog blaenorol, yn cael edrych arno gan yr holl Ymneillduwyr fel elfen newydd o nerth iddynt hwy, ac o wendid i'r eglwys. Y canlyniad cyffredinol, o herwydd ofnau y clerigwyr, dideimladrwydd y gwŷr mawrion, y diffyg o fewn yr eglwys o unrhyw ymarferiadau iachusol o hawliau y lleygion, ac ymfoddloniad gelynol a dystawrwydd bwriadol Ymneillduwyr o bob enwad, ydyw, nad oes obaith am unrhyw wrthdystiad o Gymru at y llywodraeth, na deiseb i'r Senedd ar yr achos."

Yr oedd y cyfreithiwr eglwysyddol yn sylwi drachefn y dylid gwasgu ar gydwybodau y Saeson o esgobion yn Nghymru, y pechadurusrwydd o ymgymeryd â gofal pwysig y gwyddent hwy eu hunain nad oeddynt yn gymhwys iddo. Ond yr oedd yr awdwr mewn atebiad yn dywedyd fod tynerwch cydwybod yn amrywio yn ol gwahanol gyfansoddiadau ac ardymherau; ac nid oedd yn ymddangos fod Dr. Short, esgob Llanelwy, a'i frodyr esgobol yn Nghymru, yn meddu yr un fath gydwybod â'r eiddo Dr. Chalmers, yr hwn a ymadawodd âg Eglwys Scotland, er ei le uchel ynddi, a'r elw oedd yn dyfod iddo oddiwrthi, yn hytrach na gadael i gyfraith na dim halogi ei gydwybod. Mae penodi Saeson yn esgobion yn Nghymru yn beth anghristionogol, a gwrthwyneb i ddysgyblaeth sylfaenol Eglwys Loegr; ond pe profid hyny mewn llys gwladol, nid yw yn debyg yr ymwrthodai yr un o'r esgobion â ffynnonell eu helw. Y mae y cyfryw benodiad, yn wir, yn afresymol i'r eithaf:

"Pe byddai i ryw Brifweinidog dyfodol, oddiar fympwy y foment, benodi clerigwr Protestanaidd Ffrengig, yn ŵr cyfrifol, oddeutu deng mlwydd a deugain oed, heb fedru siarad gair o Saesoneg, ac yn hollol anwybodus o arferion a rhagfarnau y Saeson, i esgobaeth Llundain, gellid dwyn ymlaen yr un rhesymau teg yr olwg o blaid y penodiad ag a ddygir ymlaen yn gyffredin o blaid Esgobion o Saeson mewn Esgobaethau Cymraeg. Gellid dywedyd fod yr iaith Ffrengig yn iaith y Llys a'r bendefigaeth, fod y rhai oll a gawsant addysgiad da yn gallu ei siarad a'i darllen yn rhwydd, a bod hyd yn nôd plant y dosbarthiadau canolradd yn ei dysgu yn brysur. Nid yw y bobl sydd yn ei gwrthwynebu ac yn anwybodus o honi ond gwerinos—neu Ymneillduwyr difoes

sydd yn casâu yr eglwys ac yn hoffi pregethwyr o fath Spurgeon. Heblaw hyny, mae yr holl genadon gwladol tramor a dyeithriaid urddasol a ddaethant drosodd o wledydd eraill yn feistriaid yn y Ffrengaeg, a da fyddai ganddynt hwy wrandaw ar yr esgob yn eu cyfarch yn hyawdl yn yr iaith hono, &c. Ond beth a ddywedai John Bull wrth y fath resymau? A foddlonai efe arnynt, ac a dderbyniai efe y Protestant Ffrengig, uniongred ymhob pwnc ond diffygiol yn y Saesoneg? Ni a wyddom na wnai; efe a chwarddai am ben y fath dwyllresymau, ac a anfonai y Ffrancwr yn fuan at ei bobl ei hun. Ond gallai y prelad dyeithr hanner cant oed wneyd yr hyn a fyddai yn fwy tramgwyddus fyth na siarad iaith Ffrengig bur. Efe a allai, naill ai oddiar ystyriaethau cydwybodol neu oddiar awydd i wneyd ei hun yn boblogaidd, ymostwng yn yr oedran pell hwnw i ddysgu Saesoneg, ac i gyfansoddi a thraddodi pregethau yn yr iaith hono. Os felly, byddai yn cymhell miloedd i fawrygu ei ieithwedd a'i gynaniad, ac i ddywedyd yn faldodus ei fod yn siarad Saesoneg fel brodor, ie yn well na'r rhan fwyaf o'r Saeson eu hunain. Eithr, ai felly y byddai? Oni fyddai pob Sais yn meddu ar glust yn teimlo yn wrthwyneb i dônau, acceniadau, a diffygion cydseiniol hollol estronol ac anseisonig? Gadawaf y pwnc i farn bersenol pob dyn sydd yn alluog i benderfynu y cyfryw fater."

Yn yr ail lythyr, mae yr Archddiacon yn profi nad yw yn bosibl i Sais gyflawni dyledswyddau pwysig swydd esgob yn Nghymru. Mae cyfraith Lloegr a ffurflywodraeth yr eglwys, wedi arddodi ar yr esgob, a'r esgob yn unig, y swyddogaethau o ordeiniad, neu dderbyniad i urddau sanctaidd weinidogion ieuainc yr eféngyl—o sefydliad, neu dderbyniad gweinidogion ordeiniedig i blwyfoliaethau neu guradiaethau—ac o gonffirmasiwn, neu dderbyniad i lawn gymundeb yr eglwys "y sawl a fedyddiwyd ac a ddaethant i oedran pwyll." Yr esgob yn unig sydd i benderfynu a ydyw y neb a gyflwynir i blwyf neillduol yn gymhwys i weinidogaethu i'r bobl yno fel ag i allu gosod allan yn effeithiol iddynt foddion gras a gobaith gogoniant. Ac os na bydd yr esgob yn abl i benderfynu ynghylch cymhwysder neu anghymhwysder y cyfryw un o herwydd "gwall iaith," y mae efe yn dal swydd nad oes ynddo addasrwydd iddi. Mae dau o esgobion presennol Cymru, y rhai y tybir eu bod yn medru rhywfaint o Gymraeg, wedi dangos yn ymarferol yr anaddasrwydd hwn. Darfu i dadog neu noddwr penodol yn Sir Forganwg gyflwyno Sais i fywioliaeth eglwysig, yr hwn nad oedd yn cymeryd arno ei fod yn gydnabyddus â'r iaith a siaredid fwyaf yno. Gwrthododd yr esgob gadarnhâu y penodiad. Yna y tadog a gyflwynodd un arall, yr hwn, beth bynag oedd ei anghymhwysderau o ran pethau eraill, na thybid yn ddiffygiol yn ei wybodaeth o'r Gymraeg; ond pan gafodd ei holi gan gaplan Cymreig yr esgob, yr oedd yn methu ateb; ac yntau gan hyny a wrthodwyd. Y noddwr ar hyn a apeliodd at yr archesgob, yr hwn a wrandawodd ar yr apeliad, ac a anfonodd y person cyflwynedig i Lanbedr, i gael ei ad-holi gan benaeth y coleg. Bu yr ail arholiad hwn yn llwyddiannus; ac yr oedd yr ymgeisydd yn gadael Llanbedr gydag ysgrifendyst o lawnodiad Dr. Llewelyn yn sicrhâu ei fod yn berffaith gydnabyddus â'r iaith Gymraeg! Y canlyniad a fu i'r Esgob Oliphant, wedi clywed oddiwrth yr archesgob, sefydlu yn y fywioliaeth y person hwnw yr oedd ei gaplan ei hun wedi ei gyhoeddi yn anghymhwys i'w dal. *Patron* arall a gyflwynodd i blwyf yn Sir Benfro ei frawd ei hun, yr hwn na fernid yn gyffredin yn un cyfarwydd yn y Gymraeg. I benderfynu y pwnc hwn, penododd Esgob Tyddewi dri chlerigwr, tra adnabyddus am eu medr a'u cywirdeb, i arholi y brawd hwnw, y rhai a gydbenderfynasant ar ei anghymhwysder ieithyddol; a'r esgob a dderbyniodd eu barn ac a weithredodd arni. Y cyflwynedig a'i noddwr hwythau a apeliasant at yr archesgob, yr hwn a anfonodd y gŵr plwyfgyflwynedig i Fangor i gael ei holi

gan y ficer yno, a hwnw a roes iddo y *certificate* anghenrheidiol; a'r esgob yn y diwedd a'i sefydlodd yn ei blwyf. Cân belled ag yr ydys yn gwybod, darfu i Dr. Olivant ymostwng mewn dystawrwydd. Ond Dr. Thirlwall a anfonodd wrthdystiad difywyd at yr archesgob, yr hwn a gyhoeddwyd yn y *Times*, a dyna ben ar y drafodaeth. Yr oedd rhyw ychydig o glerigwyr meddylgar yn barod i feddwl fod rhai achosion dirgel yn attal bywiogrwydd yr ysgogiadau hyn. Anhawdd oedd ganddynt gredu y buasai yn hawdd gan Briflywydd Coleg St. Dewi groesi y penderfyniad y daethai Cymro llawer gwell nag efe ei hun iddo, pe buasai hyny yn debyg o fod yn anfoddhäol i'w hen gyfaill a'i gydathraw gynt, Esgob Llandâf; a thybid fod yn rhaid i ryw reswm hanfodi yn rhywle am ddystawrwydd Dr. Thirlwall yn Nhŷ yr Arglwyddi ar bwnc oedd yn cyffwrdd â'i awdurdod ysbrydol fel esgob, tra y bu mor hael ar eiriau ac ysgrifeniadau i brofi ei hawl i gysegru neu beidio cysegru mynwent newydd yn ol ei ewyllys ei hun. Ond pa un bynag a ydoedd yr ammheuon am ddiffuantrwydd y ddau brelad yn yr hyn a nodwyd yn ddisail neu beidio, y maent hwy yn eu hymddygiad yn hyn wedi cyffesu yn gyhoeddus eu hanalluogrwydd i gyflawni un o'u dyledswyddau pwysicaf fel arolygwyr ysbrydol y dosbarthiadau a ymddiriedwyd i'w gofal.

Dyna y ddefod o gonffirmasiwn, hefyd, yr hon nad oes neb ond yr esgob yn unig i'w chyflawni. Llawer sydd wedi clywed, mewn eglwysi yn Ngogledd a Deheudir Cymru, yr esgob yn brygawthan (gair yr Archddiacon ei hun yw *jabbering*) mewn iaith ddyeithr i bobl ieuainc a ddygwyd o'i flaen i'w conffirmio yn y ffydd mewn anghydffurfiad â'r XXIV Erthygl, yr hon sydd yn gofyn "am lefaru yn y gynnulleidfa y cyfryw dafodiaith ag a ddeallo'r bobl," gan ddywedyd, "Peth llwyr wrthwyneb i Air Duw, ac i arfer y brif eglwys gynt, yw, gweddïo yn gyhoedd yn yr eglwys, neu ministrio'r sacramentau mewn tafodiaith ni bo'r bobl yn ei deall."

Mae y rhelyw o'r ail lythyr yn neillduedig i amgylchiad Dr. Short, esgob Llanelwy, ymddygiad yr hwn, yn ei waith yn derbyn yr esgobaeth hono, sydd, meddir, yn fwy tramgwyddus na'r eiddo y Saeson eraill a ddaethant yn esgobion i Gymru, gan y gwyddai efe am y penderfyniad a wnaed gan Dŷ y Cyffredin yn y Senedd Ddiwygiedig gyntaf, a'r hwn, er na chadarnhäwyd mohono gan Dŷ yr Arglwyddi, sydd yn profi beth yw barn ddiduedd blaenion boneddwyr ein teyrnas ar y mater dan sylw, sef—nad oedd neb i gael eu penodi i esgobaethau Cymreig heb fod yn drwyadl gydnabyddus â'r Gymraeg. Gwyddai hefyd, oddiwrth y papyrau blyneddol a gyhoeddid gan gymdeithas o glerigwyr Cymreig yn byw yn swydd Gaerefrog, beth oedd syniadau offeiriaid o Gymry ar yr achos. Ond yn ngwyneb y pethau hyn, yr oedd efe yn ddigon hyf, yn Sais heb fedru dim Cymraeg, i ddyweyd ei fod yn credu fod ei alwad i esgobaeth Llanelwy yn beth oedd "yn ol ewyllys ein Harglwydd Iesu Grist," ac felly efe a symudodd oddiwrth "beth da" yn Manaw, at beth gwell yn hyfryd Ddyffryn Clwyd, "heb ofyn dim er mwyn cydwybod."

Profir yn y trydydd llythyr nad oedd sylfaenwyr Eglwys Loegr, y rhai a roddasant i Gymru y Bibl a'r Llyfr Gweddi Gyffredin yn ei hiaith ei hun, erioed yn golygu i ddynion anwybodus hyd yn nôd o elfenau yr iaith hono gael eu hanfon at y Cymry, fel y rhai cymhwysaf i esbonio a chadw yn eu purdeb y darlleniadau hyny. Gynt yr oedd esgobion Llandâf, Tŷ-ddewi, Llanelwy, Bangor, a Henffordd yn gallu siarad Cymraeg, a phenodwyd hwy a'u holynwyr gan y goron i ofalu am gadwraeth bur y cyfieith-

iad awdurdodedig o'r Ysgrythyrau a gwasanaeth yr eglwys yn hen iaith y Cymry; ond er ys cant a hanner o flynyddoedd bellach, nid oes un o'r rhai y mae y fath siars yn orphwysedig arnynt yn deall yr iaith. Yn yr argraffiadau cyntaf o'r Llyfr Gweddi Gyffredin, ceir y drefn am ordeinio a chysegru esgobion yn gyfieithedig i'r Gymraeg, gydag hysbysiad yn cyfreithloni unrhyw esgob i weithredu yn lle yr archesgob, pan o herwydd unrhyw reswm digonol nas gallasai efe ei hunan weithredu, megys, er esiampl, pan nad allai efe gyflawni gwasanaeth y cysegriad o herwydd mai yn Gymraeg yr oedd yn ganonaidd a phriodol ei arferyd yn gysylltiedig â chysegru esgob i Gymru. Buasai yr hen bobl dda a duwiol a sylfaenasant yr eglwys mor barod i ddychymygu am fudan yn esgob ag am Sais i gael esgobaeth yn Nghymru. Ond daeth ysbryd arall, ac un o'r drwg, i ddylanwadu ar lywodraethwyr Eglwys Loegr; daeth credo pabaidd yr olyniaeth apostolaidd i fri, a llygriadau eraill a godasant eu penau, ac yn y cyfamser andwywyd yr eglwys yn Nghymru trwy benodi Saeson yn benaethiaid arni; ac felly hyd y dydd hwn penodir yn esgobion yn Nghymru ddynion diffygiol o'r wybodaeth sydd yn anghenrheidiol at gyflawniad effeithiol o ddyledswyddau eu swyddogaeth. Nis gallasai Dr. Short gymeryd meddiant o'i esgobaeth bresennol heb ddywedyd yn gyhoeddus ei fod yn crédu iddo gael ei alw gan yr Ysbryd Glân, ac yn ol ewyllys Iesu Grist, i fod yn esgob Llanelwy; ac eto y mae efe er ys deng mlynedd bellach yn profi trwy y parhâd o'i anghymhwysder ieithyddol mai nid yr Ysbryd Glân a'i galwodd i Lanelwy, onidê fe fuasai yn rhoddi iddo y doniau anghenrheidiol i gyflawni dyledswyddau cyffredin ei swydd.

Mae y pedwerydd llythyr yn cyflëu rhesymau ysgrythyrol anwrthwynol yn erbyn yr esgobyddiaeth estronol ac anghyfiaith, wedi eu cymeryd allan yn benaf o lythyrau Paul at y Rhufeiniaid a'r Corinthiaid, a'u cymhwyso at y rhai a elwir yn Wir Barchedig Dadau yr Eglwys yn Nghymru. Mae yr awdwr yn myned yn achlysurol am arfogaeth i leoedd eraill; ac weithiau yn defnyddio y watwareg lymaf, mewn modd hanner cellweirus chwi a dybygech, i anfon ei ymresymiadau adref. Mor darawiadol a chyrhaeddgar yw y sylwadau canlynol:—

"Pan yr oedd y gorthrymwr Sennacherib yn anfon Rabsaceh fel ei genadwr at Hezeciah a phreswylwyr Jerusalem, efe a ddewisodd ŵr a allai eu cyfarch yn yr Hebraeg yn gystal â'r Syriaeg. Ac 'efe a waeddodd â llef uchel yn iaith yr Iuddewon, Gwrandewch eiriau y brenin mawr.' Eithr nis gall y gŵr hwn [Dr. Short], er ei awdurdodi yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân, i fod yn esgob Llanelwy, gyfarch ond yn unig gwŷr mawr y tir mewn iaith ddealladwy; nid oes ganddo air i'w ddyweyd wrth y bobl. Nis gall efe alw arnynt hwy i wrando geiriau y Brenin Mawr, Arglwydd y Bywyd, yr hwn a ddaeth i lawr o'r nefoedd i bregethu yr efengyl i'r tlodion."

"Hyd yn nôd os oedd gweinidogion y goron a benodasant y Saeson yn esgobion Cymru, yn gweithredu oddiar yr egwyddor mai buddiol oedd dwyn ymlaen undeb iaith, a symud y gwahaniaeth tafodau oddifewn terfynau yr Ynysoedd Prydeinig, ni ddarfu iddynt ddefnyddio y moddion mwyaf tebygol i sicrhâu yr amcan hwnw. Pe buasent yn rhoddi siars ddirgel i'r gwŷr a enwyd ganddynt yn esgobion i esgeuluso ysbryd y commisiwn mawr a roddwyd gan Grist i'w apostolion, 'Pregethwch yr efengyl i bob creädur,' gan alw arnynt yn lle hyny 'i ddysgu yr iaith Saesoneg i genedl y Cymry,' nis gallasent ymddwyn yn y modd mwyaf annhebyg i wrthweithio eu hamcanion eu hunain na thrwy benodi cyfryw esgobion i'r esgobaethau yn Nghymru. Mae Oliver Goldsmith yn adrodd i ni chwedl ddifyr am George Primrose ieuanc yn mordeithio o Loegr i Holland gyda y bwriad o ddysgu Saesoneg i blant a phobl ieuainc

**yr Ismellyn, ac fel y dyrysWyd ef yn hollol gan y darganfyddiad ymarferol fod gwybodaeth o iaith yr Isellmyn, o'r hon yr oedd efe yn gwbl anwybodus, yn anghenrheidiol anhebgorol cyn y gallai ddwyn yr amcan mewn golwg i ben yn llwyddiannus. Fel hyn yn gwbl yr oedd gyda phreladiaid Seisonig yn Nghymru; yr oedd eu hanwybodaeth o iaith siaredig y wlad, yn gwneyd eu holl ymgeisiau i Seisonigeiddio y bobl yn ofer a diffrwyth."**

Mae y llythyr diweddaf yn dwyn ger bron weithrediad ymarferol neu ffrwythau anocheladwy y drefn wyrgam a gollfernir trwy yr holl lyfryn. Ymysg pethau eraill, dangosir fod yr esgobion yn anghefnogi ac yn gwgu ar y clerigwyr oedd yn enwog fel llênorion Cymreig, neu fel pregethwyr hyawdl yn eu hiaith eu hunain, a chyfeirir mewn modd medrus a phenderfynol at hanes Evan Evans, neu Ieuan Brydydd Hir, ac at yr eiddo y byth-gofiadwy Daniel Rowlands o Langeitho. Buasai yn dda genym allu cyflëu cyfieithiad o'r holl lythyr hwn ger bron ein cyfeillion, ond rhaid i ni foddloni ar y dyfyniadau a roddwyd. Ceisiasom ddilyn ein hawdwr yn ei ymresymiadau, ac yn ei ymadroddion ei hun yn benaf, er fod yn y llythyrau lawer o sylwadau ac egluriadau campus yn chwanegol nad ydym ni wedi cyffwrdd â hwy. Nid oes genym gan hyny, ond annog ein holl ddarllenwyr sydd yn teimlo dyddordeb yn y pwnc dan sylw, i geisio y llyfr iddynt eu hunain.

O'n rhan ein hunain, yr ydym yn teimlo na pherthyn i Ymneillduwyr Cymru, fel y cyfryw, drafferthu nemor, os dim, i lefaru a gweithredu yngbylch y priodoldeb neu yr anmhriodoldeb o esgobion Seisonig yn Nghymru; er hyny, fel yr ysgrifenai y Parch. William Rees, Liverpool, amser yn ol, "fel Cymry, ystyriwn fod anfon Saeson i fwyta breision ac yfed melusion esgobaethau y Dywysogaeth, yn sarhâd arnom fel cenedl, yn gystal âg yn sarhâd ar synwyr cyffredin, (a phe buasem yn credu yn y swydd, dywedasem yn sarhâd arni hithau,) ac yn gellwair âg eneidiau dynion." Nid ydym yn meddwl fod yr hybarch Archddiacon, er ei holl graffder, yn iawn ddeall Ymneillduaeth yn Nghymru. Awgryma efe, mewn dyfyniad a roddwyd eisoes, fod yr Ymneillduwyr Cymreig yn mawr lawenhâu yn ngwaradwydd ac aflwyddiant yr Eglwys Sefydledig yn y Dywysogaeth, ac felly yn dymuno i drefn anghyfiawn y breladiaeth Seisonig barhâu fel y mae yn bresennol; a dywed yn rhywle fod nifer o honynt yn ofni pe ceid esgobion "dysgedig, duwiol," a Chymreig, y gallai hyny dynu ymaith oddiwrth achos Ymneillduaeth lawer o gristionogion ffyddlawn sydd a'u dymuniad am buro ac nid am ddinystrio eglwys eu henafiaid. Y mae y syniadau hyn, ni a wyddom, ymhell o fod yn gywir. Mae yr enwadau Ymneillduol yn gwybod y gwahaniaeth rhwng Eglwys Loegr fel y mae yn gyfundeb cysylltiedig â'r wladwriaeth â'r hyn ydyw fel ffurf o esgobyddiaeth eglwysig; a thra yn wrthwynebol iddi fel Eglwys Wladol gan ei bod yn y cymeriad hwnw yn gormesu ar eu hiawnderau gwladol a chrefyddol hwy eu hunain, y maent yn synio fod mor rhydd iddi ymgadw at y drefn esgobyddol âg ydyw i'r Henaduriaethwyr a'r Annibynwyr ddal at yr eiddynt hwythau. Dymunent i'r "eglwys" fel cyfundeb crefyddol yn Nghymru bob chwareu teg a llwyddiant—esgobion yn medru iaith y bobl, a phregethwyr plwyfol yn medru y ffordd i'w calonau. Nid oeddynt, yn wir, yn gweled yn addas ymyraeth â llywodraethiad eglwys nad oedd a wnelent â hi. Digrif fyddai gweled "pobl yr eglwys" yn beio ar y dull y dygir ymlaen Gymdeithasfäoedd y Methodistiaid a Chymanfäoedd yr Annibynwyr a'r Bedyddwyr, ac yn cynnyg gwelliadau arnynt; ac mor ddigrif fuasai gweled y Methodistiaid, a'r enwadau eraill, yn ymboeni i ddiwygio arolyg-

iaeth yr Eglwys Sefydledig yn eu gwlad. Ond ni warafunant, yr ydym yn sicr, i Eglwyswyr wneuthur pob daioni, ïe, os gallant, fwrw allan gythreuliaid; ond dywedant wrthynt yn siriol, "Duw yn rhwydd," er nad ydynt yn rhodio gyda hwy. Mae yr Archddiacon Williams yn dyweyd hefyd fod "arweinwyr y boblogaeth Ymneillduol, gan wybod yn dda ffynnonell eu nerth, wedi agos beri i'w dilynwyr gredu nas gallant dderbyn un adeiladaeth ysbrydol oddigerth trwy offerynoldeb eu hiaith gynnwynol." Nid oes sail na thegwch yn perthyn i'r dystiolaeth hona. Beth a feddylia ein hawdwr am waith yr "arweinwyr" hyn yn sefydlu colegau i'w pregethwyr ieuainc, ac yn llafurio yn wresog dros ysgolion dyddiol yn eu cymydogaethau, lle y dysgir Saesoneg yn gyntaf a phenaf oll? Maent hefyd wedi ac yn planu eglwysi Seisonig mewn lliaws o drefi Cymru, yn gystal âg mewn ardaloedd ar gyffiniau Lloegr. Fel hyn, er caru y Gymraeg, nid ydynt yn rhy ddallbleidiol i feithrin y Saesonaeg, a chefnogi moddion crefyddol ynddi.

Gyda yr eithriadau hyn, y mae Mr. Williams yn llefaru mewn modd parchus a chariadlawn am Ymneilldaeth Cymru. Addefa yn ddifloesgni fod pump rhan o chwech o genedl y Cymry yn Ymneillduwyr; dywed fod eu cylchgyhoeddiadau Cymreig hwy yn llawer mwy effeithiol a llwyddiannus na y rhai a gyhoeddir o dan nodded esgobol, a'r rhai, mewn cymhariaeth i'r lleill, sydd yn "brinion ac yn ddylion." Cawn ef hefyd yn dywedyd,—

"Y mae yn brawf hynod nid yn unig o druagredd fawr Duw, ond o wir ysbryd crefyddol y bobl henafol hyn, eu bod yn lle myned yn anffyddwyr dibris a gwatwarllyd, wedi ymneillduo o'r eglwys ac ymffurfio yn gyfundebau gwahanedig. Yn rhaglunïaethol, yr oedd yr Ysgrythyrau yn eu hiaith eu hunain yn eu dwylaw cyn bod y mesurau i wneuthur y cyfieithiad hwnw yn aneffeithiol wedi dyfod i addfedrwydd, a'u harweinwyr, heb un awdurdod ganddynt ond gair Duw ei hun, a geisiasant gyda llwyddiant nid bychan wneuthur eu gwrandäwyr yn gristionogion Ysgrythyrol."

Dyna dystiolaeth ardderchog i Ymneillduaeth Cymru oddiwrth un o urddasolion Eglwys Loegr.

Nis gallwn gydfarnu â'r awdwr dysgedig mai Seisonigeiddrwydd y dynsawd oedd yn esgob Tyddewi ar y pryd, gan yr hwn y tröwyd Rowlands allan o'r Eglwys, a achosodd neu a achlysurodd y cyffröad Methodistaidd a sylfaeniad cyfundeb y Methodistiaid yn Nghymru. Yr oedd y diwygiad wedi dechreu er ys blynyddoedd cyn hyny, a chynnulleidfäoedd lawer wedi eu ffurfio, a chapelau wedi eu hadeiladu. Ac nid ydym yn meddwl y buasai aml glerigwr Cymreig, pe yn esgob yn y dyddiau hyny, yn ymddwyn yn llawer rhagorach na'r Sais gwir barchedig. Pe buasai y Parch. Theophilus Evans, awdwr dawnus "Drych y Prif Oesoedd," yn esgob Tyddewi, nid ydym yn tybied y cawsai y personiaid Methodistaidd well ffafr oddiar ei law ef; canys yr oedd efe yn ysgrifenu yn oganus am danynt ac yn dangos pob drwg-deimlad tuag atynt. Nis gwyddom lawer am yr Eglwys Sefydledig yn Neheubarth Cymru; ond yn Ngwynedd yr ydym yn deall mai mân berigloriaid a churadiaid, "Cymry o waed coch cyfan," yw rhai o wrthwynebwyr mwyaf crefydd efengylaidd yn y dyddiau hyn. Pe dygwyddai i glerigwr haelfrydig fyned i wrandaw pregeth gan weinidog ymneillduol enwog, neu weddïo mewn addoldŷ ymneillduol ar ddiwedd Cyfarfod Dirwestol, neu ddangos rhyw gyfathrach arall â'r "sismaticiaid," ceir rhyw frawd-offeiriad, a hwnw yn Gymro, i anfon yr hanes yn brysur at yr esgob, wedi ei orliwio gan ragfarn yr ysgrifenydd. Beth pe caffai y

cyfryw ymyrwr fyned yn Arglwydd Esgob? yr ydym yn credu y gwnai lawer mwy o ddrwg i'w eglwys nag a wneir gan yr estroniaid sydd yn dyfod o'r tu hwnt i Hafren a Dyfrdwy i gadeiriau St. Dewi a St. Centigern. Pa fodd bynag, cyfiawnder noeth yw yr hyn y mae yr Archddiacon yn dadleu am dano yn y llythyrau sydd ger ein bron; a hyderwn y bydd ei ysgrifell rymus yn foddion i ddangos i'n llywiawdwyr gamwri yr arferiad presennol, ac i beri iddynt "sicr amcanu dilyn buchedd newydd" mewn trefniadau esgobol yn Nghymru rhagllaw.

---

# Trem ar Fyd ar Eglwys.

Yn y misoedd a'r wythnosau diweddaf, Ffrainc sydd wedi bod yn brif destun sylw ac ymddyddanion ac ysgrifeniadau y byd gwleidiadol. "Anesmwyth," meddir yn Shakspeare, "y gorwedd y pen sydd yn gwisgo coron." Y mae hyny yn ymddibynu i fesur mawr ar *pa* goron a fydd, ac ar *pa fodd* y mae y sawl sydd yn ei gwisgo wedi dyfod o hyd i'r anrhydedd hwnw. Nid oes gan yr hon sydd yn gwisgo coron Prydain un rheswm i fod yn anesmwyth. Gall hi gysgu, ac, o ran dim a wyddom ni, y mae hi yn cysgu mor ddiofal â'r mwyaf esmwyth arnynt ymhlith ei deiliaid. Dichon i'r bobl o blith pa rai yr arferir dewis swyddogion wneyd mil o ystrywiau er mwyn disodli eu gilydd. Dichon iddynt wneyd cynhwrf a chodi bawb ar eu traed er mwyn cael cyfle i ruthro i'r eisteddleoedd gweigion, fel plant yn chwareu "Sut yr ydych yn hoffi eich cymydogion." Dichon i "weinyddiaeth yr holl dalentau" gael ei dilyn gan weinyddiaeth nad oes ynddi ond ychydig dalentau, a hono gael ei dilyn gan un arall heb fod ynddi dalent ond un; ond trwy y cwbl y mae Victoria yn trigo yn ddiofal; y mae ei choron hi mor ddiogel â'i bywyd, a'i bywyd mor ddiogel â'r eiddo unrhyw ferch arall o fewn ei hymherodraeth. Ond y mae gwahaniaeth annhraethadwy rhwng Lloegr a Ffrainc, a gwahaniaeth mwy na hyny rhwng ein harddderchocaf Frenines Victoria â'r anturiaethwr Louis Napoleon. Gwlad anesmwyth yw Ffrainc. Pobl gynhyrfus, anwadal, fyth a hefyd yn ceisio rhyw newyddbeth, yw y Ffrancod. Nid oes yno, er ys oesoedd bellach, ben wedi bod yn gwisgo coron heb fod mewn perygl o'i cholli, nac ysgwyddau breninol yn gwisgo pen heb fod bob amser yn agored i'r un anffawd. Ond y mae Louis Napoleon mewn mwy na chyffredin o berygl, oblegid y mae wedi cyrhaedd y fan ar ba un y mae yn sefyll, trwy fwy na chyffredin o ddichell, a chelwydd, a gorthrymder, a gwaed; ac yn ceisio cadw y safle hono trwy fwy na chyffredin o'r un pethau. Pell am byth oddiwrthym a fyddo—ni a allwn ddywedyd mwy na hyn, pell am byth oddiwrthym a fydd—cyfiawnhâu nac esgusodi i fesur yn y byd, ymosodiad

llofruddiog a llechwraidd y pedwerydd ar ddeg o Ionawr. Y mae hwnw yn cysylltu gwarth tragywyddol wrth enw pob un a gymerodd un math o ran ynddo. Gwell fil o weithiau i enw Felice Orsini pe buasai wedi syrthio yn ysglyfaeth i gynddaredd gorthrymwyr ei wlad yn ngharchar Mantua, neu wedi tori ei wddf yn lle ysigo ei droed pan syrthiodd i'r ffos wrth ddianc o'i gaethiwed yno. Buasai felly yn marw o farwolaeth gwladgarwr, syrthiasai yn aberth i iawnderau ei wlad, a buasai ei goffadwriaeth yn barchus am oesoedd i ddyfod. Ond syrthiodd y goron oddiam ei ben, a syrthiodd yn aberth i'r amcan mwyaf llechwraidd, yr hwn nis gall un dyn, yr hwn y mae ei farn yn werth rhywbeth, lai na'i ffieiddio. O hyn allan, hyd oni phydro ei enw a myned i ebargofiant, ac nid hir y bydd cyn y cymero hyny le, fe'i hadweinir fel Orsini y llofrudd. Ond nid yw drygioni yr amcan yn dyrchafu cymeriad nac yn cyfiawnhâu mesurau y dyn y bwriadwyd ef i'w erbyn. Pe byddai un cythraul yn ceisio lladd y llall, ni wnai hyny yr olaf yn angel y goleuni. Y mae Louis Napoleon trwy ei luoedd o filwyr, a thrwy luoedd agos mor llïosog o *police* ac yspïwyr, trwy nerth braich, a thrwy ddichellion dirifedi, yn gofalu na chaiff neb nac ysgrifenu na dywedyd un gair yn agored yn ei erbyn ef nac yn erbyn ei fesurau. Nid oes un dyn mewn un man yn Ffrainc yn ddiogel am un foment rhag ei yspïwyr cyflogedig ef. Y maent yn ymgymysgu â phob cynnulleidfa, ac yn gweithio eu hunain i bob cymdeithas. Os dywed rhywun, yn ddifeddwl, un gair a ellir ei esbonio fel anghymeradwyaeth o fesurau y gorthrymwr, y mae yn fwy tebyg na pheidio y bydd iddo cyn pen wythnos gael ei hun yn Marseilles ar ei ffordd i Algeria. Y mae wedi cymeryd o ddwylaw y bobl trwy drais yr arfau hyny â pha rai y gallant ymdrechu yn deg ac yn anrhydeddus am eu hiawnderau; gan hyny nis gellir dysgwyl na bydd rhywrai yn defnyddio moddion eraill, ac nid yw yn rhyfedd chwaith ei fod yntau yn ofni y bydd iddo ryw ddydd syrthio trwy law lofruddiog.

Er i Orsini a'i gydfradwyr fethu yn eu hamcan, esgorodd eu cynnygiad ar ganlyniadau na feddyliodd neb am danynt ar y pryd; canlyniadau o'r pwys mwyaf, nid yn unig i Ffrainc, ond hefyd i lawer o wledydd eraill Ewrop. Y canlyniad i Ffrainc yw tynhâu cadwynau gorthrwm, gwneyd sefyllfa pawb yn fwy annedwydd, a phrinhâu y ddogn fechan o ryddid oedd wedi ei adael i drigolion y wlad annedwydd hono. Dywedodd un yn ddiweddar i belenau Orsini fethu lladd yr Ymherawdwr, ond iddynt ddinystrio yr ymherodraeth; ac nid yw yn annhebyg y bydd i'r mesurau gorthrymus ag y mae yr ymosodiad hwnw yn cael ei roddi yn esgus drostynt, derfynu yn hyny o'r diwedd. Ond fel y dywedasom, y mae y canlyniadau wedi ymestyn at wledydd eraill. Y mae y ffoaduriaid Italaidd yn ymnoddi gan mwyaf yn Mhrydain Fawr, Sardinia, Switzerland, a Belgium. Italiaid oeddynt yr holl rai a gymerasant ran yn yr ymosodiad; yn Lloegr y ffurfiwyd y cynllun, ac yn Lloegr y gwnaed y parotöadau i'w osod mewn gweithrediad. Y canlyniad gan hyny a fu cyfodi ystorm fawr yn Ffrainc yn erbyn Lloegr. Yn yr anerchiad cyntaf i'r Ymherawdwr a draddodwyd gan un o brif swyddogion ei lywodraeth, rhoddwyd arbenigrwydd mawr i'r ffaith fod y cynllun wedi ei ffurfio yn Lloegr, a chymerwyd gofal i hysbysu ei fawrhydi mai ei brif elynion oedd y dynion hyny a gysgodid o dan ei haden hi. Yna wele anerchiadau yn ymarllwys o bob rhan o'r ymherodraeth; amryw o honynt yn llawn o gableiriau, ac nid ychydig o honynt yn cynnwys bygythiadau, yn erbyn Lloegr. Cyhoeddwyd y rhai hyn yn y *Moniteur*, a

galleaid meddwl wrth eu darllen fod holl Ffrainc wedi digio—fod ei holl luoedd yn awyddus i ddyfod drosodd ar unwaith i ddial ar Brydain am osod càn lleied o werth ar fywyd eu *hoff* ymherawdwr. Ond nid oedd y cwbl namyn ystranc—un o ddyfeisiau ystrywgar Napoleon. Gosododd ei weision i fwgwth Lloegr; ac ar ol iddynt wneyd cymaint a fynai o hyny, cymerai arno fod yn ddrwg iawn ganddo eu bod wedi gwneuthur dim o'r fath. Ar yr un pryd, dymunai alw sylw Lloegr at y teimlad oedd wedi ei amlygu yn Ffrainc. Nid efe ei hun oedd mewn perygl, ond heddwch y ddwy wlad. Buasai efe ei hun yn foddlawn i adael i bethau aros fel yr oeddynt, ond gallent weled na byddai Ffrainc yn foddlawn oddieithr i Loegr wneyd rhywbeth tuag at attal ffōaduriaid rhag dyfeisio eu cynlluniau drygionus o fewn ei therfynau. Hynyna ydoedd sylwedd yr hyn a anfonwyd yma gan y gweinidog tramor, Walewski.

Yr oedd Napoleon ei hun wedi bod yma yn ffōadur. Camddefnyddiodd y noddfa a roddwyd iddo gan Brydain. Nid yw yr ymnoddwyr Italaidd na Ffrancaidd wedi gwneyd dim na ddarfu iddo yntau geisio ei wneyd pan yn ffōadur ei hunan. Ond efe sydd ar yr orsedd yn Ffrainc yn awr, ac, yn ol chwedl y ffarmwr a'r twrne—y mae hyny yn newid y pwnc. Un peth oedd ei fod ef yn bradfwriadu, yn casglu dynion, yn cyflogi agerlong, ac yn cyflawni llofruddiaeth wrth geisio dymchwelyd gorsedd Louis Philippe—peth arall hollol wahanol yw fod Orsini a'i gyfeillion yn bradfwriadu, ac yn cyflawni llofruddiaeth wrth geisio dymchwelyd ei orsedd ef. Cymerai arno mai ei amcan ydoedd darostwng y teimlad hwnw ag ydoedd yn cyfodi yn Ffrainc yn erbyn Lloegr. Ond twyll oedd hyny; ac nid oedd y teimlad yn y diwedd ond rhith. Nid oedd y dymhestl ond rhywbeth a gyfodasid ganddo ef ei hun a'i weision cyflogedig. Ei amcan ydoedd cael gan Loegr ymostwng iddo ef; ei darbwyllo i wneyd rhywbeth—rhyw gyfnewidiad yn ei chyfreithiau, nid oedd gwahaniaeth ganddo pa càn lleied—wrth ei arch ef. Buasai hyny yn ddyrchafiad iddo yn ngolwg ei ddeiliaid, ac yn ngolwg holl Ewrop; a buasai hyny yn ddarostyngiad i'r wlad a hyrddiodd ei ewythr o uchder ei fawredd a'i ogoniant. Tybiai y gallai fel hyn âg un ergyd gwleidiadol ddileu gwarth Waterloo, ac enwogi ei hun am byth fel dyrchafydd Ffrainc.

Nis gwyddom pa beth a feddiannodd ein hen wron Palmerston. Y mae yn anhawdd cyfrif am yr hyn a wnaeth. Dygodd ysgrif i'r Senedd yn cynnyg cyfnewidiad yn y gyfraith gyda golwg ar ffōaduriaid tramoraidd. Nid oedd y cyfnewidiad ynddo ei hun yn beth o nemawr bwys. Ar unrhyw amser arall nid yw yn annhebyg y buasai yn pasio yn ddirwystr. Ond un peth yw bod gwlad yn gwneyd cyfnewidiad yn ei chyfreithiau o honi ei hun; peth arall yw gwneyd hyny wrth arch estron. Rhwng dygiad yr ysgrif uchod i'r Senedd a'i hailddarlleniad, ymdaenodd a chryfhäodd y teimlad yn ei herbyn; a'r canlyniad a fu,—gwrthodwyd y rheithsgrif a dymchwelwyd y Weinyddiaeth Balmerstonaidd. Mynai rhai y buasai y canlyniad yn arswydol. Haerent fod Napoleon wedi myned mor bell fel nas gallai yn gyson â'i anrhydedd ei hun, ac anrhydedd ei wlad, dynu yn ol mwy; ond tynu yn ol a wnaeth; ac felly terfynodd yr ystorm. Cwympodd Palmerston; cwympodd o herwydd dangos diffyg o'r peth hwnw am ba un yr oedd yn fwyaf enwog. Syrthiodd y weinyddiaeth "ryddfrydig," a chymerwyd ei lle gan weinyddiaeth Doriaidd. Ond daliwyd i fyny anrhydedd Prydain, a dangoswyd i'r byd nad oedd y "teimlad" yn Ffrainc

ond ffug, wedi ei grëu er mwyn gwasanaethu ei ddybenion ei hun gan Louis Napoleon. Anfonwyd cenadaethau i wledydd eraill o'r un natur â'r un a anfonwyd yma; eithr yn aflwyddiannus. Y mae Switzerland a Sardinia wedi dilyn esiampl Prydain, a'r gorthrymwr felly wrth ymgyrhaedd at bethau tu hwnt i'w allu, wedi dangos ei wendid.

Y mae Prydain yn aros yn llonydd. Nid oes un pwnc pwysig yn cynhyrfu y wlad. Newidiodd Victoria ei gweinidogion, a phrin y parodd hyny fwy o gynhwrf na phe buasai Arglwydd Mostyn neu Mr. Talbot yn newid eu gweinidogion hwythau. Nid oes neb yn dysgwyl y bydd i Iarll Derby a'i deulu wneyd llawer o ddaioni; ac nid oes neb yn ofni y gwnânt lawer o ddrwg. Hwy a gadwant eu swyddau cyhyd ag y gallont, a phan y methant wneyd hyny, hwy a'u rhoddant i fyny. Nid oes yr un egwyddor fawr ag y maent wedi myned o dan rwymau i'w hamddiffyn, nac un mesur mawr ag y maent yn debyg o beryglu eu swyddogaeth er mwyn ei basio. Y maent i fesur mwy na chyffredin yn weision i Dŷ y Cyffredin. Os dywed y Tŷ, "Cerddwch," hwy a änt; os dywed, "Deuwch," hwy a ddeuant; ac os dywed, "Gwnewch hyn," hwy a'i gwnânt. Yr oedd Palmerston wedi addaw dwyn ymlaen fesur diwygiadol yn eisteddiad presennol y Senedd. Y maent hwythau wedi addaw dwyn un ymlaen yr eisteddiad nesaf; ac nid oes ammheuaeth na bydd iddynt gyflawni eu haddewid os cânt fyw cyhyd. Ond ansicr yw eu heinioes; tarth ydyw; bydd yn fuan wedi diflanu.

Y mae pethau yn gwellâu yn yr India, a'r gwrthryfelwyr yn cael eu trechu ymhob man. Y mae Lucknow bellach wedi ei chymeryd; ond ofnwn yr ä llawer o amser heibio cyn y ceir pen ar yr ymrafael. Gwir fod llaweroedd o wrthryfelwyr wedi eu lladd; ac nad oes, fe allai, erbyn hyn, yr un fyddin fawr o honynt gyda eu gilydd. Ond y mae India yn ëang a hwythau yn lliosog,—yn finteioedd gwasgaredig—yn lladd, llosgi, a lladrata yma a thraw ar hyd a lled y wlad; gwnânt lawer o boen ac o drafferth eto cyn y ceir pen ar eu symudiadau. Ni bu i'r fath ddrwg orddiwes Prydain er ys blynyddoedd meithion bellach. Y mae yn rhyfeddod i'r byd ei bod wedi myned trwyddo fel y mae. Yn wir yr oedd rhai o gyhoeddiadau Jesuitaidd y Cyfandir wedi gwaeddi eisoes, "Syrthiodd, syrthiodd Babilon fawr." Ond wele "Babilon fawr," os Babilon ydoedd, yn parhâu i sefyll, ac yn debyg o sefyll, am dro eto. Nid yw y dymhestl aruthrol a fuasai yn ddinystr i unrhyw wlad arall yn Ewrop wedi effeithio cymaint arni ag y gallesid ofni. Ar yr un pryd, yr oedd yn dywydd blin. Y mae wedi colli llawer o'i hoff feibion—cannoedd o'i hanwyl ferched wedi syrthio yn ebyrth i greulonderau yr anghenfilod mwyaf ysgeler. Ond gobeithio yr ydym y bydd i'r drwg, er cymaint yw, gael ei oruwchreoli er daioni. Sicr yw y bydd cyfnewidiadau o bwys yn y dull o lywodraethu India; ac yr ydym yn hyderu y bydd y rhai hyny yn fanteisiol i ledaniad Cristionogaeth ymysg ei miliynau coelgrefyddol hi.

Nid yw pob peth yn dda yn Unol Daleithiau America. Ofnwn ei bod yn hytrach yn fyd blin ar Mr. Buchanan yn ei gader lywyddol. Caethwasanaeth yw yr asgwrn ymryson. Y pwnc mewn dadl yw a fydd i Kansas gael ei derbyn i'r Undeb fel talaeth gaeth neu rydd. Y mae y ddadl yn awr yn myned yn y blaen yn y cynghor, ac ofni yr ydym mai o du caethiwed y try y glorian. Ond pa fodd bynag y try pethau yn y Senedd Americaidd, tebyg yw na bydd i hyny derfynu y mater. Y mae gwaed

eisoes wedi dechreu llifo yn Kansas; ac er bod y ddwy blaid yn awr yn gorphwys tra yn dysgwyl am benderfyniad y Cynghor, nid yw yn debyg y bydd i'r blaid a faeddir yno ildio y maes; ac yn wir y mae lle i ofni fod ymrysonfa wrth y drws a leda ymhellach na therfynau Kansas, ac a berygla yr Undeb ei hun. Y mae y Mormoniaid hefyd yn peri anesmwythder i'r llywodraeth. Mynant hwy gael eu ffordd eu hunain. Gwrthodant ufuddhâu i'r cyfreithiau, a dymunant fod yn wlad annibynol. Y mae byddin o wŷr wedi ei hanfon i'w goresgyn, ac y maent hwythau ar ol siarad, meddir, am ffoi, yn awr yn parotôi i ymladd. Y maent mor bell o'r Taleithiau, a'r ffordd atynt mor anghysbell—gallu milwraidd America mor fychan, a hwythau mor llawn o benboethni, fel y mae yn beth pur debyg nas gellir eu darostwng heb lawer o drafferth.

Ond nid tywyllwch yw y cwbl sydd yn America. Y mae yno ryw lewyrch trwy y cymylau duon. Y mae adfywiad crefyddol nerthol wedi tori allan yno, ac yn ymdaenu trwy y taleithiau. Dechreuodd mewn dwysder anarferol ymysg cristionogion ar amser y cyfyngder arianol diweddar. Cyfarfuwyd mewn amrywiol fanau i ymostwng ger bron yr Arglwydd, ac i ddeisyfu ei drugaredd. Aeth y wasgfa arianol heibio, ond y mae y cyfarfodydd gweddïau yn amlhâu, a mwyfwy o bobl yn dyfod iddynt Cynnelir hwy bellach ar hyd y dydd, a phob dydd o'r wythnos, mewn llawer o leoedd addoliad yn New York, ac amryw eraill o ddinasoedd a threfi yr Undeb. Y mae yr adfywiad yn lledu ymysg yr holl enwadau uniongred, a dywedir na bu yr un mor rymus oddiar ddyddiau Jonathan Edwards. Y mae miloedd lawer wedi ymuno â'r eglwysi. Yr adfywiad yw testun yr ymddyddan rhwng pawb yn yr agergerbydau, yn y marchnadoedd, ac ymhob man; ac y mae y newyddiaduron dyddiol ac wythnosol, gan mwyaf, yn son am dano gyda pharch, ac yn adrodd ei hanes fel y mae yn ymdaenu o fan i fan. Gobeithiwn ei fod o'r iawn ryw. Rhai pur gynhyrfus yw ein perthynasau y tu draw i'r Werydd. Nid ydynt byth heb rywbeth i'w alw yn bwnc y dydd, ac y maent un ac oll yn rhedeg ar ol hwnw. Ond os bys Duw yw hyn—os yw Efe wedi gweled yn dda dywallt o'i Ysbryd arnynt—fe fydd y ffrwyth yn ogoneddus. Nis gallwn mewn modd yn y byd gredu fod y peth hwn o Dduw os bydd iddo adael prif bechod America—caethwasanaeth—heb ei aflonyddu. Os câ y caethfeddiannwyr yn y Dehau, a'r rhai sydd, er mwyn budr elw, yn cydymdeimlo ac yn cydweithredu â hwy yn y Gogledd, brofi rhyddid yr efengyl yn eu heneidiau eu hunain—rhesymol yw dysgwyl y bydd i hyny esgor ar ganlyniadau daionus i'r caethion gorthrymedig. Nid oes dim dàl ar ocheneidiau ac ystumiau y perchenog caethion yn yr eglwys, tra fyddo efe yn peri i'w gyd-ddynion ochain o dan ei ffangell gartref. "Onid dyma yr ympryd a ddewisais? dattod rhwymau anwiredd, tynu ymaith feichiau trymion, a gollwng y gorthrymedig yn rhyddion, a thori o honoch bob iau?" Os peth fel hyn fydd canlyniad yr adfywiad yn America, bydd yn fendith annrhaethol iddi—fe'i gwaredir rhag y pethau sydd yn awr yn bwgwth bod yn ddinystr iddi o'r diwedd, a bydd yn fendith annhraethol i'r byd. Yr Arglwydd yr hwn sydd yn llywodraethu yn mreniniaeth dynion, yr hwn y mae calonau pawb yn ei law, a chyda yr hwn y mae pob peth yn bosibl, a baro iddi fod felly!

Fe debygid nad ydyw Lloegr wedi ei gadael heb ryw fesur o fywiogrwydd crefyddol. Teimlid ac ysgrifenid ychydig amser yn ol fod y pulpud wedi colli ei ddylanwad. Byddem ni yn Nghymru yn gwybod gwell, ond yn

Lloegr nid oedd pregethu yr efengyl yn tynu nemawr o sylw eithafion cymdeithas ar bob llaw. Byddai llawer o'r bobl ganolradd yn gwrando yr efengyl ac yn ei gwerthfawrogi; ond yr oedd y mawrion a'r dysgedig, ac o ganlyniad llawer o'r rhai nad oeddynt y naill na'r llall, ond yn cymeryd arnynt fod yn bob un o'r ddau—uwchlaw cyrhaedd y weinidogaeth; a'r bobl dlodion iawn islaw ei chyrhaedd hi. Ond bellach y mae pethau wedi newid. Y mae pregethu wedi tynu sylw dynion mwyaf ac uchaf y deyrnas, a llawer o honynt hwy bellach wedi cael cyfleusderau i glywed gair y bywyd yn cael ei bregethu gyda difrifoldeb a symledd—tra y mae ymdrechion i ddwyn y dosbarthiadau iselaf o dan ddylanwad moddion gras yn parhâu i fyned ar gynnydd trwy yr holl deyrnas. Gallwn ddywedyd yn ddibetrus na bu Lloegr yn cael ei chynhyrfu gymaint gan bregethu er ys llawer o flynyddoedd ag y mae yn y misoedd diweddaf hyn. Ac y mae y swn a'r cynhwrf hwn yn adfywio gobeithion oeddynt ar farw yn y dystawrwydd cyffredinol a deyrnasai yn yr amser a aeth heibio.

Ni chawsom gyfle i grybwyll o'r blaen am briodas ein Tywysoges Freninol â'i Uchelder Breninol y Tywysog Frederick William. Y mae y gŵr ieuanc hwn yn fab i Dywysog Prwssia, ac etifedd coron y wlad hono, a nai i'r brenin presennol. Gan fod y ddau frawd bellach yn myned i fyny mewn dyddiau, nis gall yr amser fod ymhell pan y gelwir arno ef i esgyn yr orsedd, ac y bydd merch Victoria yn frenines Prwssia. Y mae yn wir na ddaeth Prwssia i fyny â'r dysgwyliadau yn amser y rhyfel â Rwssia, ond y mae y rhan fwyaf o honom erbyn hyn wedi maddeu iddi am hyny, a rhai wedi dyfod i gredu mai trugaredd ydoedd na ddaeth allan i gymeryd rhan weithredol yn yr ymdrech; oblegid pan elo pawb i ymladd, nid oes neb i wneyd heddwch. Bydded hyny fel y byddo, y mae yn destun llawenydd a diolchgarwch fod cyfathrach o'r fath yna wedi ei ffurfio rhwng y ddwy wlad Brotestanaidd fwyaf yn Ewrop. Tra y mae Rhufain yn defnyddio pob ystrywiau i ledu ei dylanwad—tra y mae Awstria a mân freniniaethau a thywysogaethau yr Eidal yn defnyddio eu holl allu i gefnogi a chynnorthwyo yr ystrywiau hyny—a thra y mae Louis Napoleon yn gormesu fwyfwy ar ryddid ein brodyr Protestanaidd yn Ffrainc, ac yn gwneyd pob peth a gymero le yn esgus dros ddwyn ymaith eu rhyddid crefyddol hwy,—yr ydym yn llawenhâu yn yr undeb sydd yn debyg o fod yn gadernid i achos Protestaniaeth. Nis gall dwy wlad fel Prwssia a Phrydain Fawr gydweithredu o blaid y gwirionedd a rhyddid crefyddol, heb beri i'w dylanwad gael ei deimlo, ac heb gynnyrchu effeithiau daionus ar Gyfandir Ewrop a thros y byd.

Nis dylem adael Rwssia allan o'n trem bresennol. Ar ol terfyniad y rhyfel diweddar yn y Crimea, nid oedd nemawr sôn am Rwssia yn ein newyddiaduron, gan fel yr ydoedd megys wedi encilio iddi ei hun; ac yn wir yr oedd gan yr ymherodraeth Rwssiaidd ddigon o le i lafurio yn ei thiriogaethau lliosog a helaeth heb achos iddi drafferthu i ymyraeth â llywodraethau gwledydd a theyrnasoedd Ewrop. Ymddengys yn awr ei bod wedi ymarferyd ei gofal tufewnol i bwrpas da. A ddichon dim da ddyfod o Rwssia unbenaethol a gormesol? Dichon: y mae hi yn y dyddiau hyn yn rhoi gwers dda ar ryddid i'r byd, ac yn enwedig i Daleithiau Cyfunol America. Mae yr ymherawdwr, Alexander II. wedi penderfynu rhyddhâu yr holl gaethion—y *serfs*—yn ei ymherodraeth ëang. Er ys tri chan' mlynedd bellach, y mae y drefn gaethwasaidd wedi ei chydgymysgu

â chyfansoddiad ac arferiadau gwladol Rwssia. Mae yno tua phum' miliwn ar hugain o gaethion, y rhai, er y mwynhäent fwy o ryddid na chaethion Negröaidd America, eto a brynid ac a werthid gyda yr etifeddiaeth ar ba un y byddent yn trigo, ac oeddynt yn hollol wrth orchymyn eu perchenog arglwyddiaethol. Trwy ba foddion y daeth yr ymherawdwr presennol i gofio ac ystyried mai rhai o'r un natur ddynol âg yntau yw y miliynau hyn, nis gwyddom; ond y mae efe wedi penderfynu y cânt rhagllaw eu trin fel dynion, ac nid fel anifeiliaid. Efe a ryddhäodd yr holl gaethion oedd yn eiddo personol iddo ef ei hun, ac nid yw am orphwys gydag act y gwaredred ardderchog hwn, hyd nes y byddo pob caeth o fewn ei ymherodraeth yn ddyn rhydd. Mae newyddiadur wedi ei sefydlu yn St. Petersburg er mwyn egluro a hyrwyddo y rhyddfreiniad daionus, ac y mae cyfeisteddfodau awdurdodol wedi eu penodi yn holl barthau Rwssia tuag at ei roddi mewn gweithrediad. Mae y meddiannwyr galluog o un i un yn dyfod ymlaen i gydffurfio âg ewyllys a threfniad y Czar, gan ollwng y rhai gorthrymedig yn rhyddion, a thori yr iau gaethiwus; a golygir yn awr y bydd y rhyddhâd dirfawr wedi ei gwbl orphen o hyn i ddwy neu dair blynedd. Dyma ddiwygiad mewn gwirionedd wedi cymeryd lle yn Rwssia, ac wedi dechre o'r cŵr, neu yn hytrach o'r canolbarth, iawn. Gan iddo gychwyn o'r orseddfainc, ofer i neb o'r deiliaid feddwl am ei attal na'i droi yn ol. Hyderwn y bydd hyn yn arweiniad i mewn i ryddid crefyddol a gwelliadau cymdeithasol eraill yn ymherodraeth fawr Muscovy. Ac y mae yn ddiammheu yr effeithia i wneuthur argraff foesol dda ar wledydd a chenedloedd lawer. Tra y mae ymherawdwr y Ffrancod yn eu dal ac yn eu gyru hwynt fel caethion wrth ei ewyllys, gan ysgwyd y wialen haiarn uwch eu pen, a rhoddi iddynt eisoes ambell ddyrnod â hi; a phan nad oes ond gorfodaeth filwraidd yn cael ei harfer tuag at ei deiliaid gan lïaws o freniniaethau a thywysogaethau cyfandir Ewrop, wele benaeth yr ymherodraeth a gyfrifid hyd yn hyn fel asgwrn cefn gorthrymder yn estyn ymwared a rhyddid i'r dosbarth mawr o'i bobl na feiddient ddyweyd o'r blaen mai hwy oedd biau eu heneidiau eu hunain. Ac a ydyw ymherodraeth Unbenaethol Rwssia wedi myned yn rhyddach na gwerinlywodraeth yr Unol Daleithiau; a Christionogaeth lygredig yr Eglwys Roeg-Rwssiaidd yn amgenach am gynnyrchu daioni cymdeithasol na phroffes efengylaidd America! Anrhydedd i'r naill, a chywilydd i'r llall!

O dir Rwssia nid yw y ffordd ymhell i Twrci; ac yno, o dan yr iau Fahometanaidd, annedwyddwch a therfysg a geir yn oruchaf. Er cymaint o attegu a fu gan Loegr a Ffrainc ar freniniaeth y Twrc, nid oes dim yn tycio iddi; gogwyddo a syrthio y mae yn barhâus. Mae y "gŵr claf," ys dywedai y diweddar Nicolas o Rwssia, yn lle gwellhâu, yn dal i waethygu, er pob cyfferiau meddygol a weinyddir iddo; canys y mae elfenau trancedigaeth, fe dybygid yn lled sicr, yn gweithio o'i fewn. Y mae trigolion Bosnia, Montenegro, a lleoedd eraill, wedi codi mewn gwrthryfel yn erbyn llywodraeth y Porte; ac aflwyddiannus hyd yn hyn a fu y milwyr Tyrcaidd a ddanfonwyd i'w darostwng. Mae papyrau Awstria yn dywedyd fod agos yr holl lwythau o Gristionogion sydd dan iau Twrci yn Ewrop, ac nid ychydig yw eu rhifedi, yn amlygu mewn ffyrdd cyhoeddus eu hanfoddlonrwydd i lywodraeth bresennol y Twrc, ac yn ddigon tebyg o ddyfod allan mewn un gwrthryfel cyffredinol yn ei herbyn. Y mae Pashas neu raglawiaid y taleithiau yn rhy gyffredin yn ddynion uchelfrydig, trahâus,

rhagfarnllyd, ariangar, mympwyol, a gelynol at Gristionogaeth, fel nad oes gefnogaeth i Gristionogion ddysgwyl cyfiawnder a daioni oddiar eu llaw. Gwir yw fod y Sultan wedi cyhoeddi yr Hatti Humayoom, yr act sydd yn caniatâu rhyddid crefyddol o fewn ei holl diriogaethau i Gristionogion yn gystal â Mahometaniaid yn ddiwahaniaeth; a mawr fel y canmolid ef yn Lloegr a lleoedd eraill am ei ryddfrydigrwydd, ac fel y mynegid yn glodforus am hyn fel ffrwyth da y rhyfel diweddar yn y Dwyrain. Ond mae yn ymddangos mai rhyddid mewn enw ac nid mewn gwirionedd yw yr hyn a ganiateir yn y rhan fwyaf o'r taleithiau. Pan fydd y Cristionogion yn dyfod i gwyno at yr awdurdodau, ni wna y Pashas ond eu diystyru, neu addaw cymeryd eu hachwynion rywbryd o dan ystyriaeth; ac os deuir atynt eilwaith i ymholi am y canlyniad, bydd yr achos erbyn hyny, fe ddywed y rhaglaw, wedi cael ei anfon at y Sultan i Constantinople; ac ofer fydd dysgwyl clywed ychwaneg na derbyn ymwared mwyach. Pa ryfedd gan hyny os bydd y rhan Gristionogol o Twrci yn Ewrop yn cydgyfodi o'r diwedd yn erbyn eu gorthrymwyr Mahometanaidd, yn enwedig pan gofier fod y Cristionogion yno yn llawer llïosocach, yn fwy eu gwybodaeth, ac yn well eu medr, ymhob modd, na'r Mahometaniaid? Fe ddywedir wrthym ei fod yn syniad tra chyffredinol ymysg personau o farn a phrofiad yn y Dwyrain, nas gall Mahometaniaeth fyw yn hir eto fel y gallu llywodraethol yn ngwledydd Twrci, er na ddysgwylir iddi drengu heb wingo yn egnïol ac ymladd yn ffyrnig am ei bywyd. Ac nid yw yn teilyngu un cynnorthwy i'w chadw ar ei thraed. Prydeiniwr craffus, yn ysgrifenu o Damascus i'r *Times* ychydig wythnosau yn ol, a ddywed, "Yn ymherodraeth Twrci, trinir Cristionogaeth fel pe byddai yn fai a throsedd; ac y mae gwrthdystiadau swyddwyr Seisonig naill ai yn cael eu derbyn gyda dystawrwydd gwawdus, neu ynte eu cyfarfod gydag addewidion gau. Ai am hyn y dyoddefodd ein cydwladwyr holl ddychrynfëydd y rhyfelgyrch Rwssiaidd? Ai i ddal i fyny Lywodraeth sydd yn sarhâu ein crefydd sanctaidd, ac yn sathru ar ryddid gwladol, y darfu i ugain mil o feibion glewaf Lloegr golli eu gwaed yn y Crimea? A oddefwn ni i'r Tyrciaid chwerthin am ein penau, tra yr ydym yn ymladd eu rhyfeloedd ac yn cynnal i fyny eu ffurflywodraeth fraenllyd? Mewn gwirionedd, mae yn hen bryd i ni roddi diwedd ar y fath anniolchgarwch ac anghysonedd. Mae anrhydedd ein gwlad yn cael ei warthruddo. Os rhaid i Twrci gael chwareu y gormeswr a'r erlidiwr, na fydded i ni yn rhinweddol ei helpio yn y fath orchwyl trwy ei hamddiffyn yn erbyn deiliaid gwrthryfelgar a gelynion tramor. Gadawn hi yn llonydd i falurio yn chwilfriw fel y mae yn haeddu."

Gallwn grybwyll yma y teimlir colled fawr gan y cenadon Protestanaidd yn Twrci ar ol y cynnrychiolwr Brytanaidd enwog, Arglwydd Stratford de Redcliffe, Syr S. Canning wrth ei enw gynt, yr hwn ar ol hir flynyddoedd o arosiad yn Constantinople fel cenadwr Prydain yn llys y Sultan, sydd wedi dychwel adref i Loegr. Yr oedd ganddo ef y dylanwad mwyaf ar awdurdodau goruchel Twrci, a cheid ef bob amser yn defnyddio y dylanwad hwnw er noddi Cristionogion a chael chwareu teg i Gristionogaeth. Trwyddo ef yn benaf y caed y gyfraith er rhyddid crefyddol, yr hon y cyfeiriasom ati eisoes, ac a elwir yn Hatti Humayoom. Er nad yw y llywyddion Mahometanaidd yn y taleithiau yn ymddangos yn ewyllysgar, ond yn anfynych, i'w rhoddi mewn grym, y mae hi wedi rhoddi yn llaw y *consuls* Protestanaidd ddigon o allu i amddiffyn hawliau rhyddid cydwybod

y rhai oll a apeliant am eu cynnorthwy. Dymunem i'r hen bendefig anrhydeddus, Arglwydd Stratford, yn hŵyr ei oes, fwynhâu pob cysur a dedwyddwch; a hyderwn y bydd ei olynwr yn llys Twrci yn arddangos cyfran helaeth o'i ddoethineb a'i wroldeb, ac o'i ffyddlondeb i ddal i fyny anrhydedd ei wlad ac iawnderau ei grefydd.

Gan ddychwel i Loegr, yr ydym yn cael fod yr holl Gymdeithasau Cenadol, yn Eglwysyddol ac Ymneillduol, yn cyfeirio eu sylw mwyaf difrifol at yr amcan mawr o efengyleiddio yr India, gan anfon cenadau chwanegol, a defnyddio mesurau newyddion tuag at ddwyn hyny ymlaen. Mae cadwraeth y Sabbath hefyd yn parhâu i fod yn bwnc arbenig dan sylw pobl oreu Lloegr, ac yn enwedig yn Llundain. Yno gwneir ymdrechiadau dyfal a rheolaidd gan elynion gwir grefydd i halogi dydd yr Arglwydd trwy agoryd lleoedd o ddifyrwch cyhoeddus. Ond y mae yn dda genym weled cyfeillion y gwirionedd yn gwylio holl ysgogiadau y fyddin wrthwynebol, ac yn sefyll yn gadarn yn erbyn eu hymosodiadau. Aeth cyfarwyddwyr Palas Grisial Sydenham mor bell ag i basio rheol oedd yn caniatâu agor y lle hwnw i'r cyfranfeddiannwyr ar y Sabbath; a phe llwyddasent yn y cais hwnw, buan yr agorasid yr arddangosfa fawr hono o ryfeddodau celfyddyd, ar yr un dydd, i bawb a ddeuent gyda swllt yn eu dwylaw. Ond rhwystrwyd yr halogiad amcanedig gan fraich gref y gyfraith, am fod y cyfryw agoriad yn groes i siarter wreiddol y cydfeddiant. Traddodwyd yn ddiweddar bregethau gan holl glerigwyr Llundain, o bob tu i'r afon Tafwys, yn erbyn masnachu ar y Sabbath, a hyny ar annogiad neillduol Esgobion Llundain a Winchester. Trwm yw edrych ar y miloedd masnachdai sydd yn agored, a'r *ystondingiau* sydd yn sefyll yn ochrau yr heolydd, a chlywed bloeddiadau y gwerthwyr cerddedol, yn y brifddinas ar ddydd Duw, heb sôn am balasau y ddiod feddwol sydd yn denu tyrfäoedd iddynt fel defaid i'r lladdfa. Y mae pob achos, yn ddiau, am i garedigion y Sabbath ymdrech o'i blaid.

Yn Nghymru, "ein hanwyl wlad ein hunain," y mae crefydd efengylaidd yn ymddangos fel yn ymddeffroi, a phobl yr Arglwydd megys ar eu dysgwylfa yn edrych am adfywiad eglwysig. Mae darllen am y cyffröadau a'r adfywiadau crefyddol yn America wedi cynhyrfu cynnulleidfäoedd, hyd yn nôd yn nghilfachau mynyddoedd Cymry—y fath yw ëangder dylanwad y wasg newyddiadurol a chylchgyhoeddiadol!—nes yr aethant i weddïo a dysgwyl o ddifrif am ddiwygiad grymus yn eu mysg hwythau, ac y maent yn dechreu cael profion ymarferol, meddir wrthym, fod eu gweddïau wedi eu gwrandaw gan Ben Mawr yr Eglwys. Amser yw hwn yn ddiau i Sïon wisgo ei nerth mewn ysbryd gweddi a llafur; ac felly tra yn clywed am lwyddiant yr efengyl mewn gwledydd eraill, llefwn gyda hybarch fardd "Cywydd y Drindod,"—

"Arglwydd Iôr i'th glodfori,
Cymru at hyn, cymer i ti!"

# Nodiadau Llenyddol.

**Wrth** ddechreu ar ein "Nodiadau" yn y cyflyfr hwn, y mae yn anghenrheidiol i ni ddywedyd, nad ydym, wrth ddadgan ein cymeradwyad cyffredinol o unrhyw lyfr, neu wrth ei ganmawl fel un da ar y cyfan, yn ein rhwymo ein hunain i amddiffyn pob brawddeg neu syniad a gaffer ynddo. Pan nas gallwn lai na dywedyd fod tuedd llawer llyfr yn dda, neu fedrusrwydd yr awdwr yn ddiymwad, neu y wybodaeth a geir ynddo am hanes neu ansawdd y pwnc dan sylw yn werthfawr, os nad agos yn anghyrhaeddadwy yn unlle arall, dichon ar yr un pryd na byddwn yn cydolygu â'r ysgrifenydd am bob gosodiad a roddir i lawr ganddo. Am esbonwyr, er anghraifft, gall un fod yn rhagori fel beirniad ieithyddol, y llall fel olrheiniwr dwyreiniol neu fel hanesydd cyffredinol, ac un arall fel duwinydd efengylaidd, ac felly yn y blaen; ac os byddwn ninnau yn canmawl awdwr yn unig am y naill, na ddyweder ein bod trwy hyny yn ei hollol gymeradwyo yn y lleill. Yr ydym yn cofio fod Williams, Pantycelyn, yn dywedyd yn ngenau un o'r cymeriadau yn *Theomemphus*,—

"Er pured Eglwys Scotland, nid purdeb yw hi i gyd;
Ni phiniaf ddim o'm credo wrth lawes neb o'r byd:"

ac yr ydym yn credu fod y rhan fwyaf o ddarllenwyr ein Nodiadau yn synio yn gyffelyb, ac yn hyderu eu bod yn "rhai o herwydd cynnefindra y mae ganddynt synwyr wedi ymarfer i ddosbarthu drwg a da." Ond yr ydym yn deall fod rhyw nifer fechan o deulu y gwrthddadleuwyr yn chwannog i achwyn arnom fel Adolygwyr Llênyddol, o achos eu bod wedi cael allan, am ryw lyfrau a ganmolid genym oddiar ystyriaethau penodol, "nad purdeb i gyd" oedd y cyfansoddiadau hyny. Ac fe ddywedir wrthym am rai o'r cyfeillion gweiniaid, ond diddichell, "sydd yn ymarfer â llaeth," eu bod yn tramgwyddo wrthym am i ni siarad yn lled uchel am rai llyfrau nad oedd "*British Standard*" Dr. Campbell yn dywedyd mor dda am danynt. Yr ydym o'r blaen wedi mynegu ein barn am y gŵr trystfawr hwnw, lle y gallesid gweled nad oeddem yn gallu meithrin y dyb oreu am ei gysondeb a'i sefydlogrwydd mewn uniongrededd; nis gellir dysgwyl i ni, gan hyny, ymofidio yn ddirfawr am yr anffawd o'n bod yn mesur personau a phethau wrth brawfreol amgen i "*standard*" y Dr. Campbell. Ond digon ar hynyna. Ni a awn ymlaen i nodi rhai llyfrau a ddaethant allan yn ddiweddar, ac ydynt, "ar y cyfrif hwn neu arall," yn deilwng o sylw.

***A Commentary on the Gospel of S. Matthew, by the Rev. Harvey Godwin, M.A., Cambridge,*** sydd waith gwir ragorol. Mae yr awdwr yn adnabyddus fel un o athrawon goreu y deyrnas yn nghelfyddyd Rhif a Mesur; y mae efe hefyd wedi cyhoeddi cymaint â chwech, os ydym yn iawn gofio, o gyfrolau o bregethau dan yr enw *Parish Sermons*, ynghyda

dwy gyfrol o'r *Hulsean Lectures*. Ac y mae yn dda genym weled ei fod yn debyg o ennill iddo ei hun gymaint clôd fel duwinydd ag a roddid iddo yn gyffredinol fel gwyddon ac alsoddwr. Mae yr esboniad hwn ar Efengyl Matthew ar gynllun gwahanol i'r esboniadau a gyhoeddasid yn ddiweddar gan awdwyr galluog o'r Eglwys Wladol. Ni welir ynddo eiriau o un iaith estronol, yn farw nac yn fyw; canys y mae wedi ei ysgrifenu yn y fath fodd ag y gall Sais uniaith wneuthur defnydd ymarferol o bob llinell o hono. Er hyny mae yn bur amlwg fod yr awdwr wedi astudio y testun gwreiddiol yn fanwl, a chwilio hefyd esboniadau yr ysgrifenwyr dysgedig mewn amrywiol ieithoedd arno. Mae yn edrych ar y testun yn ei amrywiol berthynasau, ac yn gosod allan yr ystyr sydd i bob brawddeg yn y cysylltiad y mae yn gorwedd yn naturiol ynddo, gan dynu yn gyson addysgiadau ymarferol da a chymhwys. Ni phetruswn ei arganmawl i'r pregethwr, ac i'r athraw Ysgol Sabbothol, fel cynnorthwy hwylus a buddiol; a gellid edrych arno fel cynllun o esboniad a fyddai yn gyfaddas a phoblogaidd yn Nghymru.

Llyfr arall a ddaeth allan yn ddiweddar yn rhestr Beirniadaeth neu yn hytrach Egluriadaeth Ysgrythyrol, ydyw, *The Prophecies relating to Nineveh and the Assyrians; translated from the Hebrew; with Historical Introduction, and Notes exhibiting the principal results of the Principal Discoveries; by George Vance Smith, B.A.* Longman, London. Mae y llyfr hwn yn esboniad ar yr holl ranau hyny o'r prophwydoliaethau sydd yn cyfeirio at Ninifeh a'r Assyriaid, ac felly yn cymeryd i mewn ranau o Esaiah ac Ezeciel, a llyfrau Nahum, Jonah, a Zephaniah. Mae yn amcanu at fanyldeb mawr, gan roddi cyfieithiad newydd o'r lleoedd dan sylw, ac esboniad ar y rhanau a gyfieithir ganddo; ac y mae yn defnyddio, fel y gallesid dysgwyl, ddarganfyddiadau diweddar Rich, Botta, Rawlinson, a Layard. Mae darganfyddiadau hynod a thrwyadl yr ymchwilwyr hyn wedi gorfodi hyd yn nôd yr esbonwyr o duedd anffyddol i newid eu tôn gyda golwg ar Ninefeh. Ychydig flynyddau yn ol, yr oedd y tylwyth ëofn hyny wedi myned i wadu yn ddigywilydd yr hanes ysgrythyrol am Ninefeh, gan na bu y fath le, meddynt, yn bôd erioed. Gofynent yn hyf, 'Os bu y fath "ddinas fawr iawn o daith tri diwrnod," i ba le yr aeth yr holl olion o honi? Pe safasai ar ei thraed rywbryd, diau y daethid cyn hyn ar draws rhyw *relic* o honi.' Ond, erbyn heddyw, y mae pob cyfryw wrthddadleuon wedi ffoi ymaith am byth. Mae cynnydd gwybodaeth yn wastad yn wasanaethgar, ac nid yn niwed, i'r Hen Lyfr; mae holl ddarganfyddiadau rhyfedd ein hoes yn cadarnhâu ei wirionedd; fel y profir yn dda yn y llyfr ger ein bron. Undodiad, mae yn amlwg, yw yr awdwr o ran ei syniadau crefyddol; ac y mae ei olygiadau neillduol yn dyfod i'r golwg rai prydiau yn yr esboniad hwn mewn manau nas gallesid dysgwyl dim am danynt. Ond y mae efe ymhell iawn oddiwrth ddilyn Martineau, ac Undodiaid diweddar eraill, yn eu syniadau isel ac anmharchus am y Bibl; ac, ar y cyfan, y gwaith hwn yw yr eglurhâd goreu a ymddangosodd hyd yn hyn ar gyflawniad y prophwydoliaethau yn eu cysylltiad âg Assyria a Ninefeh.

*The Song of Songs, translated from the Original Hebrew; with a Commentary, Historical and Critical; by Christian Ginsburg,* sydd waith

diweddar â newyddbeth esboniadol. Mae yr awdwr yn dadleu dros ysbrydoliaeth Llyfr y Caniadau, ac mewn canlyniad dros ei hawl i le yn y canon dwyfol; eithr y mae yn gwrthod yn gwbl y deongliadau efengylaidd cyffredin a roddir ar ystyr y Gân ddigymhar hon, ac yn cynnyg cyfundrefn newydd o esboniad arni. Ond beth bynag a ddywedir am athrawiaeth yr awdwr, y mae ei gydnabyddiaeth â'r iaith Hebraeg, ac â'r esbonwyr Iuddewig a Christionogol, yn dywedyd fod ganddo ryw gymaint o arddelwad i ofyn gwrandawiad ar ystyr y geiriau. Mae ei ragdraethawd yn dra gwerthfawr, yn enwedig y rhan sydd yn sylwi ar wahanol esboniadau blaenorol ar y llyfr; ac y mae y cyfieithiad a roddir yma yn naturiol a rhwydd, a'r nodiadau yn dangos cydnabyddiaeth fanylaidd â'r gwrthddrychau dwyreiniol y cyfeirir atynt yn y Gân Sanctaidd hon.

*The Desert of Sinai: Notes of a Spring-Journey from Cairo to Bethesda; by Horatius Bonar, D.D., Kelso:* ynghyda'r *The Land of Promise; Notes of a Spring-Journey from Beersheba to Sidon*, gan yr un teithiwr parchedig, dau lyfr a ddaethant allan, un yn y flwyddyn ddiweddaf a'r llall yn y flwyddyn hon, sydd yn cyflëu i ni hanes deniadol ac addysgiadol iawn am daith ddiweddar yr awdwr i wledydd ysgrythyrol y Dwyrain. Llawer a chynnyddol yw yr adroddiadau cyhoeddedig am Deithiau i Wlad Canaan a'r gwledydd cymydogaethol; ond y mae rhywbeth mwy na'r "côf am bob diweddaf," dybygem, yn peri i ni synied fod adroddiad Dr. Bonar, ar rai cyfrifon, yn rhagori ar eiddo ei holl ragflaenoriaid. Gallwn weled agos ymhob tu dalen ei fod yn hynod gyfarwydd yn yr Ysgrythyrau, ac yn coleddu parch mabaidd at bob gair a ddaeth o enau Duw; ac y mae efe yn ddedwydd iawn yn ei waith yn egluro testunau Ysgrythyrol oddiwrth leoedd, pethau, a dygwyddiadau dwyreiniol. Y mae hefyd ryw fywyd a theimlad yn ei holl ddesgrifiadau sydd yn bywiogi dychymyg a chynhyrfu calon y darllenydd. Tra y mae yn cyfeirio yn barchus at *Sinai* Mr. Stanley a *Biblical Researches* Dr. Robinson, y mae yn unioni amryw o amryfuseddau y syrthiasant hwy iddynt, ac yn rhoddi hanes am rai lleoedd a golygfëydd dyddorol nad ymwelwyd â hwy ond yn anfynych gan deithwyr blaenorol. Mae y ddau lyfr yn taflu goleuni mawr ar lyfrau hanesyddol yr Hen Destament, ac yn wir ar Lyfr Job ac ar amryw o lyfrau y Prophwydi, ac yn enwedig ar Hanes Crist yn yr Efengylau.

*On the Right Use of the Early Fathers: Two Series of Lectures delivered in the University of Cambridge; by the Rev. J. J. Blunt, B.D., late Margaret Professor of Divinity in the University;* a llyfr arall ar destun cyffelyb o waith yr un awdwr, *A History of the Cristian Church during the First Three Centuries*, a ymddangosasant yn ddiweddar. Y mae enw Mr. Blunt yn adnabyddus fel awdwr medrus yr *Undesigned Coincidences in the Writings both of the Old and New Testament an argument of their veracity.* Yn mlynyddau diweddaf ei oes, yr oedd efe wedi ei benodi yn *Margaret Professor* yn Mhrifysgol Caergrawnt; ac mae y llyfrau ger ein bron yn cynnwys detholiad o ddarlithiau a draddodwyd ganddo yn y cymeriad hwnw. Yr oedd efe yn ddyn pur efengylaidd, ond yr oedd llawer iawn o Ucheleglwysyddiaeth yn perthyn iddo; ac y mae hyny yn dra amlwg yn y cyfrolau hyn. Yr oedd efe yn edrych ar Gristionogaeth Foreuol oddiar safle esgobyddiaeth, ac felly yn dueddol i esbonio holl

ffeithiau hanes yr Eglwys Gyntefig yn bleidiol i ffurflywodraeth esgobyddol. Y mae y tuedd hwn i'w weled yn nodedig yn ei ddarlithiau ar y Tadau Cyntaf; mae yn amddiffyn yr hen dadau yn wresog mewn llawer o amgylchiadau na buasai efe fel beirniad, dybygid, byth yn gwneyd oni bae ei fod yn ddarostyngedig i chwiw yr esgobyddiaeth. Y mae efe yma yn cymeryd yr ochr wrthwynebol i Daillé a Barbeyrac. Yr oeddynt hwy, wrth ddadleu yn erbyn Pabyddiaeth, yn tueddu, fe ddichon, i gondemnio y Tadau yn ormodol oddiar fod Eglwys Rhufain yn seilio cymaint o'i chrefydd arnynt; er y rhaid addef fod Daillé wedi bod yn dra llwyddiannus i ddangos nid yn unig anghysonedd y Tadau â'u gilydd, ond hefyd â hwy eu hunain, fel y gwelid mai cwbl anniogel oedd eu cymeryd yn sylfaen ffydd. Ond y mae Mr. Blunt yn rhoddi y lliw goreu ar holl hanes a syniadau y Tadau Boreuol; ac y mae yn ceisio profi fod eu tystiolaethau yn ffafriol i Eglwys Loegr, yn neillduol ar y pynciau hyny lle y mae hi yn gwahaniaethu oddiwrth Eglwys Rhufain. Mae y darlithiau yn ddwy restr. Yn y rhestr gyntaf, y mae un ar ddeg o ddarlithiau, yn y rhai yr atebir dadleuon yn erbyn y Tadau; ac yn yr ail restr y mae pymtheg o ddarlithiau, yn dangos y manteision a geir o astudio gweithoedd y Tadau, fel y maent yn ddefnyddiol gyda golwg ar wirionedd Cristionogaeth—ar natur a chyfansoddiad yr Eglwys Gristionogol—ar benderfyniad canon y Testament Newydd—ar ddilysiant ei destun—ac ar ei ddeongliad athrawiaethol. Mae yn profi yn gryf nad oedd y Tadau yn Sosinaidd eu golygiadau; ac y mae yn ceisio profi—nid mor gryf feddyliem ni—nad oeddynt ychwaith yn meithrin y syniadau a elwir yn Galfinaidd. Nid oedd yr awdwr, fe welir, yn Galfin ei hun mwy nag yn Sosin. Pa fodd bynag, mae y darlithiau hyn am y Tadau yn dangos ymchwiliad dwys a medr mawr; ac y mae yn rhaid eu hefrydu hwy yn gystal â gwaith Daillé tuag at ein galluogi i farnu beth yw y gwir a'r holl wir am hen Dadau yr Eglwys.

Llyfr cydrywiol, i ryw fesur, yn ei amcan, ond llawer mwy amrywiol yn ei gynnwys ydyw, *Essays on Various Subjects, Philological, Philosophical, Ethnological, and Archæological, connected with the Pre-historical Records of the civilized Nations of Ancient Europe, especially of that Race which first occupied Great Britain; by* John Williams, A.M., Oxon., *Archdeacon of Cardigan, &c.* Mae ein cydwladwr hybarch a dysgedig wedi casglu ynghyd, yn y gyfrol hon, ddetholiad o'i draethodau ar rai o'r testynau mwyaf dyrys mewn cysylltiad â Hynafiaethau Ewrop. Mae rhai o honynt wedi eu hargraffu a'u cyhoeddi o'r blaen, naill ai ar wahân neu mewn cysylltiad â hanes gweithrediadau rhai o sefydliadau dysgedicaf ein teyrnas; ond y mae y rhan fwyaf o honynt wedi eu cyhoeddi yn awr am y tro cyntaf; ac y mae y cwbl yn gyfryw ag sydd yn arddangos yr ieithydd dysgedig, yr hynafieithydd cywrain, y cristion penderfynol, gelyn mawr pob athroniaeth fynai ddirymu awdurdod y dadguddiad Dwyfol, ac yn y cwbl y Cymro aiddgar tros ei wlad, ei iaith, a'i genedl. Mae rhai o'r traethodau yn ein bryd ni yn dra rhagorol; ac y mae yr oll yn gyfryw ag sydd yn teilyngu eu darllen yn fanwl, a'u hastudio yn dda, gan bwy bynag a fynai dori trwy niwl y tywyllwch sydd yn gorwedd ar yr hen amseroedd, cyn cof a hanes, i gymaint o oleuni ag a ddisgyn arnynt trwy bob olion o'r eiddynt sydd eto ar goll, trwy bob cyfeiriadau achlysurol atynt yn yr hen awdwyr sydd heb fyned ar ddifancoll, ac yn enwedigol trwy gymhariaeth y

gwahanol ieithoedd a fu gynt neu y sydd eto yn gyfryngau cymundeb rhwng dynion â'u gilydd. Yr ydym yn deall mai ychydig nifer o'r gyfrol sydd wedi eu hargraffu, felly byddai yn ddoeth i'r rhai a ddymunai ei chael i anfon am dani yn ddioed. Y mae y pris braidd yn uchel, ond yr oedd y draul i'w chael allan o bosibl yn gofyn hyny.

Ychydig fisoedd cyn ymddangosiad y gyfrol flaenorol, cyhoeddasai yr Archddiacon, *Discourses and Essays on the Unity of God's Will, as revealed in Scripture, and the necessity laid upon all Christian Communities of acknowledging such Will as the only Rule of Life; with special reference to God's dealings with the people of Christianized Britain.* Y mae rhai o'r pregethau a'r traethodau, yn y gyfrol hon hefyd, wedi eu cyhoeddi o'r blaen ar wahân; ond y mae y nifer fwyaf o lawer o honynt wedi eu cyhoeddi yn awr am y tro cyntaf. Y mae yr awdwr yma yn ymddangos fel y gwyliedydd gofalus, a'r rhybuddiwr gonest; yn gweled y drwg yn dyfod, ac yn gwneyd ei oreu er ceisio ei droi draw. Y mae yn hawdd gweled ei fod yn teimlo yn ddwys y perygl mawr y mae y deyrnas hon ynddo oddiwrth annuwiaeth cyffredin meddyliau ei thrigolion, a'r gwadiad ymarferol o lywodraeth y Goruchaf ar y byd ac amgylchiadau dynion ynddo. Mae yn y gyfrol aml sylw â'r hwn nas gallwn yn hollol gydweled; ond y mae y pwys mawr a roddir gan yr awdwr ar y llywodraeth Ddwyfol; y lle uchel, teilwng, a roddir ganddo i'r gair Dwyfol; ei ddynoethiad o bob peth dan enw *philosophy* fynai gyfyngu dyn i'r amserol, a'r elfenol, a'r daearol; ei gondemniad diamwys o'r heresi sydd yn ffynu yn ormodol yn y cylch eglwysig y perthyna iddo am iachawdwriaeth trwy yr eglwys a'i sacramentau, ar wahân oddiwrth ffydd yn ei Phen; a'r difrifwch a arddengys pan yn cymhell at rinweddau cyffredin bywyd;—yn gyfryw ag sydd yn peri i ni obeithio y gall y cyhoeddiad o honi wneuthur lles mawr, yn enwedig am fod yn debyg y cyrhaedda, mewn cysylltiad â'i enw ef, i lawer cylch, na buasai, pe heb hyny, pa faint bynag ei theilyngdod ynddi ei hunan, yn gallu dyfod i mewn iddo. Yr ydym yn gobeithio y câ yr awdwr hir oes i wasanaethu ei wlad a'i genedl.

Gyda pharodrwydd mawr y cyfeiriwn sylw ein cyfeillion at y ddwy gyfrol ganlynol:—*Sermons on Special Occasions, by the late John Harris, D.D. First and Second Series.* Soniasom mewn cyfrol flaenorol am ragoriaethau awdurol y diweddar Dr. Harris; ond nid ydym yn meddwl fod dim mor rhagorol â'r pregethau hyn yn ei holl ysgrifeniadau eraill. Er nas gallwn farnu fod yr awdwr yn perthyn i'r dosbarth uchaf o feddylwyr, yr oedd efe wedi casglu gwybodaeth gyffredinol, ac wedi ystorio ei feddwl â chynnyrchion goreu yr oesoedd, ac yn meddu gallu mawr i roi allan y meddwl hwnw mewn dull annibynol, os nad gwreiddiol. Pregethwr mawr oedd Harris; cawsom y fraint o'i glywed rai gweithiau, ac nis gallem lai na'i gyfrif yn un o benaethiaid yr areithfa yn Lloegr. Er mai darllen ei bregethau y byddai, nid oedd neb am warafun iddo ef, mwy nag i Dr. Chalmers, ddarllen yn y pulpud, canys er nad oedd efe mor rymus â Chalmers, mynych y bu yn darllen ei bregeth mor effeithiol nes y byddai torf gyfan o wrandawyr yn ymdoddi hyd wylo. Mae y ddwy gyfrol hon yn cynnwys ei brif bregethau, ynghyd a'r ddiweddaraf a bregethodd. Ceir ynddynt bethau calon dyn, dyfnion bethau Duw, gyda'r gwirionedd megys

y mae yn yr Iesu yn ganolbwynt y cyfan. Nid oedd yr ysgolaig a'r athronydd byth yn cuddio y cristion yn Dr. Harris; yr oedd enaid yr efengyl yn cartrefu yn ei enaid ef. Yr oedd ei golli ef yn wir golled i achos yr efengyl, yn enwedig yn y cysylltiad eglwysig yr oedd efe yn troi ynddo, a'r sefyllfa uchel yn mhrif goleg ei enwad a lenwid ganddo. Rhywbeth dirgeledig yn wir yn ngorchwyliaeth Rhagluniaeth ydoedd cymeryd ymaith y fath ddyn yn nghanol ei ddyddiau, pan yr oedd wedi ei gyfaddasu i ddefnyddioldeb mawr mewn cylch nad oes ond ychydig yn gymhwys iddo!

Y mae genym hefyd ar ein bwrdd *Sermons by the Rev. J. C. M. Bellew,* mewn dwy gyfrol led fawr, gyda *Five Occasional Sermons, together with a Discourse delivered on the Day of National Humiliation, Oct. 7, 1857,* gan yr un awdwr. Cyfrifir Mr. Bellew yn un o bregethwyr mwyaf poblogaidd Llundain yn y dyddiau hyn, o leiaf mewn cysylltiad âg Eglwys Loegr; ac y mae y pregethau yn tystio, gellid meddwl yn lled sicr, fod ei boblogrwydd yn gyfiawn iddo. Er nas gellir dywedyd ei fod yn feddyliwr gorddwfn fel Robertson, eto rhaid addef wrth ddarllen yr holl bregethau hyn mai nid dyn cyffredin mo hono; mae yn arddangos crebwyll bywiog a hyawdledd cynhyrfiol, eithr y mae weithiau yn cymeryd ei gario yn ormodol gan ei ddychymyg ffrwythlawn, yn ei egluriadau a'i gyffelybiaethau, heb fod yn ddigon coeth ei chwaeth. Gwelir ei fod wedi astudio y natur ddynol yn lled fanwl; ac y mae ei deithiau yn nhir sanctaidd Palestina, ac yn y gwledydd clasurol, Groeg a Rhufain, wedi rhoddi iddo lawer o ddefnyddiau cyfleus i egluro ei faterion. Y mae efe hefyd, ar y cyfan, yn bregethwr tra efengylaidd, ac yn ei holl bregethau yn cyfeirio y gwirionedd yn ymarferol at y gydwybod a'r fuchedd.

*The World of Mind; an Elementary Book, by Isaac Taylor,* yw y llyfr nesaf sydd o flaen ein llygaid. Gŵyr pawb a ŵyr rywbeth am lenyddiaeth am enw Isaac Taylor, yr hwn a gyfrifir ymysg prif gedyrn awdurol yr oes. Tra y mae rhai o'i ysgrifeniadau yn rhoddi i feddylwyr mawrion loned eu breichiau o drysorau deall, y mae mewn rhai eraill o'i gyfansoddiadau yn amyneddus yn arwain yr ysgolaig ieuanc ymlaen yn llwybrau athroniaeth a dadguddiad. Er ys amryw o flynyddoedd bellach, cyhoeddodd lyfryn bychan rhagorol o'r enw "*Elements of Thought,*" yr hwn sydd yn eglurhâu y prif dermau a arferir mewn cysylltiad âg Athroniaeth y Meddwl, ac yn agoriad cryno i'r wybodaeth bwysig hono. Unig fai y llyfryn hwnw yw ei fyrdra; ond mae y bai hwnw yn cael ei feddyginiaethu yn y "*World of Mind.*" Mae yma yn trin yr un pethau ag yn llyfr yr "*Elements,*" ond ei fod yn llawer helaethach a chyflawnach. Olrheinir meddwl ymhob man cân belled ag y mae yn adnabyddus i ni, a dynodir yn fedrus y pwynt o wahaniad rhwng y dosbarthiadau uwch ac îs o feddyliau—rhwng meddwl yn y dyn ag yn y crëaduriaid sydd islaw iddo. Llyfr gwyddorol, fel y gwelir ydyw, wedi ei fwriadu i ddenu yr efrydydd i deithio cyfandiroedd mawrion a rhyfedd "byd y meddwl," ac i'w gynnorthwyo i fasnachu yn llwyddiannus gyda eu hamryfal gynnyrchion. Nid swp o esgyrn sychion mo hono, fel y ceir llyfrau elfenol neu arweiniol yn rhy gyffredin, ond y mae newyddiant ac irder ei egluriadau yn ei wneyd yn ddifyr a chwaethus i'r darllenydd athrongar. Cynghorem ieuenctyd

Cymru i astudio yn ddygn lyfr o fath hwn; bydd yn ymarferiad iachusol i'w meddyliau.

Dyma eto lyfr gwyddorol ar wyddiant arall sydd yn arwain i fyd gwahanol i "fyd y meddwl"—i fyd gweledig a theimladwy: *The Character and Logical Method of Political Economy: being a course of Lectures delivered in Hilary Term,* 1857; *by John E. Cairnes, A.M., Whately Professor of Political Economy, in the University of Dublin.* Ymadrodd mynegiadol, a hyddysg iawn bellach, ymysg y Saeson yw *Political Economy;* ond nid oes gan y Cymry, hyd y gwyddom ni, yr un enw penodol ar y wyddor a olygir wrtho. Pe dywedem Iawn-drefnyddiaeth Gwladwriaethol, fel y gwelsom rywun wedi ceisio cyfieithu yr ymadrodd, pwy a fyddai fymryn nês i ddeall y mater? Meddylid yn naturiol mai at Ddiwygiad Seneddol, neu rywbeth o'r fath, yr oedd y cyfryw ymadrodd yn cyfeirio. Nid oes genym ninnau ar hyn o bryd unrhyw ddau air Cymraeg i'w cyfiwyno fel cyfieithiad dealladwy o'r geiriau *Political Economy;* rhaid i ni fanylu, gan hyny, a dywedyd mai y wybodaeth sydd yn olrhain egwyddorion a deddfau trafnidiaeth, a hyny mewn cysylltiad â meddwl dyn yn gystal ag â llywodraeth y Duw mawr ar y byd, yw yr hyn a olygir wrth yr ymadrodd crybwylledig. Gallem feddwl fod y llyfr hwn o awduriaeth Mr. Cairnes yn rhoddi i ni yr arweiniad symlaf a mwyaf dealladwy a welsom erioed i'r deddfau sydd yn rheoleiddio masnach a chyfoeth. Mae efe yn ddilynwr llwyddiannus i Adam Smith, Malthus, Ricardo, a Mill, ac yn eu hamddiffyn yn alluog yn erbyn ymosodiadau diweddar Macleod, yr hwn a fynai ail wneyd yr holl gyfundrefn o newydd. Nis gallwn yma fyned i mewn i'r ddadl, na dyweyd ychwaneg am y llyfr hwn na'i fater; da fyddai genym weled traethawd yn Gymraeg yn trin deddfau trafnidiaeth mewn modd helaeth, eglur, ac ymarferol.

*The Pursuit of Knowledge under Difficulties; by George L. Craik. A New Edition, revised and enlarged; in Two Volumes.* Daeth y gwaith hwn allan gyntaf yn 1830, fel un o gyhoeddiadau y Gymdeithas, a sefydlwyd gan Arglwydd Brougham ac eraill, er Taenu Gwybodaeth Fuddiol. Gan nad oedd enw yr awdwr wrtho, priodolid yr awduriaeth y pryd hyny i Arglwydd Brougham; ac aeth Syr James Mackintosh mor bell ag i ddywedyd nas gallasai neb arall fod wedi ei wneuthur. Mae yr argraffiad hwn wedi ei gyhoeddi mewn gwedd well, gydag amryw o ychwanegiadau gwerthfawr. Yr oedd yn hyfryd genym weled hen adeiladydd athrylithgar Pont-y-pridd, William Edwards, yn cael lle gwych yn nghymdeithas enwau anrhydeddusaf y byd yn y celfau a'r gwybodau. Nis gwyddom am un llyfr cymhwysach i galonogi ein cyfeillion ieuainc sydd yn llafurio dan anfanteision, i fyned rhagddynt yn egnïol yn yr ymchwil am wybodaeth. Cânt weled yma rai tebyg iddynt hwy eu hunain wedi llwyddo, er gwaethaf anhawsderau, i gyflawni y gorchestion enwocaf.

*A Grammar of the Welsh Language, based on the most Approved Systems, with Copious Examples from some of the most correct Welsh Writers; by the Rev. Thomas Rowland, Rector of St. Thomas', Pennant Melangell, Montgomeryshire. Second Edition, enlarged.* Galwyd sylw yn y TRAETHODYDD at ymddangosiad cyntaf y llyfr hwn, gan roddi mawr

gymeradwyaeth iddo. Mae yn dda genym weled ei fod wedi cyrhaedd ail argraffiad. Yr ydym yn ei ystyried ymhob modd yn un o'r rhai goreu, os nid y goreu oll, o Ramadegau Cymru. Yr unig un ydyw sydd yn olrhain teithi y Gymraeg i ddim manylrwydd, ac mewn modd athronyddol. Ond y mae genym air i'w ddyweyd eto nad yw yn llawn mor gysurus ei draethu na'i wrandaw. Dywed y wynebddalen fod yr awdwr wedi dwyn i mewn yn ehelaeth anghreifftiau oddiwrth rai o ysgrifenwyr Cymreig cywiraf; ac y mae efe wedi casglu llïaws o frawddegau awdurol yn siamplau i gadarnhâu ei nodiadau; ond methasom weled enw un ysgrifenydd o fysg yr enwadau Ymneillduol yn eu plith hwynt oll. Pob parch i Nicander a D. Silvan Evans, at y rhai y cyfeirir yn fynych gan yr awdwr; ond ai ni fu ac ai nid oes ysgrifenwyr ymysg Ymneillduwyr Cymru sydd, a dywedyd y lleiaf, yn awdurdodau mor gymhwys â hwythau mewn llênoriaeth Gymreig? Mae yn syn genym weled un a agorodd ei lygaid gyntaf, yn llythyrenol ac yn allegol, ymhlith "pobl y capeli," wedi myned yn gymaint o uwcheglwyswr, nes nad yw yn edrych ar neb tu allan i'r Eglwys y mae efe yn gweini ynddi fel "*rector* St. Thomas', Pennant Melangell," megys ein hysbysir yn llawn llythyr, yn werth eu cydnabod yn ysgrifenwyr cywir yn y Gymraeg. Y mân-bersoniaid a ymlusgasant i'r Eglwys Wladol wedi eu dwyn i fyny yn aelodau gyda yr Ymneillduwyr, hwynt-hwy yn Ngogledd Cymru, gydag ychydig iawn o eithriadau, yw y rhai mwyaf haerllug yn erbyn Ymneillduwyr ac Ymneillduaeth; mae y golwg trahâus a wneir gan y cyfryw ddynsodion ar yr hen aelwyd eu magwyd arni yn beth a deimlir yn dra annyoddefol gan y rhai â'u hadwaeneut yn y dyddiau o'r blaen.

Mae y rhai sydd yn hoffi olrhain tarddiad a pherthynasau y Gymraeg a'i chwaerieithoedd, yn sicr o groesawu gyda sirioldeb, *The Eastern Origin of the Celtic Nations, proved by a comparison of their dialects with the Sanskrit, Greek, Latin, and Teutonic Languages: forming a supplement to Researches into the Physical History of Mankind; by* James Cowles Prichard, M.D., F.R.S., &c. *Edited by* R. G. Latham, M.A., M.D., F.R.S., &c. Mae enw Dr. Prichard yn sefyll ymhlith y rhai uchaf ei ymchwiliadau i hanes naturiol dynolryw a pherthynas gwahanol genedloedd y ddaear â'u gilydd. Cydnabyddir yn gyffredinol ei holl ysgrifeniadau ar hyn ymysg y rhai rhagoraf. Maent yn arddangos ymröad anorchfygol i gasglu ynghyd y ffeithiau anghenrheidiol er defnydd ymchwiliad; craffder nodedig i ganfod eu priodoliaethau cyffredin, a'u nodweddion gwahaniaethol; annibyniaeth mawr ar ragfarnau blaenorol; yr ymddarostyngiad llwyraf i arweiniad y gwirionedd; a medrusrwydd anghyffredin i gyflwyno ffrwyth y cyfan yn eglur a dealladwy i'w ddarllenwyr. Cyhoeddwyd y llyfr sydd yn awr ger ein bron ganddo yn y flwyddyn 1831, fel math o adgyflenwad i'w waith mawr ar Hanes Anianyddol Dynolryw. Yn y gwaith hwnw y mae yn olrhain perthynas gwahanol genedloedd y ddaear â'u gilydd trwy gymharu ffurf y penglog, cyfansoddiad y corff a'i aelodau, lliw y croen, y gwahanol glefydau y mae dynion mewn gwahanol wledydd yn ddarostyngedig iddynt, galluoedd naturiol y meddwl, tueddiadau moesol a chrefyddol, arferion cymdeithasol, ac, mewn rhan, yr amrywiol ieithoedd a leferir ganddynt. Y mae yn estyn yr olrheiniad, gyda manyldra mawr, yn yr amrywiol bethau hyn, oddieithr y diweddaf, hyd at agos holl genedloedd adnabyddus y ddaear. Ychydig, mewn cymhariaeth, yn ei brif waith,

a wneir o ddefnydd ganddo o'r ieithoedd a leferir ganddynt er penderfynu eu perthynas. Y mae y llyfr hwn wedi ei amcanu ganddo er cyflenwi i ryw fesur y diffyg hwnw. Ond nid ydyw yn cymeryd i mewn yn hwn, ond rhan fechan o'r maes oedd yn agored iddo yn y cyfeiriad hwnw. Y mae yn cyfyngu ei hunan i'r prawf o darddiad dwyreiniol y gwahanol dylwythau Celtaidd trwy gymharu eu hieithoedd â'r teulu mawr Indo-Ewropëaidd. Er profi y berthynas, y mae yn tynu cymhariaeth fanwl rhyngddynt o ran eu geiriau cysefin a'u cyfansoddiad neu eu ffurf ieithadurol. Ac y mae yn anhawdd meddwl am brawf o'r fath yn cael ei weithio allan yn fwy llwyddiannus. Y mae holl ragoriaethau Dr. Prichard yn ei gyfansoddiadau eraill i'w canfod yn arbenig yma. Anhawdd cael cynllun gwell o'r modd y dylai y fath ymchwiliadau gael eu dwyn ymlaen, a, thybygem ni, fod braidd yn anmhosibl i'r darllenydd ar ddiwedd y ddadl beidio bod o'r un meddwl â'r awdwr. Mae yr argraffiad presennol wedi ei ddwyn allan dan olygiad y Dr. Latham, yr hwn sydd wedi ychwanegu at y gwaith gwreiddiol mewn nodiadau a phennodau adgyflenwol fwy na maint y llyfr ar y cyntaf. Mae cymeriad Dr. Latham, mewn ymchwiliadau o'r fath, mor uchel, fel nad oes eisieu canmoliaeth i'r llyfr. Buasai yn anhawdd cael un cymhwysach i gyflenwi yr hyn a allasai fod yn ddiffygiol yn y gwaith gwreiddiol, ac i gyfleu ynddo ffrwyth ymchwiliadau y pum mlynedd ar hugain diweddaf i'r prawf sydd i'w gael o berthynas dynolryw â'u gilydd yn y gwahanol ieithoedd a leferir ganddynt.

---

P. M. EVANS, ARGRAFFYDD, TREFFYNNON.

# Y TRAETHODYDD.

---

## Y CHWIL-LYS.

### PENNOD IX.

#### Y CHWIL-LYS YN VALLADOLID, HISPAEN.

Ar yr 21ain o Fai, 1556, yn nhref Valladolid, lle y cynnelid cynghor y chwil-lys yn gyffredin, dygodd y chwil-lyswyr y carcharorion allan, uchel ac isel, wyth ar hugain mewn nifer. Dygwyd arch pendefiges, gyda darlun o honi arni, yr hon a fuasai farw er ys talm, fel y derbyniai hi ei dyfarn yno. Fel y gallai y bobl wrando ar gyhoeddiad y dyfarniad, cyfodwyd tair esgynglwyd fawr. Ar y gyntaf, eisteddai y Dywysoges Jane, chwaer y brenin Philip, prif lywyddes ei diriogaethau; y Tywysog Siarls, mab y brenin; a thywysogion a phendefigion eraill yn Hispaen. Ar yr ail eisteddai Archesgob Seville, tywysog cynnulleidfa y chwil-lyswyr, gyda chynghor y chwil-lys, esgobion y wlad, a chynghor y brenin. Ar ol i'r tywysogion a'r barnwyr ysbrydol, ynghyd â'u gweinyddwyr ar yr achlysur arbenig hwn, eistedd mewn trefn, arweiniwyd y carcharorion i'w lle hwythau, wedi ymwisgo â'u sachau bendigaid (*san benitos*), y rhai oeddynt o liw melyn, ac yn gorchuddio eu holl gorff, wedi eu britho â chroesau cochion. Cludent oleuen losgedig yn eu dwylaw, a dygid croesbren wedi ei orchuddio â llian o'u blaen, fel arwydd o alar. Yr oedd gan y rhai oeddynt i dderbyn barn angeu gapan papyr ar eu penau, y rhai a elwid *coaca* gan yr Hispaeniaid. Gosodwyd hwy yn eu lle, un ar ol un, y naill uwchlaw y llall, gan ddechreu gyda'r hwn a ystyrid y gwaethaf. Y cyntaf a safodd oedd Dr. Cacalles, mynach o urdd St. Awstin, dyn o wybodaeth helaeth mewn duwinyddiaeth, ac a fuasai yn bregethwr i Siarl V., ymherawdwr yr Almaen.

Dilynwyd hyn trwy wawd-bregeth gan fynach Dominicaidd, yr hon a barhâodd tuag awr; wedi hyny aeth y rhaglywydd cyffredinol a'r archesgob i'r esgynglwyd lle yr eisteddai y tywysogion a'r pendefigion, i weinyddu y llŵ pwysig iddynt ar lun croesbren a gerfiesid ar glawr llyfr gwasanaeth yr offeren. Rhoddwn ffurf y llŵ am unwaith ger bron y darllenydd :—

"Bydd i'ch Mawrhydi, &c., dyngu y bydd i chwi bleidio y chwil-lys sanctaidd, ac hefyd roddi eich cydsyniad iddo; ac nid yn unig na fydd i chwi mewn unrhyw ffordd ei rwystro, na'i gyhuddo, ond y gwnewch bob amser roddi eich cymhorth hyd eithaf eich gallu, i weled pawb yn cael eu dienyddio a wyrant oddiwrth Eglwys Rufain, ac a ymunant â'r hereticiaid Lutheraidd, heb dderbyn wyneb unrhyw berson neu bersonau, o ba urddas, gradd, amgylchiad, neu sefyllfa y gallont fod. Bydd i'ch Mawrhydi dyngu y gwnewch orfodi pawb o'ch deiliaid i ymostwng i Eglwys Rufain, a pharchu ei holl ddefodau a'i gorchymynion, ac hefyd i roddi eich cymhorth yn erbyn pawb a goleddont heresi y Lutheriaid, neu a'i pleidiont mewn un modd."

Wedi i'r holl dywysogion a'r pendefigion gymeryd eu llŵon yn ol eu graddau, codai yr archesgob ei law, a rhoddai ei fendith iddynt. Wedi i'r coegrodres hwn derfynu, galwyd y carcharorion druain allan, a dechreuodd y rhaglywydd gyda Dr. Cacalles. Y mae enwau y troseddwyr a'u dyfarnau fel y canlyn, yn wyth ar hugain o nifer:—

1. O flaen trethwr mawr y Pab, galwyd yn gyntaf Dr. Awstin Cacalla, mynach o urdd St. Awstin, offeiriad yn nhref Valladolid, a phregethwr rywbryd i'r Ymherawdwr Siarls V., a dyfarnwyd ef i gael ei ddiraddio a'i losgi, a'i holl eiddo i gael ei attafaelu i ddwyn traul gweinyddiad cyfiawnder, ac i gyfoethogi y swyddogion.

2. Francis de Bivers, brawd i Dr. Cacalla, yntau hefyd yn offeiriad yn Valladolid, yr hwn a ddyfarnwyd yr un fath â'r Doctor. Ac i'r dyben i'w rwystro i ynganu gair o ddifrïad yn erbyn y chwil-lys sanctaidd, fel y gwnaethai cyn hyny, allan o'r carchar ac i mewn ynddo, gyda hyfder mawr, ac o herwydd fod llawer o bobl ddewisedig yn y lle,—safnglöwyd ef.

3. Mrs. Blanch de Bivers, chwaer y carcharorion uchod, yr hon a gafodd yr un diwedd â'i brodyr.

4. John de Bivers, brawd y rhai uchod, yr hwn a farnwyd yn heretic, ac a gondemniwyd i garchariad parhâus, ac i wisgo y sach fendigaid dros ei fywyd, yr hyn a ystyrid yn warthrudd dwfn.

5. Mrs. Constance de Bivers, pummed chwaer y rhai uchod, a gweddw Ferdinando Ortis, yr hon a fuasai byw beth amser yn Valladolid, a gondemniwyd i gael ei llosgi gyda'i brodyr.

6. Arch a chorff marw Mrs. Leonore de Bivers, mam yr holl ddyoddefwyr uchod.

Yr oedd y chweched daranfollt o gondemniad yn erbyn yr arch a gynnwysai weddillion marwol y foneddiges hon, ac yn erbyn corff y wraig hefyd, yr hon a fuasai farw dalm o amser cyn hyny. Ar ei harch gosodwyd ei darlun, yr hwn hefyd a gondemniwyd gyda'i chorff, i gael ei losgi fel heretic. Nid oes un crybwylliad fod y darlun hwn yn erbyn athrawiaethau neu draddodiadau Eglwys Rhufain. Credai y foneddiges dda hon yn ei bywyd efengyl Crist, a dangosodd hyny trwy ymarweddiad sanctaidd; a derbyniai y saint i'w thŷ i bregethu yr efengyl. Dygwyd ei chorff a'i darlun o flaen y trethwr, a chondemniwyd hwy i gael eu llosgi fel hereticiaid Lutheraidd, ac fod i'w heiddo gael ei gymeryd er elw yr awdurdodau gwladol, ei thŷ i gael ei lwyr ddinystrio, a chofadail fawr i gael ei gosod ar y fan, ar ba un yr oedd achos y llosgiant i gael ei gerfio.

7. Mr. Alfonse Perez, offeiriad o Valence. Yr oedd efe i gael ei ddiraddio yn gyntaf, ac yna i'w losgi fel heretic, a'i holl eiddo i gael ei fforffedu. Wedi i'r saith uchod gael eu dyfarnu, parodd Esgob Valence, yn ei esgobwisg, i Dr. Cacalla, Francis ei frawd, ac Alfonse, gael eu gwisgo â dillad offeiriadol; ac yna diraddiwyd hwy gyda'r holl arddefodau a grybwyllwyd mewn rhan flaenorol o'r gwaith hwn. Tystiai y Doctor mai y wir ffydd oedd yr hon a broffesai, a thros yr hon yr oedd ar ddyoddef merthyrdod; ond dystawyd ef yn y fan gan dwrf ei elynion.

8. Pedr Sarmiento, marchog o urdd Alcantara, o Valence, a mab i Iarll de Poza. Cyhoeddwyd ef yn heretic, a dyfarnwyd ef i ddwyn y nôd a'r wisg o ddirmyg dros ei fywyd, i garchariad parhâus, i amddifadiad o'i eiddo a'i urddas, ac i beidio byth wisgo aur, arian, perlau, neu wisg werthfawr.

9. Mrs. Mencia, gwraig y Pedr dywededig; condemniwyd hi i'r un gosb a'i gŵr.

10. Don Lovis de Roxas oedd y nesaf, mab ac etifedd yr Iarll de Poza. Cyhoeddwyd ef yn heretic; ond gwnaethpwyd deisyfiadau taerion ar ei rau, a chondemniwyd ef *yn unig* i wisgo ei sach fendigaid i'r llysdŷ, ac i fforffediad o'i eiddo.

11. Mrs. Ann Henugues, merch Iarll Ascanzes, a mam yr Iarll de Poza, y pryd hwnw yn wraig i Arglwydd Alphonsus de Fonesco. Cyhoeddwyd hi yn heretic, a dyfarnwyd hi i'r un gosb a'i hŵyr.

12. Christopher del Campo, yr hwn a gyhoeddwyd yn heretic, ac a ddyfarnwyd i'w losgi, a'i eiddo i gael eu fforffedu.

13. Pasiwyd dyfarn gyffelyb ar Christopher de Padilla, dinaswr o Samora.

14. Antonio de Huezuello, gwyryf mewn duwinyddiaeth, yn preswylio yn Toro; yr hwn a gyhoeddwyd yn heretic, a'i eiddo yn fforffediedig, a chondemniwyd ef i'w losgi. Safnglöwyd ef, fel na chai gyfle i wneyd addefiad o'i ffydd o flaen y bobl.

15. Derbyniodd Catherine de Roman ddyfarn gyffelyb.

16. Cafodd Frances Errem, o Pegnaranda, yr un fath ddyfarniad.

17. Derbyniodd Catherine Ortega, o Valladolid, merch Hernando Razo, trethwr, a gweddw Cadben Lovis, yr hon a ystyrid yn ysgolfeistres i'r lleill, ddyfarniad i'w llosgi, a'i heiddo ei fforffedu.

18 a 19. Isabel Strada, a Jane Valesques, y ddwy o Padrosa. Condemniwyd hwy i gael eu llosgi, a'u heiddo i'w attafaelu.

20. Condemniwyd gweithiwr am letya cynnulleidfäoedd yn ei dŷ, a gwylied gyda hwynt, i golli ei fywyd a'i eiddo er mwyn yr efengyl.

21. Y nesaf oedd Iuddew o Portugal, o'r enw Goncalo Vaes, o Lisbon, yr hwn a fedyddiesid, ond a ddychwelasai wedi hyny at Iuddewaeth. Dyfarnwyd ef i'w losgi, a'i eiddo i'w gymeryd.

22. Jane de Silva, gwraig i John de Bivers, brawd Dr. Cacalla. Dyfarnwyd hi i wisgo mantell penyd dros ei bywyd, a'i heiddo yn fforffediedig.

23. Leonare de Lisueres, gwraig Huezuello, a gafodd yr un ddyfarniad.

24. Marina de Lajavedra, gwraig Cisuoras de Sareglio, a aeth dan yr un condemniad.

25. Daniel Quadra a dderbyniodd gyffelyb farn.

26. Mrs. Mary de Royas, chwaer yr Iarll de Royas. O herwydd ei bod yn fynaches, ac o deulu urddasol, ni chondemniwyd hi ond i wisgo mantell gwarth i'r llysdŷ, ac i fforffediad o'i heiddo.

27. Anthony Dominic, yr hwn a ddyfarnwyd i dair blynedd o benyd mewn carchar am ei heresi, i wisgo mantell gwarth, ac i fforffediad o'i eiddo.

28. Yr olaf a ddygwyd allan oedd Anthony Basor, yr hwn, am ei fod yn Frydeiniwr, a ddyfarnwyd yn unig i ddwyn ei fantell i'r llysdŷ am ei drosedd, ac yna a dafiwyd i fynachgell am un flwyddyn, i gael ei addysgu yn egwyddorion y grefydd Babaidd.

Wedi i'r dyfarnau hyn gael eu cyhoeddi, trosglwyddwyd y rhai a adewsid i'w llosgi, gydag arch y foneddiges, i ddwylaw y gallu gwladol, yr ynadon a'r dienyddwyr; y rhai a erchwyd i gyflawni eu swyddau. Gafaelwyd ynddynt oll yn ddioed; gosodwyd hwy ar gefnau asynod, a'u hwynebau at

gynffonau yr anifeiliaid, ac arweiniwyd hwy dan ofal llu mawr o filwyr i'r dienyddle a elwid Del Campo, tu allan i borth y dref.

Pan ddaeth y carcharorion yno, yr oedd pedwar ar ddeg o ystanciau wedi eu gosod o fewn yr un pellder y naill oddiwrth y llall, wrth bob un o ba rai yr oedd un i gael ei rwymo. Yn ol arferiad Hispaen, yr oeddynt oll i gael eu llindagu, ac yna eu llosgi yn ulw, oddieithr Anthony Huezuello, yr hwn a ardystiai yn erbyn ysbrydolrwydd swydd y Pab. Safnglöwyd ef, a llosgwyd ef yn fyw. Dangosodd y bobl hyn wroldeb mawr o blaid gair Duw, a chrefydd bur; yr oeddynt fel ŵyn yn cael eu harwain i'r lladdfa; cysurent y naill y llall yn y modd mwyaf tyner, ac yna cydferthyrwyd hwy yn nghanol swn cymysgedig cerddoriaeth, twrf, a bloeddiadau.

## PENNOD X.

### ALLTUDIAETH YR IUDDEWON A'R MOORIAID O GRANADA, HISPAEN, GAN Y CHWIL-LYS.

Wedi i'r chwil-lys gyfarfod â chryn wrthwynebiadau yn nheyrnas Arragon, sefydlwyd ef yn drwyadl yno yn y fl. 1491, ac yr oedd yn hòni dylanwad digyffelyb dros lywodraeth Hispaen; a bu yn foddion, i raddau mawr, i ffurfio nodweddiad dyfodol y genedl. Gorchfygasai y tywysogion Pabaidd y Mooriaid ymhob parth o'r Hispaen, ond Granada. Ond ymosodwyd o ddifrif ar y ddinas hono. Aeth prif ddynion y ddinas allan i'r gwersyll breninol i grefu am ammodau heddwch, a gwnaethpwyd addewidion teg iddynt. Ymhlith pethau eraill, yr oedd y Mooriaid i gael parth o wlad a adnabyddid tan yr enw Alpujarra, i gael ei meddiannu ganddynt fel tir y goron, ar ammodau isel. Yr oedd pawb a ewyllysient i ymadael â'r ddinas, gyda'u holl eiddo, oddieithr arfau tân, a chelfi rhyfel. Rhoddwyd deugain niwrnod i ffurfio erthyglau yr ymostyngiad, ac ymddangosai y blaid Babaidd fel pe buasai yn ddiffuant am gadw yr ammodau. Meddyliasai y Mooriaid y byddent yn bobl ryddion, ac y caent feddiannu y parth a osodesid iddynt, yn yr hwn yr oedd deuddeg o drefydd, a thrin eu tiroedd yn ddiwarthrudd. Ond gwelwyd yn fuan mai hudoliaeth a dichell oedd y cyfan; ac ar ddydd appwyntiedig, Ionawr 2, 1492, gosododd y Cardinal Mendoza, archesgob Toledo, ei hun wrth ben byddin gref, a rhai magnelau, ac aeth yn erbyn Granada, i gymeryd meddiant o'r Alhambra, y brif amddiffynfa. Ymostyngodd brenin y Mooriaid i'r fyddin Babaidd, ac aeth atynt yn ddiarfog, gan roddi ei hun i fyny i'w orchfygwyr. Cymerwyd Granada; gorchfygwyd y paganiaid, ac yr oedd y capel yn dadseinio gan ganiad y Fawl Emyn, mewn ffordd o ddiolchgarwch am y llwyddiant. Hollol ddinystriwyd llywodraeth y Mooriaid yn Hispaen, wedi iddi barhâu am wyth cant o flynyddoedd. O'r pryd hwn, cymerodd Ferdinand y teitl o frenin Hispaen. Yn nghorff y fl. 1492, alltudiwyd yr holl Fooriaid ond cynifer ag a droisant yn Babyddion.

Ar yr Iuddewon y disgynodd yr ergyd drymaf yn gyntaf. Yr oedd dial ar y bobl hyn mewn golwg er ys tro. Yr Iuddewon oedd y rhai a ddarparent ymborth i'r fyddin; a chodasent i'r fath bwys yn y wlad fel ag yr ymddengys nad allesid yn yr amser a nodwyd gymeryd Granada o gwbl, oni buasai i'r bobl hyn agor eu trysorau i gynnorthwyo cyllidion isel ac annhrefnus y deyrnas.

Yr oedd Torquemada yn dilyn y llys fel cyffesydd breninol, a chyf-

arfyddodd zêl y chwil-lyswr âg anonestrwydd y brenin yn gymhwys ac amserol. Lluniodd rhai o'r mynachod chwedl yn fuan fod rhyw Iuddew wedi yspeilio afrlladen y cymun, gyda bwriad i ladd plentyn bedyddiedig, a'i gwneuthur yn does gyda'i waed cynhes, er mwyn gwenwyno y chwil-lyswyr. Cafwyd briwsion o afrlladen, meddid, rhwng dail Llyfr Gweddi Gyffredin Hebrëig mewn Synagog. Gwelsai rhyw un oleuni dysglaer yn deillio o'r sylwedd dwyfol; a chan ddychymygu fod hyny yn dynodi ddarfod cyflawni cysegryspeiliad, hysbyswyd y peth i'r offeiriaid. Credwyd y cyfan, ac euogfarnwyd yr holl Iuddewon yn ddioed. Cyhoeddodd Torquemada farn y dylid glanhâu tir Hispaen oddiwrth eppil mor ffiaidd; ac mewn llai na thri mis wedi meddiannu Granada, alltudiwyd yr holl bobl hyn ond y cyfryw a ewyllysient ymwrthod â'u ffydd eu hunain. Cawsant bedwar mis i werthu eu meddiannau, ac i ffoi o'r deyrnas; ond nid oedd un Iuddew nac Iuddewes i gymeryd aur, arian, na dim o'r fath gyda hwynt. Ymdaenodd cwmwl caddugol dros yr holl genedl yn Hispaen yn y man; ac yr oedd y galar a'r wylofain yn gymaint a phan gyhoeddodd Ahasferus ddeddf ddychrynllyd yn erbyn eu hynafiaid yn Persia a Media. Aeth Rabbi Aberbauel, yr hwn a dybid ei fod o lwyth Judah, ac a fwynhasai ymddiried amryw o freninoedd olynol,—at Ferdinand ac Isabella; ymostyngai, wylai, crefai drugaredd ar ran ei genedl, a chynnygiai chwe' chan mil o goronau aur yn iawn. Petrusai y brenin pa beth a wnai,—pa un ai derbyn yr arian ar law, neu gymeryd ei antur o gael rhan o yspail a syrthiai iddo trwy gynllun arall o ymosodiad. Ond diddymwyd ei betrusder mewn eiliad gan y chwil-lyswr. Rhuthrodd Torquemada i'r ystafell lle yr oedd y brenin a'r freuines yn eistedd, gan ddal croesbren, ac yn crochlefain:—"Gwerthodd Judas Fab Duw unwaith am ddeg darn ar hugain o arian. Y mae eich Uchelderau yn myned i'w werthu am ddeng mil ar hugain. Dyma fe; dyma fe genych; gwerthwch ef os mynwch." Ac yna, taflodd y penboethyn erchyll y croesbren ar y bwrdd o'u blaen, ac enciliodd mewn digter. Dystawyd y Rabbi, ac ofer oedd ei eiriolaeth dros ei genedl. Rhaid ystyried alltudiaeth yr Iuddewon fel gweithred o eiddo y chwil-lys. Anfonodd y prif chwil-lyswr bregethwyr trwy y wlad i ddychwelyd yr Iuddewon, a chyhoeddwyd deddf yn cynnyg bedydd a chymmod iddynt; ond ychydig a ymostyngodd i hyny.

Gwaharddodd Torquemada y cristionogion, fel y gelwid y Pabyddion, i ddal unrhyw gymdeithas â'r Iuddewon ar ol Ebrill, na rhoddi iddynt ymborth, llety, nac un peth anghenrheidiol. Gwerthid eiddo yr Iuddewon am y peth nesaf i ddim; gwerthid tai a meddiannau hyfryd am deganau. Gwerthid tŷ am asyn, a rhoddid ymaith winllan am ychydig frethyn neu lian. Er fod gwaharddiad i'r Iuddewon gymeryd aur ac arian ymaith, cludasant lawer yn eu cyfrwyau, ac yn offer eu hanifeiliaid llwythedig. Llyncodd rhai gynifer a deg duciad* ar hugain i ochelyd y chwiliad manwl a wneid yn y trefydd a'r porthladdoedd cyffiniol gan swyddogion appwyntiedig. Dygai yr Iuddewon cyfoethog draul y rhai tlawd, gan arferyd yr elusen mwyaf tuag at eu gilydd, fel na ddarfu ond ychydig iawn, hyd yn nôd o'r mwyaf rheidus, ddyfod yn ddychweledigion Pabaidd. Yn yr wythnos gyntaf o Gorphenaf, cymerasant eu taith i ymadael â'u gwlad enedigol, fychan a mawr, hen ac ieuanc; rhai ar draed, neu ar

* Y mae *ducat* yn werth 4s. 6c., os yn arian; ac yn werth 9s. 6c., os yn aur.

geffylau, neu ar asynod, a rhai mewn troliau; a chyfeiriai pob mintai tua'r porthladd bwriadol. Dyoddefasant drallodau mawrion, ac anffodau annesgrifiadwy ar y ffordd; syrthiai rhai, codai eraill; trengai rhai, genid eraill; yr oedd rhai yn llewygu, eraill yn cael eu dal gan afiechyd, fel ag yr oedd yr holl Babyddion a'u gwelent yn teimlo drostynt, ac ymdrechent eu darbwyllo i gymeryd eu bedyddio. Dychwelodd ychydig o herwydd gresyndod eu cyflwr. Calonogai y Rabbiniaid hwy ar eu taith, a gwnaent i'r bobl ieuainc a'r menywod ganu, a chwareu pibau a chôr-dabyrddau, i fywhâu a sirioli eu hysbrydoedd. Gadawyd eu holl synagogau heb eu prynu, i gael eu troi, yn ddidâl, yn gapeli Pabaidd.

Ymfudodd pymtheg cant o deuluoedd cyfoethog mewn llongau i ddechreu. Darparwyd llongau yn Carthagena, Valencia, Barcelona, Cadiz, Gibraltar, a phorthladdoedd eraill, i'w cludo i Affrica, i'r Eidal, ac i'r gwledydd dwyreiniol; a chludasant gyda hwy dafodiaith o'r Hispaenaeg, yr hon hyd heddyw a arferir gan lwythau o Iuddewon tramor fel cyfrwng cyweithas cyffredin. Trengodd llawer trwy longddrylliad, afiechyd, creulondeb, a thân; a llawer trwy newyn, blinder, neu lofruddiaeth mewn gwledydd annhirion. Gwerthwyd llawer yn gaethion, a thaflwyd llawer dros fwrdd llongau gan gadbeniaid creulawn. Gwerthodd rhieni eu plant am arian i gael ymborth. Ar fwrdd un llong oedd yn llawn o'r alltudion, torodd afiechyd heintus allan; glaniodd y cadben hwy oll ar ynys anghyfanneddol, lle y crwydrent i geisio cymhorth. Adroddid chwedlau torcalonus gan y rhai a ddiangasent. Trengodd mam ar y ffordd yn cludo dau fachgen, ac yn cydgerdded gyda'i gŵr. Wedi gorchfygu y tad gan flinder, syrthiodd mewn llewyg; ac ar ei ymadfywiad ato ei hun, cafodd fod y ddau blentyn wedi marw o newyn. Cuddiodd hwy â thywod. "Fy Nuw," dolefai efe, "ymddengys fod fy adfydau wedi fy ngyru i adael dy gyfraith di; ond yr wyf yn Iuddew, ac arosaf yn Iuddew byth." Y llongau gorlwythog a fuont yn foddion i ddwyn afiechyd i borthladd Naples, lle yr ymaflodd yn y trigolion, ac ysgubwyd ymaith tuag ugain mil o honynt. Pan gyrhaeddodd dosbarth newynog arall Genoa, cawsant fod y ddinas hono yn dyoddef oddiwrth newyn, a chyfarfyddwyd â hwy ar eu glaniad gan orymdaith o offeiriaid, a'r blaenaf yn cario croeslun yn un llaw, a thorth yn y llall, i arwyddo y cai pwy bynag a addolai y ddelw, a neb ond y rhai hyny, gyfranogi o'r bara. Cyfrifir y galanasdra a gyflawnodd Torquemada, y prif chwil-lyswr, fel y canlyn:—Llosgwyd wrth yr ystanc, 10,220; llosgwyd mewn digriflun, am fod y personau wedi marw yn ngharchar, neu wedi ffoi o'r wlad, 6,860; a chosbwyd â gwarthnod, attafaeliad, carchariad parhâus, neu amddifadrwydd o iawnderau gwladol, 97,321. Cyfanrif 114,401.

Gan nifer ei elynion, ac euogrwydd ei gydwybod, nid rhyfedd fod Torquemada yn ystod ei flynyddoedd olaf yn cael ei flino gan ddychryn; a'i fod, i'w amddiffyn ei hun rhag bradladdiad, yn teithio bob amser gydag amddiffynlu o ddeg a deugain o ystryw-wŷr y chwil-lys, fel meirchlu, a dau gant chwaneg o filwyr traed.

Don Diego Deza, olynydd Torquemada, a gwbl ddiwreiddiodd y Mooriaid ar ol ymgyrchiadau a barhâusant am nifer mawr o flynyddoedd. Ymosodai y chwil-lys ar bob cenedl yn Hispaen nad ymostyngai i fod yn gaethweision y Pab,—Iuddewon, Mooriaid, Moriscoaid, a Mahometaniaid, ac yn enwedig y dosbarth adgas hwnw o ddynion yn eu golwg—Protestaniaid.

## PENNOD XI.

### CREULONDEBAU Y LLYS YN NINAS SEVILLE, HISPAEN.

Nid yw yr hyn a ganlyn ond detholiad o blith lliaws o "Weithredoedd o Ffydd," mewn gwahanol ddinasoedd yn y wlad hon. Cymerodd y weithred waedlyd le yn ninas Seville, yn Rhagfyr 22ain, 1560, pan losgwyd pedwar ar ddeg o bersonau, a thri digriflun, ac y condemniwyd pedwar ar ddeg ar hugain i benyd. Y cyntaf o'r digrifluniau oedd eiddo Dr. Juan Gil, prif ganon eglwys gadeiriol Seville. Erlidesid ef am opiniynau Lutheraidd, a charcharesid ef yn nghastell Triana. Ar ol ei gosb, adnewyddodd ei gyfeillach â'r diwygwyr, a chymerodd daith i Valladolid i'w gweled; ond bu farw yn fuan, a chladdwyd ef yn Seville. Ymhlith pethau eraill a gafwyd allan yn ystod eu chwiliadau i'w achos, gwnaethant ef yn euog o gymdeithasu â phersonau a ymdrechent hwy eu diwreiddio. Cychwynasant wys yn erbyn ei gorff, a pharasant iddo gael ei gyfodi o'r bedd, a'i losgi gyda'i ddigriflun. Attafaelwyd ei eiddo, a mynegwyd fod ei enw yn warthnod.

Digriflun arall oedd yn arddangos Dr. Constantino Ponce de la Fuente, prif ganon eglwys gadeiriol Seville, ac olynydd Gil, yn gystal a chydefrydiwr âg ef. Yr oedd Fuente yn glodfawr am ei ddysg a'i hyawdledd, a dygodd hyny ef dan noddaeth yr Amherawdwr, yr hwn a'i gwnaeth yn gapelwr ac yn bregethwr mygedol; ac am lawer o flynyddoedd, perthynai i'r llys Amherodrol yn yr Almaen. Byddai torfëydd lliosog yn dyfod i'w wrandaw yn eglwys gadeiriol Seville; ac yr oedd ei glod fel athraw, duwinydd, ac ysgolaig Groeg a Hebreig, wedi rhoddi i'w enw barch cyffredinol. Ond yr oedd ei bregethau yn cynnwys rhai o osodiadau Luther, ac yr oedd hyny yn ddigon i fod yn sylfaen cyhuddiad. Taflwyd ef i garchar truenus; ymddygwyd ato mor farbaraidd fel nad oedd yn cael anghenrheidiau bywyd; ac yr oedd y ddaeargell ymha un y cauwyd ef mor fechan fel nad allai braidd ymdroi. Yno ymaflwyd ynddo gan waedlif, yr hyn a osododd derfyn buan ar ei fywyd.

Dyoddefodd Fray Fernando yn yr un modd, a'r un amser, ac arddangoswyd yntau trwy ddigriflun. Dynodai digriflun arall absennoldeb Dr. Juan Perez di Pineda, yr hwn a ddiangasai rhag crafangau ei erlidwyr trwy fföedigaeth brydlawn.

Ymhlith y pedwar ar ddeg a losgwyd, yr oedd Juan Hernandez, Hispaenwr, diacon, tebygol, o'r eglwys Lutheraidd yn yr Almaen. Wedi ymwisgo fel gyrwr mul, teithiai rhwng Ffrainc ac Hispaen, gan guddio llyfrau ymhlith y nwyddau a gludai; a chan deithio y wlad nid yn unig i Castile, ond mor bell ag Andalusia, a gwerthodd brif weithiau y Diwygwyr i bersonau o ddysg ac urddas mewn amryw o brif ddinasoedd Hispaen. Nid llai hynod oedd ei ddysg, ei fedrusrwydd mewn dadl, a'i dduwioldeb, na'r diwydrwydd a'r dewrder trwy yr hyn y gallodd gadw o grafangau y chwillyswyr am amryw flynyddau. Wedi ei ddal yn awr, cymerwyd trafferth fawr i'w wyrdröi yn ystod ei garchariad, ond yn gwbl ofer. Treiwyd rhinwedd yr arteithglwyd er ei orfodi i ddadguddio y cymdeithion a'i cynnorthwyent yn ei genadaeth, ond ni fradychodd efe neb. Safnglöwyd ef cyn iddo gael ei rwymo. Pan wrth yr ystanc, daeth dau offeiriad a wyddent athrawiaeth yr efengyl, i'w ddarbwyllo i gyffesu; ond efe a'u ceryddodd hwy yn llym am eu rhagrith; tynodd ffagoden o goed sych yn agos i'w

ben, fel y dyfethid ef yn gynt; ac yr oedd sefydlogrwydd ei ffydd yn llenwi yr edrychwyr â syndod.

Llosgwyd hefyd fynaches o'r enw Francisca de Chaves, o urdd St. Ffrancis. Arferasai iaith eglur iawn ar ol ei charchariad, gan ddywedyd wrth y chwil-lyswyr eu bod hwy yn genedlaeth gwiberod. Cyhoeddwyd hi yn gyndyn, a llosgwyd hi yn fyw. Nicholas Burton, dinasydd o Lundain, oedd yr aberth nesaf. Masnachai gydag Hispaen mewn llong o'i eiddo ei hun; a thua dwy flynedd cyn dyoddef, efe a ddaliwyd yn Cadiz, gan un o ddyhirod y chwil-lys. Ei drosedd, meddant hwy, oedd siarad yn erbyn crefydd y wlad yn Cadiz a rhywle arall. Yr oedd efe yn perchen llong ragorol, ac y mae yn ddigon tebyg mai blys ei long oedd ar y chwil-lyswyr. Wedi bod yn ngharchar am bythefnos yn Cadiz, symudwyd ef i Seville, a thaflwyd ef i garchar dirgel y Triana. Bu yno am ddwy flynedd o leiaf; a dygwyd ef i'r llosgfarn yn ngwisg heretic cyndyn, a darn o bren wedi ei sicrhâu wrth ei dafod, nes y crogai ei dafod allan o'i enau fel tafod ci lluddiedig, fel nad allai gyffesu ei ffydd i'r bobl. Llosgwyd ef yn fyw, ac, wrth gwrs, cymerodd y chwil-lys feddiant o'r llong a'i llwyth.

Er mwyn adferu y llong a'i llwyth, darfu i fasnachwr o Fristol, yr hwn a feddai ran yn y llong, anfon John Frampton, ei gyfreithiwr, i fynu ad-daliad. Treuliodd Frampton bedwar mis yn Seville mewn ffurfiau cyfreithiol diles, pan y barnwyd nad oedd ganddo allu digonol i geisio ad-daliad, ac aeth i Loegr i gyrchu comisiwn helaethach. Wedi cael hyn, glàniodd yr ail waith yn Cadiz, pan y darfu i weision y chwil-lys ei ddal, ei roddi ar ful, a'i glymu â chadwen, yr hon a ddaethai dair gwaith am gorff yr anifail. Cludwyd ef gan ddau ystrywwr arfog i garchar yn Seville, a chyhoeddwyd ef yn heretic, fel y byddai i'r gyfraith ynghylch y llong gael ei hattal, a sicrhäwyd meddiant y llong a'i llwyth i'r chwil-lyswyr. Arteithiwyd ef; ac ymhen pedwar mis ar ddeg, dygwyd ef allan mewn sach fendigaid. Gwnaethpwyd iddo ddyoddef pob anfri, a gorfodwyd ef i drigo yn Hispaen; ond trwy ffafr Rhagluniaeth, adferwyd ef i Loegr, lle y dadguddiodd y cwbl. Yr oedd efe wedi cael £760 yn arian; ac yr oedd holl elw y chwil-lys trwy yr *Auto da fe* hon tua £50,000. Gwelodd Frampton un William Brook, morwr o Southampton, a Barthelemi Fabrianne, Ffrancwr, yn cael eu llosgi ar yr un aelwyd gyda Burton. Llosgwyd saith eraill, enwau pa rai sydd yn anhysbys.

## PENNOD XII.

### ACHWYNIADAU YN ERBYN Y CHWIL-LYS.

Nid allai y chwil-lyswyr a'u cydweithwyr ddal i fyny yn wastad barch y llys gyda'r bobl. Gwanychasai eu dylanwad mor fawr yn Ffrainc, fel y darfu i swyddogion y "llys ofnadwy" gydsynio i lunio a chyflawni bradwriaeth ddychrynllyd dydd St. Bartholomeus, er mwyn ddyfetha holl Brotestaniaid y wlad âg un ergyd. Yn 1571, caniatäodd y Pab Pius V. ddeddf i estyn gallu y chwil-lys i'r *moroedd* hefyd; ac yr oedd y ddeddf anfad hon mewn grym ymhob man lle yr oedd yr Hispaeniaid yn gallu estyn eu dylanwad. Yn awr chwilid pob llong, pob bwndel, a phob congl, rhag ofn fod yno Fiblau neu lyfrau hereticaidd. Yr oedd masnachwyr yn cymeryd rhan fawr yn y gwaith o gynnorthwyo y cudd-gyfrinwyr. Ymhen amser blinodd y masnachwyr ar y fath waith, a throsglwyddwyd y

swydd i Dolldŷ Morawl. Darfu i ryw ddiofrydwyr, yn cael eu noddi gan Phillip o'r Hispaen, lunio urdd filwraidd newydd o dan y prif chwil-lyswr, dan yr enw St. Mair o'r Cleddyf Gwŷn. Yr oedd cleddyf St. Iago yn goch, i arwyddo gwaed. Derbyniwyd y llengau yn llawen mewn amryw daleithiau; ond ni fuont o lawer o wasanaeth i'r Eglwys Babaidd, am yr ofnai Phillip a'i lys y gallent gyfodi yn erbyn y llywodraeth, a dymchwelyd ei orsedd. Bu hyn yn ergyd i'r chwil-lys.

Yn nheyrnasiad Phillip III. o Hispaen, yr oedd yr achwyniadau yn llïosog yn erbyn gormes a thraha y chwil-lyswyr. Yr oedd yr uchel senedd, neu y *Cortes* o Castile, yn fynych yn crefu arno roddi rhyw attaliad arnynt; ond ni chawsant nemor wrandawiad, ac yr oedd yr erlidwyr yn myned rhagddynt yn ddiofal. Daeth yr offeiriaid hefyd yn awr i achwyn yn gryf ar y chwil-lyswyr am eu trawsfeddianniad o allu ysbrydol. Ond er fod personau o urddas yn cwyno, yn lle lleihâu gallu chwil-lyswyr, ni wnaeth y brenin ond chwanegu eu hawdurdod; ac yn 1627, cawsant allu dros nwyddredwyr, ac awdurdodwyd hwy i ymaflyd yn yr arian bathol a geid yn meddiant pob Hispaenwr a fyddai ar fedr ymadael â'i wlad. Er fod ysbryd cydymryson rhwng y Jesuitiaid a'r chwil-lyswyr, cydunent yn gyffredin yn eu cynlluniau i ddiwreiddio y rhai a alwent hwy yn hereticiaid, allan o'r wlad. Appwyntiwyd y Tad Nithard, Jesuitiad, cyffeswr i frenines Phillip IV., i swyddau uchaf y chwil-lys. Fel cyffeswr, cynghorwr, a chwil-lyswr, yr oedd Nithard yn meddu llywodraeth dymmorol ac ysbrydol, er nad oedd heb ei wrthwynebwyr yn y llys gwladol. Ond o'r diwedd, tynodd Nithard y fath ystorm arno ei hun, fel y gorfu iddo ffoi i Rufain yn 1669, i lechu dan nawdd Clement IX., lle y cafodd ei wneyd yn Gardinal. Darfu i olynydd Nithard ddifyru Charles ar ei briodas â Thywysoges Ffrainc gydag *Auto da fe* ardderchog yn Madrid; pryd y dygwyd 118 o garcharorion heibio iddi, ac y llosgwyd yn fyw 19 o honynt. Bu hyn yn achos siarad mawr rhwng llys Rhufain a llys Paris ynghylch terfynau gallu y Pab, ac annibyniaeth yr eglwys wladol ar y Pab. Cymerodd y chwil-lyswyr Hispaenaidd ran yn y ddadl, pan yr oeddynt yn ochri gyda y Pab wrth reswm.

Darfu i oleuni cynnyddol yr eilfed canrif ar bymtheg dori rhai o hen ddeddfau y chwil-lys, fel y toddir iâ gan haul y gwanwyn. Yr oedd barnwyr y chwil-lys yn meithrin a chyhoeddi duwinyddiaeth ryfedd. Rhyfel ganddynt oedd crefydd. Yr oedd Pedr, meddynt, yn chwil-lyswr yn erbyn Simon Magus; a dywedid mil o bethau cyffelyb i ennyn ysbryd dial ac erlidigaeth yn yr holl frawdoliaeth fendigedig. Ond, pa fodd bynag, cynnaliwyd cynghor mawr, cynnulledig gan y brenin, yn 1696, i ystyried yr achwyniadau llïosog a wneid yn erbyn y chwil-lys. Cafwyd ei fod wedi myned dros ben pob terfynau yn yr arferiad o awdurdod, gan y carcharesid dynion o bob gradd, ac y rhoddesid y cosbau llymaf am gysgod o droseddau. Yr oedd traha y chwil-lyswyr wedi myned yn annyoddefol. Yr oedd pob gallu gwladol yn eu llaw, ac yr oeddynt yn troseddu rheolau gwreiddiol y chwil-lys, y rhai a ofynent beidio cau neb yn ngharchar y llys hwnw ond am drosedd yn erbyn crefydd. Penderfynodd y cynghor crybwylledig fod i bob ymhoniad i awdurdod tu hwnt i'r rheolau cyntefig gael ei ddileu. Ac yr oedd y cynghor hefyd am ganiatâu apeliad oddiwrth y chwil-lys at yr orsedd. Ond ni symudwyd gorthrwm y genedl, o eisieu penderfyniad meddwl yn y brenin, ar yr hwn y dylanwadid gan elynion pob cyfiawnder.

Ond yn nechreu y deunawfed canrif, torodd rhywbeth fel gobaith uwch-

ben Hispaen. Ni fynai Phillip V., ŵyr Louis XIV. o Ffrainc, losgi hereticiaid o anrhydedd i'w goroniad; ond yr oedd efe yn edrych ar y chwil-lys fel offeryn cymhwys llywodraeth ormesol, a defnyddiodd ef i gosbi y rhai a ammheuent ei deitl i'r goron. Yr oedd rhyfel y pryd hwn ynghylch yr olyniant i'r orsedd. Aeth Phillip mor bell ag i lunio deddf i ddiswyddo y chwil-lyswyr; eithr ofnodd y canlyniadau o osod mesur mor feiddiol mewn grym. Condemniwyd y chwil-lys gan *Cortes* Castile yn 1714 ac yn 1720. Ond tra y defnyddiai Phillip V. y chwil-lys i'w wasanaeth ei hun, yn y cyfamser cyhuddwyd lliaws o ymdrechu adfywio Iuddewaeth, ac o ledaenu Rhyddsaerniaeth (*Free Masonry*). Rhoddodd hyn esgus i'r llys i adymaflyd mewn gallu gwladol, ac yn ystod chwech a deugain o flynyddoedd—yspaid teyrnasiad Phillip—cafwyd fod pedwar ugain a dwy o *Autos* wedi cymeryd lle yn Hispaen yn unig. Dywed Lorente i 1564 gael eu llosgi yn fyw; 782 mewn digriflun; ac i 11,730 gael eu rhyddhâu ar eu hedifeirwch.

Ni wnaeth caffaeliad Gibraltar gan Frydain, yn 1713, a'r ammodau ar ba rai y cedwid y lle, fawr o les i ddarostwng ysbryd erlidgar a llofruddiol Rhufain. Yr oedd preswylwyr dinas Gibraltar, yn ol cyttundeb, i gael rhydd ymarferiad o'r grefydd Babaidd. Ond y flwyddyn nesaf, carcharwyd Prydeiniwr o'r enw Isaac Martin, a dirboenwyd ef gan y chwil-lys yn Granada. O amser y prif chwil-lyswr Torquemada, tua'r fl. 1500, hyd 1809, llosgwyd yn fyw 31,912; ac mewn digriflun 17,659; ac yr oedd o garcharorion edifeiriol yr arbedwyd eu bywyd, 291,021; cyfanrif—340,591.

## PENNOD XIII.

### DINYSTR Y CHWIL-LYS YN HISPAEN GAN NAPOLEON I.

Y mae gormeswyr weithiau yn offerynol i wneuthur lles. Ni chafodd Pabyddiaeth un amser lawer o drugaredd ar law Bonaparte. Llanwodd Napoleon I. lawer parth â gwaed; ond tra y goddefai Duw, yn nirgelwch ei Ragluniaeth, lwyddiant hynod iddo yn ei ryfeloedd, bu yn offeryn daioni yn achlysurol. Ni phleidiai Babyddiaeth, ac ymddengys ei fod yn dra rhyddfrydig mewn gwladyddiaeth a chrefydd. Un achos o'i elyniaeth i'r Babaeth oedd, am y safai ar ffordd ei fuddugoliaethau. Yn 1808, cariai bob peth o'i flaen yn Hispaen, ac yr oedd ei fynediad a'i symudiadau fel *avalanche* yr Alpau, neu dymhestl ofnadwy. Wedi i Bonaparte feddiannu Madrid, treiodd ennill y chwil-lyswyr yno i'w ochri, ond nid oedd dim a fynent hwy âg ef. Gan ddewis plygu yn hytrach na thori, darfu i'r prif chwil-lyswr, Don Ramon de Arce, roddi i fyny ei swydd yn gynnar y flwyddyn hono i'r brenin Ferdinand ieuanc, yr hwn a ddarbwyllwyd gan y gorchfygwr i encilio i Ffrainc. Ar hyn daeth yr hyrddwynt am benau y chwil-lyswyr. Ar y 4ydd o Ragfyr, ysgrifenodd Napoleon ar damaid o bapyr archiad i ddal y chwil-lyswyr, i ddiddymu y chwil-lys, ac i ymaflyd yn eu cyllid. Diangodd rhai o'r chwil-lyswyr, a chludwyd eraill yn garcharorion i Bayonne; ac fel hyn y cyflawnwyd yr hyn a ddymunasai penaethiaid Hispaen lawer gwaith, ond ni feiddid o'r blaen ei gyflawni. Fe allai na ddarfu i'r Hispaeniaid ganmawl Bonaparte am ddim ar a wnaeth yn eu gwlad ond am ddiddymu y "llys ofnadwy" hwn, yr hwn a laddai y neb a fynai, ac a gadwai y neb a fynai yn fyw. O herwydd byrbwylldra y chwillyswyr a ddiangasent, methwyd adsefydlu y llys, a phasiodd y pwyllgor a appwyntiesid gan y freniniaeth ddirprwyol eu hopiniwn yn erbyn y chwil-lys.

Tystiasant fod ei adsefydliad yn erbyn rhyddid Hispaen, a manylasant ar greulonderau y gallu ofnadwy acannaturiol. Dadganasant fod gweithrediadau y chwil-lys yn anghyson âg annibyniaeth yr Hispaeniaid, ac fod rhyddid personol wedi ei ddiddymu ganddo. Er hyny cydnabyddid yn llawn egwyddorion marwol y chwil-lys,—fod gan ei swyddogion allu i osod a gweinyddu deddfau yn erbyn hereticiaid, oddieithr yr *Auto da fe;* nid oedd yr orymdaith wawdlyd a gwaedlyd hono i fod mwyach. Gallent gadw eu gallu henafol i feïo, attal, a gwahardd llyfrau a dybient hwy yn anaddas i ymddangos. Bu gwrthryfel gan yr offeiriaid yn erbyn cwtogiad crybwylledig y chwil-lys, ond methasant yn eu hamcan; ac alltudiwyd y Nuncio, cynnrychiolydd y Pab, ac amryw o honynt hwy, o'r wlad.

Yn haf 1814, adsefydlwyd Ferdinand VII.; ond yn ddioed wedi cael Madrid yn ei feddiant, ymaflodd yn yr aelodau o'r *Cortes* a ddaethent i fyny o Cadiz. er ei fod yn ddyledus iddynt hwy am ei adferiad i'w orsedd. Gorfu i'r senedd ymostwng i air y brenin, yr hwn a adferodd y chwil-lys, ac a ddiddymodd ryddid y wasg, gan ymdrechu adsefydlu pethau gwaethaf yr hen gyfundraeth. Ond methodd Ferdinand yn ei ymdrechiadau gormesol, gan i wrthryfel dori allan yn y fyddin, yr hyn a barodd chwyldröad yn 1820.

O esgyniad Ferdinand VII. yn 1823, darfu i Lysoedd y Ffydd weithredu yn rymus, ond mae yn anmhosibl dywedyd pa sawl bywyd a aberthwyd i greulondeb Pabaidd. Beth bynag, crogwyd un a gyhuddesid o fod yn Grynwr. Ysgolfeistr yn ymyl Valencia ydoedd. Bwriwyd ef i garchar am beth amser; ond Gorph. 31ain, 1826, dyoddefodd angeu ar y crogbren, gyda thawelwch perffaith. Eithr yn 1834, ar ol rhyfel caled dros ryddid crefyddol a gwladol, ymha ymdrech y cymerodd Brydain ran gyhoeddus a llwyddiannus, diddymwyd y Llys yn Hispaen. Ond er nad oes bellach chwil-lys mewn *enw* yno, y mae fyth yn bod mewn gwirionedd. Y mae claddedigaeth Protestant yn Hispaen i fod fel claddedigaeth asyn—yn lladradaidd, yn warthus, ac yn ddiamddiffyn.

## PENNOD XIV.

### Y CHWIL-LYS YN PORTUGAL.

Y mae yn anhawdd dywedyd pa un a sefydlwyd y chwil-lys yn ei holl ffurfiau yn y wlad hon ai peidio, yn amser y brenin Emanuel, tua'r fl. 1497; ond y mae yn wirionedd fod yno lys i erlyn pobl am heresi, neu wyriad mewn barn oddiwrth ofergoelion Eglwys Rhufain. Dyoddefasai yr Iuddewon greulonderau mawrion yma; ond cawn i'r brenin addaw eu hamddiffyn oddiwrth y chwil-lys am ugain mlynedd, yr hyn wedi hyny a estynwyd i ddeugain mlynedd. Er hyny ni chaent lonydd onid ymostyngent i iau orthrymus y Babaeth. Yn 1521, darfu i Ioan III. adnewyddu ugain mlynedd arall. Ymddengys ddarfod i'r rhagorfreintiau hyn gael eu prynu gan yr Iuddewon a gyfanneddent Portugal. Ond chwe blynedd cyn i'r ugain mlynedd derfynu, anfonodd y Pab Clement VII. yr *Inquisitor-General,* Fray Diego de Silva, i sefydlu swyddfa yn Lisbon; yr hyn a wnaeth ar ddymuniad taer oddiwrth y brenin, Ioan III., yr hwn a achwynai fod Lutheriaid yn ymdaenu trwy y wlad. Cafodd y prif chwil-lyswr gryn wrthwynebiad oddiwrth y trigolion. Er i Clement farw yn y cyfamser, daeth arall yn ei le, yr hwn a ganiatäodd i'r brenin ffyrnig

fyned rhagddo yn erbyn pawb o'i ddeiliaid a ynganent air yn erbyn gwasanaeth yr offeren, ac addoliad delwau a saint. Cafwyd caniatâd ei Sancteiddrwydd i gyfiunio y chwil-lys yn ei holl ranau yn Lisbon, a chyfarfyddai ei holl swyddogion ddwywaith yr wythnos. Dyma ddechreuad y chwil-lys yn Portugal. Tua yr amser hwn (1540), cyfododd ffug chwil-lyswr; aeth mewn rhwysg trwy y wlad, gan gymeryd gwisg a theitl Cardinal; gweithredai fel Pab-Genad, ymwelai â'r tai crefyddol, cynghorai y chwil-lyswyr, gwrandawai appeliadau, symudai flinderau, gosodai drethi, derbyniai anrhegion, goddefai i'w weision dderbyn gwobrau; ond yn dra annhebyg i wir chwil-lyswyr, ni chymerodd fywyd neb ymaith am ei gredo. Yn y diwedd daeth y twyll allan; daliwyd ef, ac anfonwyd ef i'r badau cosbawl am bedair blynedd ar bymtheg i wneyd iawn am ei droseddau. Nid yw *twyll* o fawr bwys yn ngolwg Eglwys Rhufain, onidê, i fod yn gyson â hi ei hun, buasai yn llosgi yn fyw Juan Perez de Saavedra, y ffug-chwil-lyswr cyfrwys a llwyddiannus hwn. Wedi hyn yn ddioed dosbarthwyd Portugal yn daleithiau chwil-lysol, a sefydlesid un yn Evora yn 1537, un yn Lisbon yn 1539, ac un yn Conimbra yn 1541. Llwyddodd Iuddew yn Rhufain, yr hwn a gynnrychiolai ei frodyr, i gael deunaw cant o honynt o garchar yn Portugal; a diammheu i lawer o'r cyfryw gael trwy hyny eu hachub rhag angeu treisiol. Yr oedd aur yr Iuddewon yn gwneyd llawer i bwrcasu eu rhyddid, ac i liniaru eu dyoddefiadau. Ni bu creulonderau y wlad hon at y rhai a alwent hwy yn hereticiaid yn llai nag eiddo Hispaen, ond eu bod yn fwy cuddiedig oddiwrth hanesyddiaeth. Cymerai *Autos* le yn aml yno, ond cadwyd y cof am danynt yn nghêl oddiwrth y byd. Er hyny darfu i rai enghreifftiau ddyfod i'r golwg. Yr oedd un William Gardiner yn aros yn Lisbon; brodor o Gaerodor ydoedd. Cawsai addysg foreuol dda, ac aeth i wasanaeth masnachwr yr hwn oedd yn dal cysylltiad trafnidiol âg Hispaen a Portugal; a phan tua chwech ar hugain oed, anfonwyd Gardiner i wneyd trafodaeth yn Hispaen; ond gan fyned i Lisbon, ac aros yno am beth amser, darfu i'w gynnydd cyflym yn yr iaith, a'i gymhwysderau eraill i gario gwaith ei feistr ymlaen, arwain i'w ymsefydliad yn y porthladd hwnw. Cafodd gyfeillion cydnaws yno, ac yn nghanol trafferthion masnach, yr oedd efe yn ymarfer ei hun i dduwioldeb. Ar y cyntaf o Fedi, 1552, priododd mab brenin Portugal â'r dywysoges Hispaenaidd. Ac aeth y Prydeiniwr i weled y briodas, er ddarfod iddo ymgadw hyd hyny rhag myned i wasanaeth crefyddol y Pabyddion. Cyflawnid holl ddefodau y *mass* gyda rhwysg mawr; ac wrth eu gweled yr oedd dychryn yn dal meddwl Gardiner, ac efe a aeth adref yn brudd. Heb fynegi achos ei dristwch, enciliodd i'r dirgel i dywallt ei galon o flaen Duw. Baich ei ymbiliau oedd iddo esgeuluso ei ddyledswydd, ac y dymunai wybod pa fodd y gallai dystio yn fwyaf effeithiol yn erbyn didduwiaeth ac ofergoeledd y Pabyddion. Yr oedd hyn yn berygl bywyd; eto ni chiliodd oddiwrth y penderfyniad a ffurfiasai. Dirwynodd ei amgylchiadau tymmorol i fyny, a pharhâi ddydd a nos mewn gweddi a myfyrdod yn yr Ysgrythyrau sanctaidd. Yn ystod y gwyliau priodasol, cyflawnwyd *mass* arall, pryd y gweinyddai y Cardinal, yngwydd y brenin a'i deulu. Pan oedd y coeg-wasanaeth yn ei uchder, rhedodd William Gardiner, heb allu dyoddef yn hŵy; ac yn ngŵydd y brenin a'i holl foneddigion, a'i ddinaswyr, cipiodd yr afrlladen oddiwrth yr offeiriad, sathrodd hi dan ei draed, ac â'r llaw arall a ddymchwelodd gwpan y cymun. Tarawyd pawb â syndod; rhuthrodd

pawb ymlaen i afaelyd ynddo, a chlwyfwyd ef ar ei ysgwydd gan ddagr. Gorchymynodd y brenin ei arbed, a'i gadw i'w holi, gan dybied fod eraill yn y gyfrinach, ac mai offeryn i gario rhyw gynllun i weithrediad oedd efe. Gwnaeth amddiffyniad dibetrus a gwrol o flaen y brenin am ei ymddygiad. Pan oedd ei glwyf agos a gwella, aeth dan yr arholiad arferol. Carcharwyd yr holl Frydeinwyr ag oeddynt ar y pryd yn Lisbon, ond nid ellid cael allan fod cymaint ag un yn y gyfrinach gyda Gardiner. Dadleuai efe yn ddiofn â'r duwinyddion yn yr iaith Ladin. Cafodd ei boenydio mewn llawer dull; gyrwyd pêl i lawr i'w wddf, a thynid hi i fyny mor rymus ac mor aml, fel y buasai angeu yn fwy goddefol. Wedi blino yn ei boeni, dygwyd ef i wisgfa yr eglwys gadeiriol, a thorwyd ei law ddê ymaith. Cymerwyd ef i'r farchnadfa, lle y torwyd ei law chwith, ac y gosodwyd ef ar asyn. Yna cludwyd ef i làn yr afon, crogwyd ef wrth ben tanllwyth mawr, a gweithid ef â rhaff a chwerfan fel y gallai losgi yn araf a dirboenus. Ymloddestai y bobl ar yr olwg. Ond gweddïai y dyoddefydd yr holl amser hwn. Nacäodd weddïo ar Fair y Forwyn, a dywedai, "Pan beidia Crist fod yn Eiriolwr i mi, yna mi a weddïaf ar i Fair y Forwyn fod yn eiddo fi." Pan yr oedd bywyd ar ddiffodd, gweddïai yn Lladin, "Barn fi, O Dduw, a dadleu fy nadl yn erbyn y genedlaeth annhrugarog." Pan yn ymdrechu adrodd y Salm, gwthiwyd ef yn ol ac ymlaen mor rymus, fel y torodd rhaff y chwerfan, ac efe a syrthiodd i'r danllwyth, a threngodd. Darfu i un o'r enw Pendigrace, cydletywr âg ef, gael ei gadw yn y chwil-lys am ddwy flynedd, a dirdynid ef yn aml; ond ni ddywedodd ddim a allai fod yn foddion i gyhuddo neb o'i wladwyr; ac wedi ei ollwng, dychwelodd i Frydain. Beth bynag a feddylir am ddoethineb Gardiner, yr oedd ei dduwiolder a'i ddewrder yn rhoi arbenigrwydd parchus ar ei gymeriad.

Yn 1560 llosgwyd Marc Burges, Sais, a chadben llong, yn Lisbon.

Tua'r amser hwn, sugnid symiau dirfawr o arian gan y chwil-lyswyr oddiwrth Iuddewon cyfoethog yn Portugal, gan addaw rhyddid iddynt oddiwrth y cosbau hyny a ddyfernid ar hiliogaeth orthrymedig Abraham, am eu harddeliad o Iuddewaeth. Ond yr oedd agos bob addewid yn troi yn dwyll; ac wedi cael yr arian, ni ofalai y "tylwyth teg" hwn pa beth a ddeuai o'r trueiniaid twylledig.

Yn 1604, anfonwyd *bull* o anwesiad oddiwrth y Pab, ond ni wnaeth hwnw ddim lles i'r Iuddewon. Cyhoeddai faddeuant am droseddau a gyflawnwyd, ond yr oedd mor gaeth ynghylch y dyfodol, fel y dinystriodd bob gobaith am lonyddwch iddynt hwy. Yn 1682, i ddangos prawf o dynerwch y chwil-lyswyr, llosgwyd chwech digriflun mewn *Auto da fe* yn lle cynifer o bersonau a drengasent yn y carchar; condemniwyd pedwar ugain a dau i gosbau llymion, megys fflangelliad, alltudiaeth, a charchariad parhâus; llosgwyd tri yn fyw; llindagwyd a llosgwyd un. Iuddewaeth oedd y cyhuddiad a ddygid yn erbyn y nifer mwyaf o honynt; cyhuddwyd rhai o ddewiniaeth, ac eraill o anfoesoldeb. Yn 1690, aeth dirprwyaeth dros gristionogion newydd (Iuddewon) Portugal i Rufain, i grefu ar y Pab Alexander VIII. i ryddhâu pump cant o garcharorion ag oeddynt yn y daeardai y pryd hyny, o bob gradd ac oed. Buasai rhai o honynt yno bedair ar ddeg o flynyddoedd, ac ni fuasai neb dan saith mlynedd.

Yr oedd y dienyddle yn Lisbon ar làn afon. Adeiledid pawl mawr, a phren croes ar ei ben fel eisteddle, a man i orphwys dwy ysgol arno. Yr

oedd un o'r ysgolion at wasanaeth y Jesuitiaid, y rhai a gymerent ran mor arbenig yn y gwasanaeth echrys o losgi hereticiaid. Yr oedd yr ysgol arall i'r carcharor condemniedig, a gorfodid ef i'w hesgyn, ac eistedd ar y darn croes, a chael ei gadwyno yno. Yna esgynai y Jesuitiaid, ac a'u cynghorent i edifarhâu; ac os na chynnyrchid edifeirwch, mynegent eu bod yn gadael ei enaid i'r diafol, yr hwn oedd yn aros i dderbyn ei enaid. Pan fyddai pobpeth yn barod, rhoddid tân mewn eithinen ar ben ffon hir, a gwthid ef i wyneb yr heretic, i losgi ei farf, ei wallt, a'i wyneb. Yna, dechreuai y dorf wawdio y dyoddefydd. Byddai parhâd y dyoddefiadau yn gorphwys llawer ar y gwynt; weithiau parhâi y dyn yn ei ymwybodolrwydd am ddwy awr, er mawr lawenydd y gwyddfodolion. Trefnid y llosgi neu y rhostio i farwolaeth yn y fath fodd fel y gallai pawb ei weled. Ymddengys fod yr erlidigaethau arswydus hyn wedi cael effaith ddiraddiol ar y genedl Bortugiaidd, ac y mae wedi bod yn un achos nerthol i'w darostwng o fod y genedl fwyaf cyfoethog, i fod y dlotaf a'r fwyaf dinerth. Tuedd Pabyddiaeth yw gwywo cenedl.

Syrthiodd y chwil-lys yn Portugal yn 1821, yn yr ymdrech am ryddid gwladol. Y mae llythyren y gyfraith yn caniatâu rhyddid crefyddol i ddyeithriaid, yn gystal ag i'r brodorion; ond ffug ydyw yr oll; y mae *ysbryd* y chwil-lys yn aros, os yw ei ffurfiau wedi peidio. Y mae anian Eglwys Rhufain yr un fath fyth, ond fod dylanwadau allanol yn ei hattal i redeg i'w hen eithafion creulawn a gwaedlyd.

## PENNOD XV.

### Y CHWIL-LYS YN YR INDIA DDWYREINIOL.

Y mae Göa wedi cyrhaedd enwogrwydd annymunol yn ei chysylltiad â chreulonderau Eglwys Rufain. Göa sydd ddinas yn Hindostan, a phrif ddinas y sefydliadau Portugiaidd yn India. Saif ar ynys ddwy filldir ar hugain o hyd, a chwech o led, a ffurfiwyd gan yr afon Mandova. Mae yn gorwedd 250 o filldiroedd yn ddê-ddwyreiniol o Bombay. Yn 1545, anfonwyd cais gan Francis Xavier, apostol pabaidd yr India, at frenin Portugal, i ddymuno arno anfon swyddfa y chwil-lys i'r wlad hono i feddyginiaethu yr anffyddlondeb crefyddol a ffynai yn y parhau pell hyny. Yn 1560, anfonwyd y chwil-lyswr cyntaf i Göa o Lisbon. Ei enw oedd Alexo Diaz Fulcano. Cafodd y Portugiaid feddiant ar y parth yma yn 1510, ac yn ddioed planwyd baner ddu Pabyddiaeth yn ymyl y gallu gwladol newydd. Ffurfiwyd esgobaeth yno hefyd yr un pryd. Gweithredai amryw swyddogion dan amddiffyniad byddin gref i ennill proselytiaid. Darbwyllid neu dychrynid dynion mewn oed, a lladretid plant gan y Jesuitiaid, a gorfodid lliaws o blant i gael eu bedyddio yn groes i ddymuniad eu rhieni. Yn y flwyddyn 1560, fel y nodwyd, sefydlwyd y chwil-lys yno. Wedi gwylied peth amser am gyfle, ymosododd y chwil-lyswyr ar gristionogion y Dwyrain a adwaenid fel Nestoriaid yn esgobaethau Babilon a Mogul. Yr oedd y cristionogion hyn yn fwy iawngred o lawer na diofrydwyr y Babaeth. Priodai eu hoffeiriaid; ni feddent ond dau sacrament; ni weddïent ar saint, a delwau nid addolent; ni wyddent ddim am gêlgyffesiad, ac ni chlywsent erioed am burdan na thraws-sylweddiad. Ni chydnabyddent un penaeth ysbrydol ond patriarch Babilon; ac yn eu haddoliad defnyddient yr hen ffurfiau gwasanaeth Syriaeg. Wedi i'r

Portugiaid anrheithio y wlad y clywsant am y Pab a'i grefydd. Cymerodd esgob pabaidd Cochin feddiant o un o'u heglwysi, a chadwodd feddiant o honi am ddau fis dan awdurdod y Portugiaid. Rhwymai ei ddychweledigion i dyngu llŵ o ffyddlondeb i Rufain. Wedi i'r patriarch ffoi i deyrnas gymydogaethol, o herwydd ei erlid gan chwil-lyswr, ymdrechodd gwas ufudd Rhufain ddarbwyllo y brenin i'w ladd fel lledaenwr cyfeiliornad, ac aflonyddwr yr heddwch; ond ni lwyddodd yn hyn. Rhuodd y chwil-lyswyr yn erbyn y Nestoriaid, a dechreuwyd ar y gwaith ofnadwy o gamgyhuddo, holi, carcharu, dirboeni, a llosgi. Ymhen saith mlynedd ar ol sefydliad y chwil-lys yn Göa, cawn esgob Syriaeg Cochin yn sefyll o'i flaen ar awdurdod hawlysgrif o eiddo Pius V. i Cardinal Henry o Portugal, a barnwyd ef yn euog o'r heresi Nestoraidd. Anfonwyd ef yn garcharor i Lisbon, ac yna i Rufain, lle y bu farw yn fuan. Yr oedd llosgi yn beth cyffredin yr amser hwnw. Yr oedd *Autos da fe* yn bethau cyffredin yn Göa, prifddinas India Babaidd. Os gwnai rhywrai beidio myned i wasanaeth yr eglwys lygredig, neu ddangos unrhyw sarhâd tuag at Rufain, llosgid hwy er rhybudd i'r werin. Anfonid esgobion ac offeiriaid y Nestoriaid yn barhâus i garchar yn Göa, ac oddiyno i'r Eidal neu Portugal. Ambell dro celid eu henwau, gan fod y cyfan i gael ei ddwyn ymlaen mor gyfrinachol ag oedd modd. Ymaflwyd yn Simeon, esgob yr eglwys yn Malabar, ac anfonwyd ef i Rufain, lle y bu farw mewn crefydd-dŷ, yr hwn a fuasai yn garchar iddo tra y bu byw.

Gwnai y prif chwil-lyswr orfodi llawer o offeiriaid Syriaeg fod yn bresennol mewn gwyslys *(synod)*, a darbwyllwyd rhai o honynt, oddiar ofn y Portiguaid, i dyngu llŵ o ffyddlondeb i'r "llys ofnadwy." Gwaharddwyd a llosgwyd eu hen ffurfwasanaeth, a dygwyd i mewn Babyddiaeth i'w mysg fel cefnllif ofnadwy. Cynnygiai y Nestoriaid brynu eu rhyddhâd, ac ysgrifenwyd i'r perwyl hwnw i Rufain; ond ni wnai Paul V. gwtogi gallu y chwil-lyswyr. Lladdent rai, a drygent eraill yn eu hamgylchiadau; a gwesgid ar y bobl mor fawr nes y darfu i ran o honynt ddryllio eu llyfetheiriau ac ymryddhâu.

Wedi methu cael caniatâd Rhufain o blaid eu ffurfwasanaeth Syriaeg, darfu i gristionogion Malabar apelio at Batriarch Nestoraidd Babilon am swyddog arnynt yn lle yr Archesgob Jesuitaidd. Anfonwyd Atahalla; ond gafaelodd y chwil-lyswyr ynddo, cymerwyd ef i Göa, a threngodd yn eu dwylaw. Ymhen deng mlynedd ar hugain wedi llofruddiaeth Atahalla, dynoethwyd rhai o ddychrynfëydd ffau Göa gan M. Dellon, teithiwr Ffrengig. Treuliodd M. Dellon beth amser yn Damaun, ar ymyl gogledd-orllewinol Hindostan, a syrthiodd dan eiddigedd y llywydd ac offeiriad du, ar gyfrif rhyw ddynes. Traethasai ei feddwl yn lled rydd o berthynas i rai o gyfeiliornadau gwaethaf Eglwys Rhufain, a rhoddodd hyny gyfle i'r offeiriad, yr hwn hefyd oedd yn ysgrifenydd i'r chwillys, fyned yn ei erbyn fel heretic. Cafwyd awdurdod o Göa i'w ddal, a chludwyd ef yno i garchar yr archesgob. Carchar eglwysig oedd hwn! Darlunir ef gan Dellon fel lle ofnadwy o fudr, tywyll, a hyll. Cymerwyd ef oddiyno i'r "tŷ sanctaidd," a chyda chryn anhawsder y gallodd lusgo ei liniau y rhai a lwythesid â llyffetheiriau. Gan ymddangos o flaen awdurdodau y chwil-lys gydag amryw o'i gydgarcharorion, syrthiodd ar ei liniau o flaen Don Francisco Delgado Eunatos, y chwillyswr, a chrefodd am ei ffafr. Ond ni chafodd fawr obaith. Arweiniwyd

ef oddiyno, chwiliwyd ef, a chymerwyd ei holl eiddo oddiwrtho. Nis cai gadw gymaint â'i lyfr gweddi Pabaidd, canys yr oeddynt yn byw yn y chwil-lys yn Göa heb un ffurf o grefydd. Cropiwyd ei wallt fel nad oedd arno eisieu crib. Ni chai neb fyned i mewn i'r "tŷ sanctaidd" hwn ond trwy ganiatâd, ac nid oedd yn bosibl cael caniatâd i ddyeithriaid. Yr oedd rhyw ddirgelwch caddugol yn perthyn i'r lle a'i orchwylion. Pan y byddai rhywun farw, nid oedd neb tu allan yn cael gwybod hyny; cleddid ef tu fewn i'r muriau heb un gwasanaeth cysegredig; ac os ar ol angeu y tybid ei fod wedi marw mewn cyfeiliornad, cyfodid ei esgyrn yn yr *Auto* nesaf i'w llosgi. Os na fyddai gormod yn y carchar hwn, byddai pob carcharor ar ei ben ei hun mewn cell, ac nid allai wneyd na dyweyd dim heb fod y gwylwyr yn ei glywed os plygent i ymyl y barau heiyrn. Os cadwai y carcharorion y swn lleiaf mewn poen, neu hyd yn nôd mewn gweddi ar Dduw, curid hwy yn ofnadwy gan y ceidwaid, er dychrynu y lleill. Ymwelid â'r carcharorion weithiau dan rith caredigrwydd; ond yr oedd creulondeb yn eu tyner drugareddau, canys defnyddient unrhyw achwyniad ynghylch y modd y trinid hwy i fod yn fater cyhuddiad yn yr arholiadau a gymerent le yn achlysurol. Aeth M. Dellon trwy driniaethau amrywiol a phoenus yma; ac mewn anobaith, ymdrechodd newynu ei hun; ond gorfodid ef i gymeryd bwyd. Bryd arall, yn ei anobaith, penderfynodd ladd ei hun, os gallai. Cymerwyd ef yn sâl iawn, gwaedwyd ef, pryd y gobeithiai fod ei fywyd yn darfod; ond ffôdd angeu oddiwrtho. Bu agos a llwyddo unwaith i ladd ei hun; cafodd ceidwad ef yn ymdrybaeddu yn ei waed. Cariwyd ef at y chwil-lyswr wedi i'w glwyfau wellhâu, a chan nad allai eistedd, gorweddai ar y llawr; cyhuddid ef yn chwerw, rhwymwyd ei draed mewn heiyrn, a chludwyd ef i'w gell. Daeth mor ffyrnig yn ei gadwynau, fel y gorfuent eu tynu. Holwyd ef yn yr Ysgrythyr wedi hyn, pan y dangosai ei arholiad anwybodaeth ddofn a thruenus y pen chwil-lyswr.

Yn nechreu 1676 yr oedd dydd-losgiad i fod, ac awgrymwyd i M. Dellon y byddai iddo gael ei losgi. Ychydig cyn cyfodiad haul, swniai cloch fawr eglwys gadeiriol Göa, a chyffröai y trigolion oll. Llenwid ochrau yr holl brif heolydd, ac ymddangosai pawb yn awyddus i gael golwg ar yr orymdaith. Indiaid oedd holl gyd-garcharorion Dellon, ond deuddeg; yr oedd yno i gyd ddau cant o honynt. Dangosai pob wyneb ofn, gofid, ac amddifadrwydd dychrynllyd o feddwl, fel pe buasai dyoddefaint erchyll mewn daeardai tywyll wedi eu hamddifadu o'u synwyrau. Ar ol llawer o seremonïau gwag ac erchyll, pregethwyd i'r hereticiaid. Wedi bod yn wrthddrych gwawd, dyoddefaint, ac ofnau anhysbys, cymerwyd Dellon yn ol i Lisbon, lle y bu yn gweithio am beth amser ymysg haid o euogion. O'r diwedd cafodd ei ryddhâu ar gyfryngiaeth rhai o'i gyfeillion yn Ffrainc gyda'r llywodraeth Bortugiaidd.

Bu gorymdeithiau chwil-lysol yn Göa am ganrif ar ol amser Dellon. Byddai weithiau ddwy flynedd rhyngddynt; ond dywedodd un o'r hen frodyr a berthynai i un o urddau Rhufain iddo weled pump gorymdaith o'r fl. 1770 i'r fl. 1775. Dywed yr un awdurdod i frenin Portugal, yn mlwyddyn olaf ei deyrnasiad, ddiddymu y chwil-lys. Ond yn ddioed ar ol ei farwolaeth darfu i'r offeiriaid gael y prif allu, ac adsefydlwyd y chwil-lys gan y frenines waddolog. Wedi hyny dygid pethau ymlaen yn fwy *dirgel;* ond, y mae lle i ofni, nid yn llai creulawn. Yr oedd llywodraeth Prydain yn India yn peri i'r chwil-lyswyr fod yn fwy gofalus. Yn haf 1808, ymwelodd

Dr. Claudius Buchanan â Göa, a lletywyd ef yn annysgwyliadwy gan Joseph Doloribus, yr ail chwil-lyswr yn y lle. Cafodd garedigrwydd mawr yn nghrefydd-dŷ y chwil-lys, lle oedd yn sefyll tua chwarter milldir o'r "llys ofnadwy." Nid heb beth syndod y cafodd Dr. Buchanan ei hun, er yn "heretic, ymranydd, a gwrthryfelwr," yn cael ei roesawu gan berson mor fawreddog. Gan ei dderbyn yn unig fel llênor, neu gan ymhoni hyny, ymddangosai Joseph fel yn mawr fwynhâu ei gyfeillach. Yr oedd Joseph ei hun yn ddyn o ddysg da. Byddai yn dra siaradus ar bob pwnc nad oedd yn perthyn i'w alwad ei hun; a darfu iddo ateb un gofyniad a ddaeth allan braidd yn anfwriadol, gan ddywedyd fod y sefydliad agos mor helaeth ag mewn cynamseroedd. Nos drannoeth, gosododd y Dr. lyfr Dellon—Hanes y chwil-lys yn Göa—yn llaw y Tad Joseph. Ymddengys na welsai efe mo hono. Dymunodd Dr. Buchanan arno nodi pethau oeddynt yn anghywir ynddo, os cai y cyfryw. Mor awyddus oedd y tad hwn i ddarllen y llyfr, fel y gofynodd am dano i fyned i'w ystafell gysgu. Addefodd y chwil-lyswr fod darluniadau Dellon yn gywir, ond ei fod wedi camddeall amcanion y chwil-lyswyr, ac wedi ysgrifenu yn angharedig am yr Eglwys Sanctaidd. Dywedai nad oedd y chwil-lys mor ddychrynllyd ag oedd gynt. Yn y diwedd, gofynodd Dr. Buchanan am gael gweled y chwil-lys, fel y gallai farnu drosto ei hun, gan ddywedyd fod y dyddordeb a deimlai yn sefyllfa India, a'i fwriad i ysgrifenu eto ar ei hamgylchiadau, yn rheswm dros y fath gais; ac mewn llyfr ar y wlad hono, braidd y gallai fod yn ddystaw ar y chwil-lys. Cyfnewidiodd gwedd ei westŷwr; ond yn y diwedd cafodd y Doctor addewid anewyllysgar o hyny ganddo. Dangoswyd ystafelloedd cyffredin y chwil-lys iddo trwy ffafr arbenig a thaerineb mawr; ond er crefu a cheisio, ni chai olwg ar y ddau gant o gelloedd oedd dan y ddaear, lle y gosodid carcharorion. "Arweiniwch fi i lawr," meddai Dr. Buchanan wrth Joseph Doloribus, "i'r adeilad fewnol, a gadewch i mi fyned trwy y ddau gant daeardŷ deg troedfedd onglog, a ddysgrifiwyd gan eich caethion gynt. Gadewch i mi gyfrif nifer eich caethion presennol, ac ymddyddan â hwynt. Y mae arnaf eisieu gweled a oes yno ddeiliaid y Llywodraeth Brydeinig, y rhai y dylem eu hamddiffyn. Y mae arnaf eisieu gofyn pa hyd y buont yma, pa faint o amser sydd er pan welsant oleuni yr haul, a pha un a ddysgwyliant ei weled drachefn. Dangoswch i mi ystafell yr arteithiant, a mynegwch pa ddulliau o ddienyddiant neu o gosb a arferir tu fewn i furiau y chwil-lys, yn lle yr *Auto da fe* cyhoeddus. Os, Dad, ar ol y cyfan a gymerodd le, y gwrthwynebwch y cais rhesymol hwn, cyfiawnhëir fi mewn credu fod ofn arnoch ddynoethi sefyllfa y chwil-lys yn India." Nid atebodd y chwil-lyswr ddim, ond ymddangosai fod arno frys i ymadael. Anerchwyd ef yn briodol gan Dr. Buchanan, ac ymadawsant gydag wynebau cymylog. Cyhoeddodd Dr. Buchanan ei "*Christian Researches in Asia,*" yn y fl. 1812, ac yr oedd y chwil-lys yn Göa yn gweithredu yr amser hyny; ond pan sefydlwyd llywodraeth rydd yn Portugal, diddymwyd ef trwy yr holl diriogaethau Portugiaidd.

## PENNOD XVI.

### Y CHWIL-LYS YN NEHEUBARTH AMERICA.

Gorchfygiant Mexico gan Ferdinando Cortez, a Peru gan y Pizarröaid, ydynt ffeithiau hanesiol tra adnabyddus. Darganfyddesid America

saith mlynedd ar hugain cyn hyny gan Christopher Columbus, yn y fl. 1494. Wedi cael eu traed danynt yn y "byd newydd," aeth yr Hispaeniaid rhagddynt yn y modd mwyaf creulawn ac ofnadwy. Defnyddid yr arteithglwyd, y fflangell, a'r ffagod, i ddychwelyd y brodorion at Gristionogaeth. Darfuwyd agos ddiboblogi y gwledydd a ddisgynodd i feddiant Hispaen, yn enwedig Cuba.

Yr oedd sectiau condemniedig cyn i Luther godi; ac ofnid fod dynion yn dianc dros y môr i America er mwyn osgoi y chwil-lys a moddion eraill erlidigaeth a osodid mewn grym gan Babyddiaeth yn erbyn y rhai a alwent hwy yn hereticiaid. Fel na chaent lonydd yn ngwylltoedd y "byd newydd," darfu i'r prif chwil-lyswr Hispaenaidd, Cardinal Ximenez, enwi Fray Juan Quevedo, Esgob Cuba, yn 1516, i fod yn ddirprwywr iddo yn nheyrnas Terra Firma, fel y gelwid y tiriogaethau Hispaenaidd yn America yr amser hyny. Cafodd allu i appwyntio gweinidogion anghenrheidiol. Pleidid yr holl ddarpariadau hyn gan yr Ymherawdwr Charles V., a chrefodd ar y Cardinal Adrian enwi chwil-lyswyr, i fod yn annibynol ar chwil-lys Hispaen, a nodwyd dau o uchelswyddogion i'r gwaith. Eu henwau oeddynt Alonso Manso, esgob Puerto Rico, a Pedro de Cordova, îs-dalaethwr y Dominiciaid. Llawnodwyd yr awdurdod breninol yn 1520. Yr oedd y cristionogion newydd yn America yn gynnwysedig o lawer o frodorion a ymostyngasant i fedydd dan ddylanwad Hispaenaidd, yn gystal â fföedigion o'r "hen fyd." Rhoddodd ei fawrhydi orchymyn pendant i beidio aflonyddu y brodorion, ond yn unig Ewropëaid a'u hiliogaeth. Ond ni ddiangodd yr Indiaid. Y fath oedd casineb bron bawb at y chwil-lys newydd, fel mai gwaith anhawdd oedd cael dynion i lanw ei swyddau. Ond cafodd y chwil-lyswyr nodded Phillip II. Nid oeddynt yn wir i rodio o amgylch y wlad fel o'r blaen, ond sefydlwyd eu gallu mewn palasau ac amddiffynfëydd, a gweithredent fel yn Hispaen dan yr ynad a'r milwyr. Sefydlwyd penau taleithiau yn Panama yn 1569, ac yn Lima yn 1570, ac yn Mexico yn 1570. Gwnai y chwil-lyswyr eu mynediad cyhoeddus i drefydd mewn rhwysg, a mawr oedd y parch a delid iddynt. Y mae lle i feddwl i erlidigaethau cyfatebol i fawredd y parotöadau gael eu cario ymlaen, er fod tlodi hanesiol wedi celu y dosbenion o olwg oesau dilynol.

Yn 1574 y bu yr *Auto* gyntaf yn Mexico. Dywedir i Ffrancwr a Phrydeiniwr gael eu llosgi megys Lutheriaid anedifeiriol, ac arddangoswyd pedwar ugain o rai edifeiriol. Dygodd rhai benyd am ddwywreigiaeth, ac eraill am swyngyfaredd ac ofergoeledd. Gwaherddid i ddynion groesi y Werydd rhag iddynt ddyfod â phla Protestaniaeth i ddyfetha prydferthwch America. Yn y fl. 1648, bu *Auto* yn Hispaen Newydd, pan y dygwyd wyth ar hugain o ddynion a menywod allan i fod yn wrthddrychau gwawd a chosb. Buwyd trwy y dydd drannoeth yn fflangellu y bobl hyn. Disgynai y cosbau trymaf yn aml ar Iuddewon a geid yno, ac ar bawb a ddrwgdybid o fod yn anghydffurfio â defodau yr Eglwys Babaidd. Cafodd Gasper de los Reyes bum' cant o fflangellau, a'i gondemnio i'r badau cosbawl am ei fywyd. Ei drosedd oedd ymwthio yn gyfrwys i'r swydd offeiriadol, a chyflawni ei holl waith, ac yntau heb fod yn offeiriad. Llosgesid ef, pe buasai y gallu gwladol yn bresennol. Aethai Fray Josef de Santa Cruz, yr hwn oedd offeiriad, a mynach o Seville, i Mexico heb ganiatâd; newidiodd ei enw, priododd ddwywaith, daeth yn dad amryw blant, a gweithredai fel meddyg; ond ymhen blynyddau daliwyd ef, a bwriwyd ef i

garchar. Dygwyd ef allan i'r *Auto* crybwylledig, a gorfodwyd ef i weini yn yr ysbyttŷ bedair blynedd heb dâl, ac yna rhoddwyd ef i'r esgobion i'w drin yn ol rheolau yr eglwys. Trengodd Alexo de Castro, Mahometan cuddiedig, mewn mynachdŷ. Yr oedd yn bedwar ugain a dwy flwydd oed. Cafodd Sebastian Domingo ddau gant o fflangellau, er ei fod yn driugain oed. Affrican ydoedd. Pan yn ieuanc, gwerthasid ef a'i wraig ar wahân, a gorfododd ei ail berchenog ef i briodi dynes arall. Carcharwyd ef gan y chwil-lys am yr ail briodas. Dyfarnwyd ef i dderbyn dau gant o fflangellau, a chwe' mlynedd o lafur yn y badau cosbawl, os gwnai orfyw y fflangellu. Yr oedd Ana Xuarez, Iuddewes bump ar hugain oed, i gael ei llosgi os nad ymostyngai i fyned trwy ddefodau a gwaith isel a gwarthus, a hyny yn hollol groes i'w hargyhoeddiadau crefyddol. Cosbesid ei thad a'i mam fel Iuddewon.

Yn 1706, anfonodd Clement XI. arch i ddiddymu y chwil-lys yn America; ond neidiodd i fywyd yn fuan wedi hyny yn Mexico a *New Spain*. Yn y fl. 1815, lladdwyd offeiriad yn Mexico gan y chwil-lyswyr am gymeryd rhan yn y symudiad i ysgaru y dalaeth oddiwrth y fam-wlad—Hispaen. Cyhuddwyd ef o atheistiaeth; un prawf mawr o hyny oedd, *ei fod yn briod*. Pan ddarfu i derfysgoedd a rhyfeloedd cartrefol ysgwyd y gwledydd Pabaidd yn America, tröwyd llid y werin yn erbyn y gwŷr eglwysig, a dyoddefodd hyd yn nôd Esgobion Pabaidd. Awgrymai Rhagluniaeth fod ei dialedd yn disgyn yn aml yn y byd hwn ar orthrymwyr dynoliaeth, a rhai a garant anwiredd.

Y mae *cyfrif* i'r chwil-lys ddyfetha fel y canlyn:—1,500,000 o Fooriaid yn Hispaen; tua 2,000,000 o Iuddewon yn Ewrop; 15,000,000, o Indiaid yn America; tua 50,000,000 o Brotestaniaid yn Ewrop a'r India Ddwyreiniol;—cyfanrif, 68,500,000.

## PENNOD XVII.

### YSBRYD Y CHWIL-LYS FYTH YN FYW YN NGWLEDYDD PABAIDD EWROP.

Tybia llawer, yn enwedig y bobl hyny a farnant fod y naill ffurf o grefydd yn gystal a'r llall, fod Pabyddiaeth, ac yn enwedig y chwil-lys, wedi newid eu hysbryd, ac o fod yn greulawn a dialgar ei bod wedi dyfod yn fwyn a diniwed. Ië, gwedir bodolaeth y chwil-lys, a haerir nad oes dim o'i ôl yn awr yn gysylltiedig â'r gyfundraeth Babaidd. Y mae meddwl y goreu am bawb mewn cariad yn ddyledswydd gristionogol; ond ni ddylem gau ein llygaid yn erbyn ffeithiau ac arwyddion amlwg fod ysbryd erlidgar Rhufain eto yn aros. Y mae *ewyllys* y Babaeth yn barod, beth bynag yw ei *gallu*. *Inquisition of the Cardinals* sydd yn awr yn Rhufain yn cynnrychioli y chwil-lys gynt. Y mae opiniynau newydd a rhyddfrydig yr un mor beryglus yno yn bresennol ag oeddynt yn 1623, pan y carcharwyd Galileo, yr astronomydd enwog, yn unig am hòni fod y *ddaear*, ac nid yr *haul*, yn troi. Condemniwyd y dyn dysgedig hwn pan yn 70 mlwydd oed i garchar a gwarth am opiniwn mor ddiniwed! Gwylia y Cardinaliaid mewn cynghor ar y wasg, a chondemniant bob llyfr a dybiant hwy yn anfanteisiol i dywyllwch, traha, a gormes eu heglwys lygredig. Gwaherddir llyfrau ar lênyddiaeth gyffredinol, megys Macaulay's *History of England*, &c. Ië, y mae y Bibl ei hun yn llyfr gwaharddedig gan gynnulleidfa llyfrau gwaharddedig yn Rhufain! Cawn fod pob Pab a eisteddodd yn

nghadair St. Pedr oddiar 1804, pan sefydlwyd y Fibl Gymdeithas Frydeinig a Thramor, wedi melldithio y Gymdeithas ragorol hono mewn rhyw ddull neu gilydd. Onid yw achos Dr. Achilli, Gavazzi, y Madiai, Miss Cunningham, De Mora, &c., yn enghreifftiau diweddar, ac yn brofion chwanegol o ysbryd erlidgar a bodolaeth y chwil-lys, er mewn dull newydd? Pan daflwyd carcharau dinas Rhufain yn agored yn chwyldröad 1848, daeth pethau rhyfedd ac echryslawn i'r golwg yn naeardai y chwil-lys. Mor ddiweddar a'r fl. 1852, cawn dystiolaeth P. Alessandro Gavazzi, capelwr diweddar i'r fyddin Rufeinig, o fodaeth a gweithrediadau erchyll yr awdurdodau Pabaidd yn Rhufain. Ychydig iawn o amser a gafwyd, ac yr oedd y nifer mawr o bersonau a ruthrent i'w weled yn rhwystr mawr i chwilio yn fanwl i'w gynnwysiad. Y mae yn debyg fod yr offer poenydiant wedi eu dinystrio, neu eu cludo oddiyno. Meddyliai rhai i'r Dominiciaid eu llosgi mor gynted ag y deallasant y gwnai pobl y ddinas dori i mewn i'r palas. Gwelodd Gavazzi ffwrnes a darn o wisg dynes yn un o amgylchoedd un o'r carcharau. Tybia efe fod y ffwrn yn cael ei defnyddio i ddyfetha cyrff y rhai a leddid yn y lle trwy greulondeb y chwil-lys. Gwelodd hefyd *trap-door* ofnadwy i ollwng i lawr i ddaeardai y chwil-lys. Mor gynted ag y gosodai dyn a gyhuddid ei droed ar y *trap-door* hwn, torid ef ymaith o dir y rhai byw. Ni chlywid mwy am dano. Chwiliodd Gavazzi beth o'r ddaear yn y gwaelod, a chafodd ei fod yn gyfansoddedig o bridd cyffredin, braender, lludw, a gwallt dynol, o arogl gas, ac yn ofnadwy i lygaid a meddwl yr edrychwr. Gwelwyd pethau rhyfedd yn naeargelloedd y Pab Pius V., yr hwn oedd yn fawr ei zel yn erbyn hereticiaid. Yr oeddid yn myned dros risiau culion i lawr i'r daeardai, ac am fod y celloedd yn fychain a drewedig, yr oeddynt yn gant gwaeth na ffauau y llewod a'r dywalgŵn yn y *Colosseum*. Gellid dywedyd fod y tyllau hyn yn "feddau y byw." Daeth ein hysbysydd i gell yn llawn o ysgerbydau dynol heb benau, wedi eu claddu mewn calch, a'r penau wedi eu casglu i fath o gewyll gan ymwelwyr blaenorol. Y mae pob peth yn dynodi mai gweddillion dynion wedi syrthio yn ebyrth i'r chwil-lys oedd yr esgyrn hyn. Y mae y calch ag oedd yn gymysgedig â hwy yn siarad digon ynddo ei hun. Gwrandewch ar yr eglurhâd tebygol:—"Suddid y condemniedig mewn baddod o galch rhydd; yn raddol äi i fyny at eu gyddfau. Gwnai y calch trwy ychydig ac ychydig gau ar y dyoddefwyr, neu eu gwàlio i fyny oll yn fyw. Yr oedd y boen yn ddirfawr, ond yn araf. Fel y chwyddai y calch uwch, uwch, deuai anadl y dyoddefwyr yn fwyfwy poenus ac anhawdd. Felly gyda mygiad y mŵg, ac anadliad gwasgedig, yr oeddynt yn meirw mewn modd dychrynllyd ac enbydus. Rywbryd ar ol angeu, gwnai y penau yn naturiol ymwahanu oddiwrth y cyrff, ac ymdreiglo i bantiau a adewsid trwy grybachiad y calch. Unrhyw eglurhâd arall o'r mater a geid yn annhebygol ac annaturiol."

Os na ddiddymwyd y chwil-lys ar ol y 18fed o Fawrth, 1852, y mae yn parhâu hyd heddyw; canys yr amser hwnw cawn i lythyrau gael eu hanfon gan Ysgrifenydd Llywodraeth Rhufain i appwyntio pedwar Cardinal i fod "yn aelodau o gynnulleidfa sanctaidd Rhufain sanctaidd, a'r chwil-lys cyffredinol." Mor belled ag y mae gallu gwladol a goleuni yr efengyl yn caniatâu, dangosir yr un ysbryd yn Mhrydain Fawr a'r Iwerddon, a gwahanol barthau pell o'n hymherodraeth. Na fydded i neb dderbyn llwch i'w llygaid, a chredu fod Rhufain wedi newid ei chrefydd

na'i hamcan. Cofiwn fod Awstria newydd ymwerthu fel gwlad i awdurdod y Pab.

Yn ol tystiolaeth y trafnoddwr Prydeinig yn 1853, yr oedd 30,000 o ddynion yn dihoeni yn ngharcharau Rhufain, ac nid yw poblogaeth yr holl ddinas oud 120,000. Yr oedd y nifer mwyaf o'r carcharorion uchod yn bobl a gyhuddesid am droseddau yn erbyn y grefydd Babaidd.

## PENNOD XVIII.

### SYLWADAU TERFYNOL.

Wrth derfynu, yr ydym am ddadgan na ddygwyd dim i mewn i'r gwaith hwn ond ar awdurdod priodol. Casglu, trefnu, ac ymhelaethu ffeithiau y buom. Os yw Pabyddion yn dywedyd eu bod yn cael cam genym, deuant allan i ddangos fod ysbryd rhyddfrydig a mwyn yn cael ei amlygu gan Babyddion mewn awdurdod tuag at Brotestaniaid a'r Bibl, yn ngwledydd Pabaidd Ewrop. Gwel pob dyn diduedd fod Eglwys Rhufain o egwyddor yn erlidgar; ac nis gall un o'i haelodau fod yn Babydd da heb wneyd pobpeth yn ei allu i gael allan, erlid, a dyfetha hereticiaid. Y mae ei huchelswyddogion yn ein gwlad ni yn tyngu llŵ o ffyddlondeb i Pius IX., ac eto yn byw dan lywodraeth Victoria. Gwyddom am rai Pabyddion sydd lawer *yn well* na'u hegwyddorion, ond nid i'w crefydd y maent hwy na ninnau i briodoli hyny.

Fel y mae gwybodaeth yn amlhâu, a'r efengyl yn myned rhagddi, cyll y chwil-lys y dydd. Torir llyffetheiriau gwladol a chrefyddol y bobl, a mwynhânt y rhyddid hwnw a berthyn i ddyn fel gwladwr ac fel cristion. Y mae cyfrifoldeb y rhai a gymerant ymaith ryddid cydwybod oddiwrth eu cyd-ddynion, ac a'u darostyngant i ddyoddefaint yn herwydd eu crefydd, yn ofnadwy; a phan yr ymofyno Duw am waed, efe a'u cofia hwynt; nid anghofia waedd y cystuddiol.

Y mae yn ddirgelwch yn llywodraeth Duw ei fod ef wedi goddef i allu mor ddinystriol â'r chwil-lys fyned ymlaen am oesoedd lawer i ladd y saint, a hyny dan rith crefydd a sancteiddrwydd. Ond tystiolaethir yn bendant y gwna Duw ddial ei etholedigion. Y mae llef gwaed eu brodyr yn gwaeddi ar y chwil-lys o'r ddaear! Y mae Babilon Baganaidd wedi cwympo er ys dwy neu dair mil o flynyddoedd, a'i gweddillion wedi bod yn nhir anghof hyd yn ddiweddar. Dyfethwyd ei breninoedd cedyrn, diddymwyd ei deddfau gorthrymus, difodwyd y genedl nerthol, ac y mae y ddaear wedi hir orphwys oddiwrth eu twrf a'u traha *hwy*. Y mae dydd cwymp Rhufain —Babilon ysbrydol—yn nesâu. Fel bwrw maen melin i'r môr y syrth, a bydd llawenydd mewn nef a llawr am hyny. A bydd hyny yn gyfiawn, am mai "ynddi y caed gwaed prophwydi a saint, a phawb ag a laddwyd ar y ddaear."

# CASTELL A MYNACHLOG GLYN NEDD.

YR oedd Edward III., brenin y Sacsoniaid, yn fwy o Normaniad nag o Sais yn ei holl deimladau; oblegid ei fam ef ydoedd ferch i Richard I., Duc Normandy, un o daleithiau neu dduciaeth filwraidd yn Ffrainc. Gwnaeth hyny iddo ymserchu yn y genedl hono, a thynu o'i amgylch, fel gwŷr ei lŷs, bersonau o'r wlad hono. Gan ei fod wedi ei fagu megys yn eu plith, yr oedd, yn ei iaith a'i ddull o fyw, yn debycach i deulu ei fam na theulu ei dad; a phan ddaeth i'r orsedd, yr oedd yn dra naturiol iddo gasglu ato i'w lŷs, i weini arno, ac i'w rhoddi mewn swyddau o ymddiried dano, bobl o'r genedl hono. Yr ydys yn gweled esiamplau felly o'n hamgylch. Pan briodo boneddwr o Gymro foneddiges Seisonig neu Wyddelig, y mae yn debyg mai â chenedl ei wraig y bydd yn sicr o ymgyfeillachu fwyaf; a'i blant yntau yn llawer mwy o Saeson neu Wyddelod yn eu pleidiaeth gwladol, os nad crefyddol hefyd, gan ymddyeithrio i genedl ei dad, ac ymlynu wrth genedl ei fam. Daeth llawer o'r Normaniaid drosodd yma, mor gynted ag y gwnaed ef yn frenin, fel y llanwyd pob lleoedd o bwys yn y wladwriaeth a'r eglwys â Normaniaid. Gelwir ef y *Cyffeswr,* cyfenw a roddodd y Pab Alexander III. iddo, ymhen dau gant o flynyddoedd wedi ei farwolaeth, pan, oblegid y gwasanaeth a ystyrid iddo wneyd i grefydd, yn ei zêl dros y Pab a'r offeiriaid, y cafodd ei ganoneiddio yn St. Edward y Cyffeswr, gan neillduo diwrnod o ŵyl iddo, yr hwn sydd eto yn cael ei gadw ar ein Hamseronau Cymreig Protestanaidd!

Wedi i'r Normaniaid gael lle i roddi eu traed i lawr, nis gorphwysasant heb ddringo i'r orsedd, yr hyn a gymerodd le trwy ystrywiau ac yn mherson William I., yr hwn a elwir y Gorchfygwr. Mab ordderch ydoedd ef i Robert, Duc Normandy, yr hwn a elwid yn ei wlad, a chan ei genedl ei hun, *Le Diable*—Robert Ddiafol. Ei fam oedd ferch i Grwynwr, enw yr hon ydoedd Arlette neu Harlotta; oddiwrth yr hon y daeth fod menyw anniwair o hyn allan yn cael ei galw gan y Saeson *Harlot.* Dyna oedd dechreuad, a dyna y gwaed, am yr hwn yr ymffrostia, ac y ceidw breninoedd, duciaid, a phendefigion penaf y deyrnas goffadwriaeth eu bod yn hanu o hono—gwaed Robert Ddieflyn, a'r Butain, wrth enw a chymeriad. Pan ddaeth William y Gorchfygwr, mab Robert ac Arlette, i'r orsedd, daeth â lliaws o wŷr ei wlad gydag ef, i'r rhai y rhoddai bob swyddau o ymddiried, er mai milwyr cyffredin yn ei fyddin oeddynt, ac o waedoliaeth a sefyllfa isel yn eu gwlad eu hunain. Gwrthododd y Cymry dalu teyrnged i'r bastardd hwn; yr hyn a'i cynhyrfodd yntau i ymosod ar y wlad hon â byddin anferth, i'w gorfodi i ymostwng, a gorfodi eu tywysogion i dalu gwarogaeth, a gwneyd llŵ o ufudd-dod. O'r pryd hwnw, hawliodd brenin Lloegr lywodraeth Cymru hefyd, er fod rhyw fath o gysylltiad er amser Ethelbert.

Ar ei ol ef, daeth ei ail fab, yr hwn a elwid gan y Normaniaid La Rouge, gan y Saeson *Red,* a chan y Cymry Gwilym Goch, oblegid lliw goleu ei wallt a phryd gwridog ei wyneb. Yr oedd y Cymry, er eu gorch-

fygu gan y Gorchfygwr, ei dad, a chymeryd llŵ o ffyddlondeb, ymhell iawn o fod yn ddeiliaid ufudd, ac yn barod i gymeryd plaid unrhyw wrthryfelwyr, er mwyn rhoddi trafferth i freninoedd estronol. Yr oedd Arglwyddi y terfynau, fel eu gelwid, yn gwneyd galanastra ar y terfynau, a meddyliodd tywysogion y Cymry fod hono yn fantais ragorol i ysgwyd iau y Saeson ymaith; ac y byddai yn debygol y cynnorthwyai Arglwyddi y terfynau hwythau, fel ad-daliad cymwynasol, i osod i fyny eu hannibyniaeth.

Yr oedd y Cymry wedi gwrthwynebu, gyda dewrder, ymosodiad a thraisfeddiant y Normaniaid am oddeutu cant a hanner o flynyddoedd. Ymladdasant â'u holl egni yn erbyn tiriad William yn Hastings, a bu y lle hwnw yn fedd i lïaws. Wedi eu gorchfygu, cawsant deimlo gwïalen haiarn mab Robert Ddiafol hyd y gallai, er iddo, oblegid prysurdeb gorchwylion eraill, ystyried y Cymry yn genedl annibynol am ychydig amser. Yr oedd gorawydd y Normaniaid am gyfoeth ac awdurdod yn anniwalladwy. Yr oedd rhai a fuont yn llwyddiannus iawn mewn brwydrau yn erbyn y Saeson wedi cael i'w meddiant ystadau helaethach na holl wlad Normandy. Taflasant olwg chwennychgar ar Gymru, ac erfyniasant am gael rhodd gan y penadur o gymaint o dir Cymru ag a allent ei orchfygu—hyny yw, ei feddiannu trwy drais.

Yr oedd, ysywaeth, anghydfod annedwydd yn ffynu rhwng penaethiaid a thywysogion y Cymry â'u gilydd, yn ol eu hen arfer; a hyn a wnaeth i rai o honynt ymuno â'r Saeson yn erbyn trais y Normaniaid; yr hyn, pan welai y Saeson eu mantais, a ddefnyddid ganddynt er bradychu y Cymry i ddwylaw eu gelynion. Bu tro bradychol o'r natur hyny mewn gwledd briodas rhwng Iarll Norfolk, yr hwn y dywedid ei fod yn Gymro o du ei fam, â chwaer Iarll Henffordd. Pan y gorchfygid plaid un Penaeth neu Dywysog Cymreig, efe a geisiai yn ebrwydd gynnorthwy ei gymydogion y Saeson neu y Normaniaid i ddial y cam, y rhai yn gyffredin a dröent yn fradwyr, ac felly y byddai y ddwy blaid Gymreig yn gaethweision i'r rhai y ceisiasant eu cynnorthwy. Dyma y modd y gweithredodd Caradog ab Griffith, pan wedi colli y frwydr y llwyddodd, oddeutu y flwyddyn 1069, i godi llu o Normaniaid, a'u huno â chynifer ag a allasai godi o'i bobl ei hun yn Ngwent, i fyned yn erbyn Meredydd ab Owain, brenin y Deheubarth. Ar làn yr afon Elerch y bu y frwydr hon, yn yr hon y bu Caradog yn fuddugoliaethwr yn erbyn ei gydwladwr Meredydd, ac i sefydlu ei hunan ar yr orsedd.

Yn y flwyddyn nesaf, wedi i Caradog feddiannu gorsedd Meredydd, a sefydlu ei hun yn frenin holl Ddeuheubarth trwy gynnorthwy Normaniaid, daeth llu o'r genedl hono i Ddyfed a Cheredigion, gan wneyd difrod mawr; ond hwy a orchfygwyd yn llwyr y tro hwnw, a bu yn dda ganddynt gymeryd i'w llongau, a chyfodi eu hwyliau ymaith. Buont yn llonydd ar ol hyn hyd y flwyddyn 1071, pan y cynnygiasant drachefn, ond hwy a yrwyd ymaith yn orchfygedig y tro hwn hefyd, trwy wroldeb enwog Rhydderch ab Caradog.

Yr oedd y Gorchfygwr wedi gosod Normaniaid, ei genedl ei hun, yn geidwaid y castelli ar y terfynau, gyda thiroedd helaeth oddiamgylch er eu cynnaliaeth; a phan oedd y castelli hyny yn cael eu cadw felly gan y Normaniaid, yr oeddynt yn cadw golwg ar bob symudiad ffafriol iddynt eu hunain a gymerai le yn Nghymru; a dygwyddodd amgylchiad hollol i'r

pwrpas yn yr amser hwn i roddi holl wlad Morganwg yn meddiant y Normaniaid. Oddeutu y fl. 1088—9, bu farw Cadwor ab Collwyn, Arglwydd Dyfed, a darfu i'w feibion Llewelyn ac Einion, a'u hewythr Einion ab Collwyn, gydgynghori yn erbyn Rhys ab Tewdwr, Tywysog y Deheubarth, a chawsant gan Griffith ab Meredydd uno â hwy. Wedi cyduno eu lluoedd fel hyn yn erbyn Rhys, daeth Rhys ynte yn arfog â byddin gref yn eu herbyn hwythau. Yn Llandudoch, ger Aberteifi, y cyfarfuasant; ac wedi brwydr boeth gorchfygwyd y cynghreirwyr gan Rhys a'i lu, a lladdwyd dau fab Collwyn. Cymerwyd Griffith pan yn y weithred o ddianc, a thorwyd ei ben fel bradwr. Diangodd Einion ab Collwyn gydag anhawsdra mawr, a daeth am nodded at Iestyn ab Gwrgant, Arglwydd Gwent a Morganwg. Yr oedd rhyfel yn dygwydd bod y pryd hyn hefyd rhwng y gŵr hwn â Rhys, yr hyn a wnaeth iddo yn barotach dderbyn Einion. Gwnaethant gynghrair yn ebrwydd ar yr ammodau hyn :—Os medrai Einion gael cynnorthwy iddo ef o Loegr, i ymosod ar ei elyn mawr, Rhys, y rhoddai Iestyn ei ferch yn wraig iddo, ac arglwyddiaeth Miscyn yn waddol gyda hi. Nid oedd yn anhawdd gan Einion gael y cynnorthwy hwnw, canys yr oedd wedi gwasanaethu yn myddin Gwilym Goch—mab y Gorchfygwr—yn Ffrainc a lleoedd eraill, ac oblegid hyny mewn cryn ffafr gydag ef a'i farchogion. Mewn awydd gwresog am ddial ar Rhys ab Tewdwr, a chael Cymraes gyfoethog yn wraig, efe a aeth i Lundain i osod y mater ger bron, a chafodd Robert Fitzhamon, yr hwn oedd yn gâr i'r brenin, i ymgymeryd â'r ymgyrch. Cododd hwnw gymaint ag a allai o'i wŷr ei hun, a chafodd gan ddeuddeg o farchogion eraill godi eu gwŷr, a rhoddi eu hunain a'u gwŷr dan ei lywodraethiad ef. Daeth y llu anferth hwn i Forganwg yn gynnar yn y flwyddyn 1091, ac fel y gellid meddwl cawsant eu derbyn yn groesawgar gan Iestyn. Ymgynghreiriodd byddinoedd Fitzhamon ac Iestyn â'u gilydd o blaid Einion ab Collwyn, ac ymosodasant ar diriogaethau Rhys, gan anrheithio y wlad â thân ac â chleddyf y ffordd y cerddent. Mor gynted ag y clywodd yr arwr Rhys am eu nesâd, efe a gasglodd ei fyddinoedd ynghyd gyda gwroldeb a medrusrwydd, er ei fod uwchlaw deuddeg a phedwar ugain mlwydd oed, ac ymaith âg ef yn eu herbyn. Cyfarfuasant ar y Waen Hir, yn mhlwyf Aberdâr. Yno y bu brwydr ddychrynllyd, nes i Rhys gael ei lwyr orchfygu gan fyddinoedd cynghreiriol y Normaniaid ac Iestyn ab Gwrgant, a gelwir y rhosdir hwnw yn Hirwaen-Wrgant hyd y dydd hwn. Daliwyd Rhys, meddir, yn Nglyn Rhondda, lle y torwyd ei ben gan Iestyn.

Wedi y frwydr hon, casglodd Fitzhamon ei luoedd, ac wedi eu gwobrwyo yn helaeth gan Iestyn, dychwelasant yn ebrwydd i Lundain. Wedi cael pethau yn heddychol, aeth Einion at Iestyn i geisio ei ferch yn wraig iddo, ac Arglwyddiaeth Miscyn yn waddol gyda hi, yn ol ei addewid; ond Iestyn ddiegwyddor, wedi ymfalchïo ar ei fuddugoliaeth, a wrthododd, ac a warthruddodd Einion, gan ei alw yn fradychwr ei wlad a'i arglwydd. Einion yntau, wedi ei gynhyrfu i'r eithaf gan y fath ymddygiad diegwyddor, a benderfynodd aberthu ei wlad er mwyn dial. Efe a frysiodd ar ol ei hen gyfeillion, a goddiweddodd hwynt; ond yr oeddynt newydd godi hwyliau, ac efe a ysgydwodd ei fantell fel arwydd iddynt ddychwelyd yn ol. Felly y gwnaethant, ac efe a draethodd iddynt ei gam—bod llawer o'r penaethiaid yn casâu Iestyn—a bod yn hawdd iawn gorchfygu a meddiannu ei holl diriogaeth. Gwrandawsant arno, ac wedi cydymgynghreirio â'r penaethiaid

ydoedd yn anfoddlawn i ormes Iestyn, hwy a ymfyddinasant yn ei erbyn. Prin y cafodd Iestyn amser i gasglu ynghyd ychydig wŷr cyn eu bod ar ei warthaf, yn ymyl Caerdydd, lle y gorchfygwyd ef yn ebrwydd. Gan weled fod y cwbl yn ei erbyn, efe a ddiangodd i Glastonbury; ac wedi hyny efe a ddychwelodd i Fynachlog Llangennys, yn Ngwent, lle y bu farw yn fuan. Felly costiodd nacâu rhoddi ei ferch i Einion yn ddrud iawn iddo.

Wedi cael y wlad fel hyn iddo ei hun, ni ofalodd Fitzhamon ddim am hawliau Einion ab Collwyn; ond cymerodd feddiant o honi ei hunan, yn ol hawl buddugoliaeth, ac a'i rhanodd yn dair dosbarth ar ddeg—y goreu, sef Caerdydd, Trefnfered, a Chynffig—iddo ei hunan, a'r deuddeg eraill i'w ddeuddeg marchog a'i cynnorthwyasant mor ddewr yn y ddwy fuddugoliaeth a gawsai.

Un o'r marchogion hyn, medd rhai, oedd frawd iddo, o'r enw Richard Granville, neu Greenfield, fel y galwai y Saeson ef. Iddo ef y rhoddodd Arglwyddiaeth Glyn Nedd, tref a chastell Nedd. Yr oedd Maenor a Chastell Bidiford, yn Sir Devon, ganddo o'r blaen. Nid arosodd Richard nemawr yn ei diriogaeth newydd; ond efe a sylfaenodd ac a adeiladodd Fynachlog i fynachod gwynion ar y gwastadedd wrth yr afon, ychydig islaw Castell Nedd. Efe a roddodd yr holl arglwyddiaeth i'w chynnal, ac a ddychwelodd i'w hen faenoriaeth i Bidiford. Yr amser yr adeiladwyd y fynachlog ydoedd y fl. 1111—saith gant a saith a deugain o flynyddoedd yn ol.

Yr oedd y sefydliad mynachaidd yn lled henafol erbyn hyn, ac mewn bri mawr gan grefyddolion, er y rhaid cyfaddef fod cryn lawer o ddirgelwch yn gysylltiedig â'i ddechreuad. Myn rhai fod ei ddechreuad oddiwrth dybiau Origen, oddeutu dechreuad y drydedd ganrif—sef mai trwy ddystawrwydd, tawelwch, gorphwysdra, a marwhâd y corff, y mae i ddyn gynnyrchu yr egwyddorion o bob gwybodaeth ddynol a dwyfol. Darfu i lawer o Gristionogion yn yr Aipht, a'r gwledydd eraill cylchynol, gofleidio y tybiau hyn yn fore, ac ymadael â'u trigleoedd a'u galwedigaethau bydol, fel y gallent ddyrchafu eu heneidiau uwchlaw pethau dynol, a'u huno â'r Duwdod. I'r dyben hwnw yn ol eu meddwl hwy, aethant i fyny i ogofâu ac anial-leoedd, lle y cosbent eu cyrff trwy newyn a syched, ac yr ymostyngent i'r ddysgyblaeth lemaf. Oddeutu y fl. 286, daeth un Antoni, ac á ffurfiodd y Cristionogion gweiniaid yn gorff rheolaidd, gan eu trefnu i fyw yn gymdeithasol, a rhoddi iddynt reolau, fel y gallent ffurfio eu hymddygiadau wrthynt. Yn ol y drefn hon, yr oedd i bob cymdeithas flaenor, penaeth, neu lywydd, yr hwn a alwent tad (*father*), y tad sanctaidd (*holy father)*, neu abad, o'r gair *ab* o'r Hebraeg, tad. Yr oeddynt yn cael eu dosbarthu i dri dosbarth:—1. Y *Sobtaries*, y rhai a dreulient eu hoes mewn lleoedd pellenig oddiwrth drefi ac anneddau dynion: galwyd y rhai hyn yn feudwyaid. 2. Y *Cænobites*, y rhai a fyddent yn byw mewn cymundeb âg eraill yn yr un tŷ, a than yr unrhyw uwchafiaid: y rhai hyn a ddaethant i gael eu galw yn fynachod. 3. Y *Sarabaites*, y rhai oeddent fynachod crwydrol, heb unrhyw reol sefydledig ynghylch eu preswylfod. Gwahaniaethid hwy wrth yr enwau gwynion, duon, a llwydion neu wyrddion, oddiwrth liw eu gwisgoedd.

O ychydig i beth, dechreuodd dynion o fri a meddiannau deimlo yn haelionus tuag at y dynion—y Cristionogion hunanymwadol hyn, trwy adeiladu iddynt dai digon eu maint i gynnwys cymdeithas o honynt, gyda phob cyfleusdra er eu hwyluso yn eu tueddiadau crefyddol, a'u gwaddoli yn helaeth; yr hyn a ystyrid ac a gefnogid gan y Pabau yn rhinweddol a

haeddiannol. Galwyd y cyfryw adeiladau yn fynachlogydd; a dewisai y tylwyth—y teulu, neu y brodyr, wedi ymgasglu felly yno—un o honynt hwy eu hunain yn llywodraethwr arnynt, yr hwn a elwir er ys oesoedd bellach yn *dad*, neu *abad*; ac oddiwrth hwnw y gelwir y cyfryw adeiladau yn y dyddiau hyn yn *abbeys*. Yr oedd rhai o honynt yn cael eu galw yn *briordai*. Yn y cyfryw amgylchiad, *prior* y gelwid y llywodraethwr; ac nid oedd nemawr o wahaniaeth gwirioneddol rhyngddynt.

Nid oedd y mynachod yn offeiriaid—hyny yw, nid oeddynt mewn urddau fel mynachod, er y byddai offeiriaid yn ymneillduo atynt. Yr oedd yr abadau yn meddu awdurdod helaeth, gan fod rhan fawr iawn o etifeddiaethau y wlad wedi syrthio i'w dwylaw; ac yr oedd y bobl gyffredin—eu deiliaid, a ddalient ac a drinent y tiroedd hyn danynt, agos fel caethion ganddynt, ac at eu galwad i'r peth a fynent.

Yr oedd y tiroedd a roddodd Richard de Granville, y rhai a gawsai yntau gan Robert Fitzhamon, a'r rhai hefyd a gymerasai yntau oddiar eu perchenogion yn Morganwg, yn helaeth iawn. Ymddengys fod Maenoriaeth neu Arglwyddiaeth Nedd yn cyrhaedd o afon i afon—o afon Afan i afon Nedd yn y gwaelod, ond yn cymeryd i mewn holl Gwm neu Lyn Nedd o bob tu i'r afon, a'i bod yn nesaf mewn maint gwreiddiol i Arglwyddiaeth Morganwg, yr hon a gymerwyd gan Fitzhamon i'w feddiant ei hunan. Cyfrifid hono yn werth mil o *farciau*, neu oddeutu £271 6s. 8c. o'n harian ni yn y dyddiau presennol. Ychydig yn llai, mewn gwirionedd, ydoedd raid i werth Maenoriaeth Nedd fod—dyweder £150 mewn cyfanswm. Nid oes genym brawfiadau er dangos beth yw rhentdaliadau y tiroedd hyny yn awr; ond gellir barnu yn ol prisiau pethau yn yr hen amseroedd. Rhaid ystyried gwerth arian ymhob oes yn gyfartal i werth cymharol y pethau mwyaf anghenrheidiol yn y byd yn yr oes hono. Càn ddiweddared a'r blynyddoedd 712 a 727, gwerth un swllt o arian y Sacsoniad y cyfrifid dafad ac oen. Rhwng y blynyddoedd 900 a 1000 gwerthid dau can' erw o dir am gan' swllt, a phrisid ceffyl yn ddeg swllt ar hugain, caseg ac ebol blwydd yn ugain swllt, asyn ieuanc yn ddeuddeg swllt, eidion yn ddeg swllt ar hugain, buwch yn bedwar swllt ar hugain, mochyn yn wyth geiniog, a dafad yn swllt. Yn y flwyddyn 1043 gwerthid crynog, neu wyth *Winchester bushels*, o wenith am driugain ceiniog. Bernir fod llai o arian ddengwaith nag yn awr; ac felly yn ol cyfrif teg, yr oedd nwyddau ddeg ar hugain o weithiau yn rhatach nag ydynt yn awr. Yr oeddynt ddeg o weithiau yn rhatach yn nyddiau y Gorchfygwr nag ydynt yn awr. Yn wir, prynid cymaint am £4 13s. 9c. yn y flwyddyn 1240 ag a wneir yn awr am £100. Yn ol y cyfartalwch hwn gellir cyfrif y buasai yr un tiroedd ag a roddwyd i Fynachlog Glyn Nedd yn werth £1,500 y fan isaf, fel ardrethoedd yr arwyneb yn unig, heb gymeryd i ystyriaeth werth y mŵnai, o'r hyn na wneid cyfrif y pryd hyny. Rhaid cofio hefyd mai math o brif ardreth *(chief rent)* ydoedd y cyfrif yn ol yr hwn y prisid y tiroedd hyn—sef yr hyn a dalai y rhydd-ddeiliaid i'r Abad fel Arglwydd y Faenoriaeth, ac nid yr hyn a dalai y deiliaid amaethyddol i'r rhydd-ddeiliaid.

Yr oedd Mynachlog Glyn Nedd yn anferth ei maint. Gellir olrhain ei sylfeini hyd ymhell. Yr oedd mewn sefyllfa enwog oddeutu y flwyddyn 1520. Y mae Lewys Morganwg, bardd enwog o'r oes hono, yn ei Awdl enwog i Dr. Thomas Leision, yr hwn oedd Abad y pryd hwnw, yn darlunio gwychder yr adeilad yn fedrus:—

"Y nen fawr uchel yn y nef wreichion,
Goruwch yn ngolwg archangylion;
Y llawr i bobloedd holl wŷr Bab'lon,
Obry a weithiwyd â maen brithion;
Y cylch a'r menych, a'r mwynion—foliant
Mynych ogoniant Meneich Gwynion.

Tua'r flwyddyn 1321, priodwyd nith i Edward II. â Hugh de Spencer, mab i Hugh de Spencer, yr hyn a achlysurodd i Arglwyddi y terfynau godi gwrthryfel. Er fod y Brenin yn ffafriol iawn i deulu y De Spencers, yr oedd y Frenines, yr hon oedd chwaer i Siarl IV. o Ffrainc, yn eu casâu. Casglodd hon ynghyd bendefigion a dröwyd ymaith o Loegr, neu oeddynt yn eiddigeddus o godiad y De Spencers. Cyfododd derfysg yn erbyn ei gŵr a'i deulu, ac yr oedd hithau yn hoffach o lawer o Roger de Mortimer yn gydymaith ei gwely na'r Brenin. Yr oedd hwnw ar y pryd allan o'r deyrnas o achos ymderfysgu yn achos y De Spencers. Cynlluniwyd brâd rhwng y Frenines â hŵn i ymdrechu cael y Tywysog Edward i'w gafael oddiar ei dad a'i deulu, yr hwn oedd yn fachgen tair ar ddeg oed, a'r hwn a anfonwyd i Ffrainc at ei fam. Wedi ei gael ati felly, hi a benderfynodd briodi y bachgen â Phillipa, merch un o Iarllod y wlad hono, a'r hwn a addawodd ei chynnorthwyo âg arian a milwyr. Wedi cael y cynnorthwy hwn, hi a hwyliodd o Dort, gyda byddin o dair mil o wŷr, o dan reolaeth brawd i dad yn nghyfraith ei mab, a thiriasant yn Orwell, yn Suffolk, yr 22ain o Fedi, 1326. Unodd yr holl bendefigion â hi; a dyna lle yr oedd Edward, druan, wedi ei adael gan ei holl wladwyr ond teulu y De Spencers, ac ychydig gyda hwy. Rhyfel oedd hwn, chwi a welwch, rhwng Edward a'i wraig. Efe a'i blaid a adawsant Lundain, a chymerasant nodded yn gyntaf yn Nghaerodor. Oddiyno ymaith â hwy trosodd i'r Iwerddon, neu fel y dywed rhai, gyda bwriad o ymwneyd am ynys fechan Lundy, yn ngheg y Sianel; ond cyfododd yn groeswynt tymhestlog, fel y bu yn dda iddo allu tirio yn Nghymru; ac ymaith âg ef i fynachlog Glyn Nedd, lle y bu yn gauedig am tua thair wythnos. Yr oedd y Frenines a'i phlaid yn dyfal chwilio am dano yr holl amser; a phan welodd nad oedd diogel iddo aros yno yn hŵy, ymaith âg ef i Gastell Caerphili. Deallwyd yn fuan ei fod yno, ac erlyniwyd yn ddioed ar ei ol. Ymosodasant ar y castell a chymerwyd ef. Ceisiodd y Brenin ddianc, ond daliwyd ef a De Spencer gerllaw Llantrisaint, a chymerwyd ef yn garcharor i Gastell Mynwy, ac wedi hyny i Gastell Kenilworth. Crogwyd Hugh de Spencer yn Henffordd, a thorwyd ef yn bedwar aelod a phen. Y mae rhai o hiliogaeth y De Spencers eto yn mro Morganwg, yn ardaloedd St. Tathan a Llanelltyd Fawr. Dylasem ddyweyd hefyd yn y dechre ddarfod i'r Brenin roddi llawer o diroedd yn Morganwg i'r De Spencers, yr hyn a ffromasai Arglwyddi Morganwg nes alltudio y De Spencers. Pan ddychwelwyd hwy o'u caethiwed, hwy a gawsant eu tiroedd yn ol, a llawer mwy gyda hyny.

Yn y mynachlogydd, ac ymhlith y mynachod, yr oedd holl grefydd a gwybodaeth lênyddol y gwledydd yn y cyfnod a elwir y canol-oesau. Yr oeddynt hwy yn gyffredin yn ddysgedigion, ac atynt hwy yr elai pawb a fyddai awyddus am fwy o wybodaeth grefyddol a llênyddol na'r cyffredin i sugno gwybodaeth. Yn y mynachlogydd yr oedd y llyfrfäoedd goreu a helaethaf. Yr oedd yr Ysgrythyrau yn y *Vulgate* yn rhwym o fod ymhob crefydd-dŷ. Yn y mynachlogydd y cafodd beirdd Prydain afael yn

yr Ysgrythyrau, i allu troi rhanau o honynt ar gân. O'r Bibl oedd yn y priordŷ yn Aberhonddu, y mae yn debyg, y cafodd Syr John Price y "Pader a'r Deng Air Deddf," a argraffwyd gyda'i "Gwyddor Kymraeg," yn y flwyddyn 1546, ymhen saith mlynedd ar ol dinystrio y crefydd-dŷ hwnw. Fod yr Ysgrythyrau, a llawer o lyfrau da eraill, yn y mynachlogydd, sydd sicr, y rhai yr ymddifyrai y mynachod i'w cyfieithu, ac ysgrifenu eilunian (*copies*) y naill oddiwrth y llall; canys dyna yr unig fodd y gallesid eu lliosogi yn yr oes hono, cyn i'r gelfyddyd o argraffu gael ei dyfeisio. Yr oedd llyfrydd yn perthyn i bob mynachlog, gwaith yr hwn a fyddai ysgrifenu cynnwysiad, ac weithiau holl gorff y llyfrau y ceid eu benthyg; ac ni roddid benthyg heb wystl uchel iawn y dychwelid hwy yn ol. Yr ystyriaeth gyntaf fyddai edrych fod y llyfrfa wedi ei hystorio yn dda â llyfrau anghenrheidiol er cyflawni holl swyddau anghenrheidiol yr eglwys, ac hefyd er adeiladaeth y brodyr i ymgynghori â hwy yn eu hefrydiadau cyffredin. Yr oedd y rhai hyn yn llyfrau gwir anghenrheidiol yn gyffredin:—y Bibl a'r deonglwyr mawrion; *Bibliothecæ et majores expositores;* llyfrau y merthyron; bywydau y seintiau; homiliau, &c. Yr oedd llawer o'r mynachod yn fwy haelfrydig yn eu tybiau crefyddol na'r eglwys o ba un yr oeddynt yn perthynu iddi. Dywedir am Tatwine ei fod "yn enwog mewn doethineb crefyddol, ac yn nodedig o ddysgedig yn yr ysgrif sanctaidd." Cyfieithodd Ælfric ranau o'r Bibl i'r iaith gyffredin, gan ddangos felly ei gydymdeimlad â'r werin. Yr oedd y mynach Benedict, ysgrifenydd Thomas a Becket, yn meddu yn ei lyfrfa,—"*Vetus et Novum Testamentum,*" yn un gyfrol; un arall yn bedair cyfrol; "*Sexdecim Prophetæ Glosati,*" yn un gyfrol; "*Duodecim Minores Glosati Prophetæ,*" yn un gyfrol; "*Job, Parabolæ Solomonis et Ecclesiastes, Cantica Canticorum Glosati,*" yn un gyfrol; "*Psalterium Glosatum;*" "*Quator Evangelia Glosata,*" yn un gyfrol; "*Matthæus et Marcus,*" yn un gyfrol; "*Johannes et Lucas,*" yn un gyfrol; "*Epistolæ Pauli Glosatæ,*" a'r "*Apocalypsis et Epistolæ Canonicæ Glosata,*" yn un gyfrol. Yr oedd ei holl lyfrfa yn cynnwys triugain o gyfrolau—oll yn llawysgrifeniadau (*manuscripts*). Yr oedd hefyd gan Walter, Abad St. Edmundbury, yn 1233, gopi hardd o'r Bibl i'w efrydfa gyfrinachol. Rhoddodd Godfry ddau Fibl i eglwys Peterborough yn 1299, un o honynt wedi ei ysgrifenu yn Ffrancaeg. Ysgrifenodd Alcwin, yn amser Siarl Fawr o Ffrainc, yr holl Fibl i'r penadur hwnw allan o Lladin St. Jerome, yr hwn a roddwyd gan Siarl i fynachlog Prym yn Lorraine. Dymchwelwyd y fynachlog hono yn 1576, ond medrodd y mynachod gadw yr ysgrif, a'i dwyn i fynachlog Grandis Vallis, yn Switzerland, lle y bu hyd 1793, pan y dymchwelwyd hono drachefn gan y Ffrancod, a daeth y llyfr, trwy bryniad, i feddiant M. Bennot. Prynwyd ef wedi hyny gan un arall; a chynygiodd hwnw ef i Lywodraeth Ffrainc am y pris mawr o chwe' mil o francs. Daeth âg ef trosodd i Loegr, a gofynai am dano ddeuddeng mil o bunnau, ond ni roddai neb; am hyny deuwyd i lawr yn îs, îs, nes o'r diwedd ei werthu i'r Amgueddfa Frytanaidd am saith gant a hanner o bunnoedd. Yr oedd mynachod Glastonbury, yn Ngwlad yr Haf, yn efrydwyr yr Ysgrythyrau. Yr oedd y llyfrau canlynol yn eu llyfrfan:—"*Bibliotheca una in duobus voluminibus;*" "*Alia Bibliotheca integra vetusta, set legibilis;*" "*Bibliotheca integræ minoris litteræ;*" *Bibliotheca magna versificata;*" "*Augustine upon Genesis;*" "*Postil's upon Jeremiah and the Lesser*

*Prophets;" "Concordance to the Bible;" "Postil's of Abbertus upon Matthew, and the Lamentations of Jeremiah and others,"* yn un gyfrol; *"Postil's upon Mark;" Postil's upon John, with a Discourse on the Epistles throughout the year;" "Morabilius on the Gospels and Epistles;" Epistles of Paul glossed;"* "THE BIBLE;" *"Cassidorus upon the Psalms;" "Jerome upon Jeremiah and Isaiah;" "Origen upon the Old Testament;" "Origen upon the Epistle of St. Paul to the Romans;" "Jerome upon the Epistles to the Galatians, to Ephesians, to Titus, and to Philemon;" "Jerome upon the Twelve Prophets, and upon the Lamentations of Jeremiah;" "Augustine upon the Lord's Prayer, and upon the Psalm* Misero mei Deus [yr unfed ar ddeg a deugain];" *"Augustine on the Words of our Lord."*

Diammheu fod y fath lyfrfa werthfawr mewn mynachlog mor agos i Gymru, ac mewn gwlad lle y siaredid y Gymraeg y pryd hyny yn dra chyffredin, fel y mae enwau tai a dynion yn profi, yn effeithio yn fawr ar lênyddiaeth mynachlogydd a mynachod Cymru, ac yn enwedig, dybygem, ar fynachlog mor agos i Wlad yr Haf â Glyn Nedd. Y mae y gweddillion barddonol sydd ar gael o weithiau beirdd y wlad a'r gymydogaeth yn profi yn eithaf eglur fod yr Ysgrythyrau yn mynachlog Glyn Nedd, a'u bod yn cael eu defnyddio gan eraill ar hyd y wlad, allan o'r fynachlog. Yr oedd y beirdd a'r mynachod yn ymgyfeillachu llawer â'u gilydd, a rhai o'r mynachod eu hunain yn feirdd lled enwog. Yr oedd Lewis ab Dafydd —mab Dafydd Ddu, offeiriad, o Glyn Nedd—yn Abad y fynachlog oddeutu 1560, neu yn hytrach yn cael ei alw felly oblegid yr hyn a fu. Yr oedd efe yn awyddus i oleuo y cyffredin, a gwnaeth y ffurf a elwir Gwasanaeth Mair yn Gymraeg. Cydoesai âg ef fardd a elwid Ieuan Du'r Bilwg. Cyfansoddodd ef Gywydd i ofyn y Greal i'r Abad, yn yr hwn y mae yn darlunio dysg yr Abad, gan gyfeirio at y gweithiau a droes i Gymraeg:—

"Y gŵr a'r Llyfr geirwir llwyd
O Lynn Nedd a lynieiddwyd,
A drawdd mewn deuair neu dri
Gymmendod Magamwndi:*
Saith gwybod da cydnodwn,
Mae 'n y saith ym mynwes hwn;
Gramer a ffyrfder y ffydd
Grym deugain Gramadegydd,
Ym mewn *art* y mae yn ŵr,
Mewn suful† y mae yn waesafwr,‡
Mewn soffstri|| mae 'n berwi yn bur,
Mewn miwsig mwy na mesur.
Nid oes ysgolhaig na dau
Yn y byd un wybodau,
Mae dysg ar feddiant gantaw,
Mae 'n *ŵr drych* o mynnir draw.
E wnai benn a fai 'n y byd
Pris ei ddadl, pres ei dd'wedyd,
Purhaed y Pab purwad pell,
Penn Rhydychen a'i dichell."

Ymddengys fod yr Abad wedi rhoddi hanes Joseph i'r Bardd; ac y mae yntau yn alleirio yr hanes yn ei Gywydd, yr hyn a brawf fod gwybodaeth

* Y byd oll. † *Civil Law.* ‡ Berffaith sicr. || *Sophistry.*

Ysgrythyrol yn tywynu o'r mynachlogydd i'r cymydogaethau amgylchol. Rhyfeddasom cyn hyn, pan y cyfarfyddem â gweithiau ein heu feirdd o'r oesau tywyll, mor hyddysg oeddynt yn yr hanesiaeth Ysgrythyrol; a pha le, ac ymha fodd, gellid gofyn, y cawsant gymaint ag ydoedd ganddynt. Hawdd hefyd yw ateb, mai gan yr abadau a'r mynachod. Y mae Du'r Bilwg yn dangos ei wybodaeth o hanes Joseph yn gywir a thlws:—

"Ei frodyr oedd yn ei fwrw draw,
Ai frawd oedd yn frad iddaw;
Y modd yr aeth dros draeth dro
Y Ffair at Frenin Ffaro:
A mab neuaf Addaf oedd,
Breuddwydiwr a Bardd ydoedd,
Serchog a rhywiog y rhôn,
Sioseb nid un ar Saeson,
Meibion Ysrael wiwrael wenn
Ym meusydd, medd Llyfr Moesen.
Gwelai o'r haul i'w gilydd,
Y lleuad oll a lliw dydd,
Hwynteu yn addoli 'r lleuad
Hoedd* a ser i ddewis had.
Y Braenar arddodd Brenin,
Brynn a phant a Bronn a ffin,
Diwarth wedi doeth ydoedd,
Dasau o ŷd eisiau oedd,
E gad dangos had Sioseb
Yd a nerth heb oedi neb."

Yna efe a sonia am Wasanaeth Mair, ac hefyd ei elusengarwch.

Lewis ab Dafydd ydoedd yr Abad diweddaf a fu ar fynachlog Glyn Nedd. Er fod llawer o dda llênyddol yn y mynachdai, yr oedd hefyd lawer o ddrygau moesol yno, heblaw eu bod, o dan rith hunanymwadiad a chrefydd, wedi myned dros feddwl calon o gyfoeth. Un o effeithiau cyntaf y Diwygiad yn yr Almaen a Lloegr ydoedd dystrywio y tai crefyddol hyn. Yr oedd y dinystr yn gyflawn a hollol yn y wlad hon. Harri VIII., wedi digio wrth y Pab, am na roddai ganiatâd iddo briodi Anne Boleyn—yr hon y gwyddai ei Sancteiddrwydd oedd yn ffafriol i'r cyfnewidiad a gymerodd le yn yr Almaen—a benderfynodd, fel y moddion effeithiolaf i ddystrywio awdurdod y Pab, fynu *act* i wneyd yr un fath yn Lloegr; ac efe a roddodd Thomas, Lord Cromwell o Essex, yn ymwelydd cyffredinol ar y cyfryw dai, a than ei arolygiaeth ef y cawsant eu dystrywio. Buasai efe ychydig ar led, ac ymhlith lleoedd eraill yn Rhufain; ac yno cafodd fantais i weled Pabyddiaeth yn ei chartref ei hun. Yr oedd hefyd wedi cael gafael mewn rhyw fynachlog, ar eilun o'r Testament Newydd, o gyfieithiad Erasmus, a dywedir iddo ei ddysgu oll ar dafodleferydd. Gwelodd nad oedd yn bosibl dymchwelyd Pabyddiaeth heb ddymchwelyd y mynachlogydd, a rhoddodd ei holl fryd ar y gorchwyl; ac yn y fl. 1535, gwnaed Gweithred fod i'r holl fynachlogydd, priordai, a holl dai crefyddol y mynachod a'r lleïanod, o bob math, rheol, ac urdd, y rhai yr oedd eu derbyniadau yn llai na dau gant o bunnau yn y flwyddyn, gael eu rhoddi i'r Brenin a'i etifeddion dros byth, i'w rhoddi, a gwneyd anrhegion o honynt, yn ol ei ewyllys, i anrhydedd Duw a llesâd y deyrnas. Yr oedd llawer iawn o'r cyfryw dai yn Nghymru. Nid oes genym werth pob un o honynt; ond y mae gwerth

* Ac hefyd.

y deg ag y cafwyd eu cyfrif yn dyfod i £1,297 6s. 4c. cyfrifedig; yr hyn, yn ol gwahaniaeth yr amseroedd, a fuasai yn awr yn £12,977 5s. 4c.: a'r gwir elw yn £1,180 18s. 9c.; yr hyn a fuasai yn awr yn fwy na'r swm dirfawr o ddeng mil o bunnoedd; canys gwerthwyd mynachlog Margam a'i thiroedd ymhen rhai blynyddoedd wedy'n i Syr Price Mansell am £642 9s. 8c. Yr oedd yr holl fynachlogydd a ddadymchwelwyd yn dri chant a pedwar ugain mewn nifer, oddiwrth y rhai y cafodd Harri a'i lywodraeth elw o ddeuddeng mil ar hugain o bunnau, heblaw perlau a llestri arian hyd werth can' mil o bunnau. Ymhen pedair blynedd ar ol hyny, gwnaed deddf i ddadymchwelyd y gweddill—sef cant a chwech a phedwar ugain —yr hyn a ddaeth âg elw blynyddol o gan' mil o bunnau yn ychwanegol. Ond, fel y dywedwyd, yr oedd eu gwerth yn llawer mwy mewn gwirionedd; canys yr oedd yr Abadau, wrth ragweled y dymhestl yn dyfod, wedi rhagbarotöi, trwy leihâu y sefydliadau, gwerthu eu tiroedd, a chuddio eu trysorau. Dywed Camden fod rhif yr holl grefydd-dai a ddadymchwelwyd, o bob math, yn ddim llai na chwe' chant a phump a deugain.

Yr oedd peth ysbryd cydymdeimladol hefyd yn cael ei amlygu yn Harri; canys gofalai fod tâl blynyddol am ei oes yn cael ei sicrhâu i'r Abad, allan o'r tiroedd a gymerid oddiarno, neu oddiar ei fynachlog. Gelwir Lewis ab Dafydd yn Abad Glyn Nedd, oblegid yr oedd efe yn byw yn Nglyn neu Gwm Nedd, ar y blwydd-dâl a ganiatâwyd iddo am ei oes, pan ddadymchwelwyd y fynachlog. Bu efe byw lawn ugain mlynedd wedi y dadymchweliad.

Am Gastell Nedd, ymddengys nad oedd onid un bychan—rhy ddistadl gan Richard de Granville i'w wneyd yn arosfa barhäol; gan hyny, syrthiodd i waethygiad wedi i'r gŵr hwnw adael y wlad, ac yntau wedi ei esgeuluso, trwy roddi ei holl fryd ar adeiladaeth y fynachlog; a phan ddaeth Oliver Cromwell—yn hytrach ei fyddinoedd—heibio yn amser y Rhyfel Gwladol, yr oedd mewn cyflwr rhy adfeiliedig i ganiatâu nodded i'w gwrthwynebwyr; ac felly ni wnaed sylw o hono. Yr oedd yr un fath hefyd yn amser Owain Glyndwr. Er i'r byddinoedd hyn fyned trwy y gymydogaeth, nid ymddengys ei fod yn werth sylw gan neb o honynt.

Y mae y fynachlog wedi adfeilio yn fawr yn y ddau gan' mlynedd diweddaf. Dau cant o flynyddoedd yn ol yr ydoedd yn balas hardd iawn, yn cael sylw hoffus pawb a elent heibio, lle y preswyliai teulu o'r enw Hobby. Yr oedd y pryd hyny ran fawr o'r priordŷ yn sefyll. Mae y gweddillion maluriedig yn cyrhaeddyd hyd ymhell—o bob tu i'r heol sydd yn arwain trwy y pentref, ac yn gymysgedig â'r tai, fel y mae yn anmhosibl —oblegid yr artaith y mae adeiladau newyddion, a'r gwaith gerllaw—ffurfio drychfeddwl am faint a ffurf yr hen adeilad. Gresyn na buasai y perchenogion yn meddu mwy o chwaeth henafiaethol, fel y cadwesid hen adeilad mor enwog heb ei gwaethygu, ac fel y buasai yn gofnod i'r oesau dyfodol o zêl grefyddol ein henafiaid, ac yn gyfleusdra er boddloni ymchwil yr ymofynydd hanesiol i'r cyfryw bethau. Ychydig o ofal a thraul a fuasai yn gwneyd hyny, a'i gwneyd yn fwy defnyddiol nag y mae yn bresennol, hyd yn nôd ar dir elw i'w meddiannwyr. Gwel "*Penny Cyclopædia;*" "*Merryweather's Bibliomania;*" "*Iolo's MSS;*" "*Rowland's Mona Antiqua;*" "*Hanes Cymru;*" "*Geirlyfr O. Williams;*" "*Cambrian Mag., vol.* II.;" "*Tanner's Monastica.*"

# DRYCH Y DYFODIANT I GRISTION.

*Myfyrdod mewn trallod trist,*
*Yn eithriol i'm pwn athrist;*
*Dyddanwch mewn tristwch trwm,*
*Yn ngwrthred poen fy ngorthrwm.*

Dyn dedwydd, dyn Duw ydyw;
A doed a ddel dedwydd yw.
Dedwydd dragywydd yw 'r gŵr
A gredo i'w Grëawdwr;
Dyn dedwydd a fydd i fod,
A dedwydd yn y Duwdod;
Dedwydd ar gynnydd yw 'r gŵr
A gredo i'r Gwaredwr.
Daw o hyd yn fwy dedwydd;
A mwy fwy diammeu fydd.
Nid ä i ben, myned bydd,
Olynol i lawenydd.
Bywyd o wynfyd a wêl,
Na ddygir, mae 'n ddiogel;
A byd o fywyd a fydd
Yn Nuw, a deil yn newydd.
Yn wir, mae yn ei aros
Nefoedd Naf, lle na fydd nos.
Y Duw Gwyn a'i digona,
Dduwiol ddyn, â'i ddelw dda.
Nis gallwn îs y gwylledd
Gael dirnad o'i wlad a'i wledd;
Pa gymaint ei faint a fydd
Dylanwad ei lawenydd!

Adsain iaith y byd sy 'n ol,
Nid ŵyr y dyn daearol:
Bywyd a gwaith y byd gwâr,
Ni ddeall dyn y ddaear.
Byd enaid, a byd anian,
Yma rhaid fod mawr wahân.
Er cymhell, nid gwell, ond gwaeth,
Ymyryd â chymhariaeth.
Pa radd a dyf o'r priddyn
Fedd damaid i enaid dyn?
Y cysur yn gysur gau
Wel fwyniant yr elfenau.

Mae uwchlaw 'r byd, ysbryd yw;
Ac efryd ar y cyfryw.
Beth yw gwellt, neu bethau gwyw,
Er adnawdd i bur ednyw?
Daear foel roed i filyn;
Y Moesol, Dwyfol, i'r dyn.
Yn ei ffyrdd, uniawn neu ffol,
Ymesyd am y moesol;
Gwna o hyd ddrwg neu dda;
Ymgyrhaedd am a gara;
I'w oriau mae 'n hau o hyd
Ar elfen gref yr eilfyd.
Newidiad ddaw ofnadwy;
O'i bethau mêd am byth mwy;
Daw i'w ran, wedi 'r einioes,
Draul ei waith drwy ail oes.
Os ynfyd i'w fywyd a fu,
Traul ei waith try i'w lethu.
Manwl farn fydd mewn ail fyd;
Côst ei fai—cyst ei fywyd.
Haeddai wae, hauodd i'w oes
Drueni drwy ei einioes.
Hau 'n ddyddan, a brolian bri,
Trwy einioes hâd trueni;
Wedi 'r oes fe fêd ei ran,
Cnwd dieflig y cnawd aflan.

Mae 'r Moesol yn Ddwyfol dda,
Neu Ddwyfol dân i ddifa.
Bywyd i'r ysbryd a rydd
Ail einioes o lawenydd.
Gwnaeth hau drwy ddagrau, i'w ddydd,
Yn dawel ar flin dywydd.
O hau rhinwedd yr henyw
Dymunol fyd mewn ail fyw.
Daw i gynnyrch digonawl,
Medi hedd yn myd ei hawl:
Hoff i'r eithaf y ffrwythau,
A gŵyl mewn hwyl i'w mwynhâu;
O gynnar ddarpar yn ddoeth,
Fe gafodd Naf a'i gyfoeth.
Y Duw Gwyn oll, digon yw;
Hanfodiad y nef ydyw.
Dilyniad o ail einioes
Iddo a ddaw ddiwedd oes.
Hau had da drwy boenau 'r byd,
Hadu byw o had bywyd:
Ei gynnyrch ddaw 'n ogoniant,
Yn wledd serch yn serch y Sant.
Nawdd a hoen 'r Hen Ddibenydd
Yn fyd o fywyd a fydd.

Ychwaneg nid all chwennych;
Y draul gynt dry elw gwych;
A buan yn y bywyd
Try yn fost y gôst i gyd.
Tra melys try 'r trwm wylaw,
Y deigryn a dry 'n win draw;
Pryd hyn, pob deigryn heb dawl
A'n afon o win nefawl;
A chŵyn y drom ochenaid
Dry yno 'n byncio di baid;
A phob ochenaid o ffydd
A gynneua gân newydd.
Trwy Dduw try ei weddïau,
I gnŵd tew, er gwaned hau.
Gwaedd lesg ei weddi lwyd,
Y tybiai na atebwyd;
Daw er hyn gnŵd o'r had,
O rawn Duw, llawn wrandawiad.

Daw 'r weddi a da roddion,—i'w lenwi
Hyd lànau ei galon:
Nid tyb yw, ond etyb Iôn
I fyny a'i ofynion.

Fe ddaw cri gweddi y gwael,—a'i gofyn
Digyfyng, yn gaffael:
Dyry Duw, a hyny 'n hael,
Ei gofyn yn ei gafael.

Pair wirio i'r pererin
Ei eiriau rhad, mawr eu rhin.
Dal a fyn, a deil o'i fodd,
Yn Dduw i'r hyn addawodd.
Addaw y mae eiddo mawr,
Rhydd erfyn y rhodd ddirfawr;
Addaw ei hun yn rhodd hael,
O'i gofyn daw i'n gafael:
Dod yn Dduw, yn Dduw i ddyn,
A dyfod ond ei ofyn.
Yn y rhodd daw 'r oll yn rhan
Yn hollol o hyn allan.
Digon yw byth, a dogn bur
I reidiau ei grëadur.
Yr hyn yw Duw yn rhan deg;
Ni chwennych ddim yn chwaneg.
Mwynhâu Duw fel mae 'n Dad
Yw mwyniant pob dymuniad.

Difyrus yr adferiad
Llunio dyn yn llun ei Dad:

Daw 'r tlawd trist i Grist a gred
Ar ei lun er ei laned:
Ei doddi trwy santeiddiad,
Oll yn deg, yn llun ei Dad.
Duw yn troi y dyn truan
I ddal ei lwyr ddelw lân.
Dyg o'i warth y du gwrthun
I ddal ei holl ddelw ei hun.
Crëu ei lun ar hagr alanas:
O ryfedd, ryfedd ei ras!
I'w lun cod ei elyn câs,
Dyd arno nôd ei deyrnas.

Mae gwerth a grym gwyrthiau gras—yn nwyfiant
Trwy 'r nefol gymdeithas:
Gwledd yw o fraint, a gwledd fras;
Porth enaid i'w perthynas.

Rhyfeddol ddwyfol ddyfais!—pa foddion?
Pwy feiddiai 'r fath ymgais?
Dwyn y drwg adyn o'i drais,
Nefoli hwn o'i falais.

Pwy a faidd? pwy a feddai—ewyllys
A gallu a'i gweithiai?
Ond Duwdod yn drindod didrai;
Anfeidrol Iôn a fedrai.

Neb llai ni feddai foddion—i wared
Ei ddyrus elynion;
A ffordd ei holl ffyrdd yw hon,
Lle gwelir ei holl galon.

Rhoi ei Fab yw rhoi a fedd;—ei anfon
O wynfyd i chwerwedd,
Ingau 'r byd, angeu a'r bedd;
I'w elyn gael ei goledd.

Gwaed y groes a droes y drefn—i'r gallu
Er gwella yr annhrefn;
Fe ddadrwym a fo-ddidrefn,
Daw â'r chwith i'w le drachefn.

Gwel y gwaith ar Golgotha;—yr Iesu
A roisid i'r lladdfa:
Clyw bererin, bliu ei bla,
Leferydd pen Calfaria!

Gwel Iawn, na ddigalona;—ein dyled
Ni dalodd y Meichia:

Clyw di ddyn, clyw y di dda,
Leferydd pen Calfaria!

Y newynog ymuniona;—o ras,
Cai groesaw i wledda;
Gwna yn hyf, ac na wanhâ—
Leferir o Galfaria.

Y truenus tro yma,—ar unwaith,
I'r unig ddiangfa.
Tyred, rhêd, ac na lwfrhâ—
Leferir o Galfaria.

Gŵyl i gaeth yw Golgotha;—pwy bynag,
Pob enaid ddaw yma;
Clyw 'r caethaf, blinaf ei bla,
Leferydd pen Calfaria.

Gwel foddawg hawl i faddau;
A gwel yn hwn fodd glanhâu.
Cofiwn hwn i'n cyfiawnhâd;
Ac eilchwyl er ein golchiad.

Ef yw 'r Iawn cryf ei rinwedd;—mae 'n sail,
Mae 'n swm ein tangnefedd:
Mae golwg o ymgeledd
I ni yn wir yn ei wedd.

Ein hanadl drwy ein heinioes
I gyd yw grym gwaed y groes;
Dewisodd ein Duw eisoes
Uno 'r grym dan enw 'r groes:
Gras odiaeth, y groes ydyw;
Cofiwn oll, ein cyfan yw.
Mi ganaf mewn trwm gyni;
Y groes Amen, y groes i mi!
Er gwaned, mae'r groes genyf;
Ar fin y groes 'r wyf yn gryf:
Cyll f' anaf, coll fy einioes,
Ei warth a'i graith wrth y groes:
Diaddurn wyf a diddym;
Wrth y groes câf werth a grym.
Chwyn f' enaid, achwyn f' einioes,
Gwywir ei gwraidd ger y groes:
I'fesur profwyf eisoes
Ddigon yn gryno 'n y groes!
O gynhwrf byd mi ganaf,
Ac yn y niwl canu wnaf;
A chanaf fy achwynion,
O dir ing, yn glod i'r Iôn.

Yn y dwfn fy enaid i
Ddyddanodd â'i ddaioni.
Cês ei nawdd yn hawdd a hael,
Yn nghyffion fy anghaffael:

Yn nghanol fy anghenion—mi ganaf,
A'm gwyneb ar ddigon:
Mae 'n gwellau gorfriwiau 'r fron
A'i ddedwydd addewidion.

Er dued yr oer dywydd,
I lawr y dwfn lawer dydd,
O dan dost ordonau dig,
Y trallodion troelledig,
Y gras mawr ddaw 'r groes i mi;
Oni ddylwn addoli?
Dilediaith mai dyladwy
Seinio mawl, Hosana mwy.
Wele 'n hon, dan lawenhâu,
Y dringaf fry drwy angau;
Yno 'n gryf yn enw y groes
Molianaf am ail einioes.

Nid ä enaid ond unwaith
Drwy 'r glyn ar derfyn ei daith.
Fe fydd yn newydd, mae 'n wir:
Golwg ymlaen nis gwelir:
Dyeithr i gyd, a thir gwyll;
O'n daear ni mae 'n dywyll.

Mae o gylch yr amgylchiad—dywyllwch,
Nad allwn ei ddirnad:
Rhyw ing dwl yw rhwng dwy wlad,
Ar finion eu terfyniad.

Mantellog mewn tywyllwch—yw 'r nofiad
I'r nefol ddyddanwch:
Neu fel traeth dan nifwl trwch,
O ethryb ei ddyeithrwch.

Ond Iesu sy 'n Dywysog—er ei bobl,
Ar y bwlch cymylog.
Rhan yw i Grist, rhin ei grog;
Try 'n oleu y tir niwliog.

Pa mor flin fydd breniu braw,
Addolaf dan ei ddwylaw.
Fe orfydd ef fy arfoll;
Gelyn yw heb golyn oll;
I ddewisol braidd Iesu;
Gwas yw a'n dyrch, ond gwas du.

Nid yw ef ond cennad Iôn;
Mae yn was mwyn i'w weision;
I'w cyrchu hwy o'u carchar,
O'r byd gwyll i'r bywyd gwâr;
O'r anial at y Brenin;
O wlad gwae i wlad y gwin;
I fyd gwiw o fyd gauaf;
O wlad rhew i wlad yr haf:
Eu gollwng o fyd gwallau
I bur hedd sydd i barhâu.

Nid rhaid i'm henaid am hyn,
Od ydwyf yn gredadyn,
Ofni ing hen safn angau;
Gallu hwn fydd i'm gwellâu.
Fy ngollwng, er fy ngwelliant,
O'm gwaeledd at sedd y Sant.
Nid ä ei gledd ond i glai;
Y daearol a dorai:
Ac yna y trigiannydd
Oedd yn rhwym a ddaw yn rhydd.
Tŷr y plisgyn briddyn brau,
Yr amwisg a'i thŷn rwymau;
I'r dyn, gael ar adenydd,
Droi i'w wlad ar hediad rhydd.
Dyna 'n wir i'r dyn a wnel,
Gollyngyd esgyll angel.
Ei ysgar fel o'i blisgyn
Mae 'n wisgo am dano 'n dŷn;
I'r ysbryd, a'i fawr asbri,
Droi i'w nefol freiniol fri.
Helyntaidd ddillad plentyn
A dry draw pan ddaw yn ddyn:
Nid all heb newid dillad
Esgyn fry i dŷ ei Dad;
Dyosgiad at adwisgaw
O'r newydd ryw ddydd a ddaw.
Ni ddeil brau blisg ei wisg wan
Ogoniant Duw a'i Ganaan;
Y wisg bridd, o gymysg brau,
Ni ddeil i'r annedd olau.
Awyr gref y wlad nefol,
A gwaith y nef a'i gwthia 'n ol.
Sugna 'r nefol wynfa lân
Ei enaid iddi 'i hunan,
Ei dèn wisg a edy 'n ol;
Hon fwrir yn rhan farwol.
Y nef fyn fel hyn ei hawl,
Fe weryd yr anfarwawl,
O'i dŷ llaid a gwlad y llwch,
I'w ddwyn i'r pur ddyddanwch.

Nid oerfel yw, ond arfoll;
Newid yw heb niwed oll:
Nid cerydd yw, ond cariad;
Nid marw hyll, ond mawrhâd:
Nid marw yw marw 'r mâd;
Ond huno 'n mhen dihoeniad.
Newid yw ar ben y daith,
I orphwys mewn gwlad berffaith.
Y newid oedd ofn i'w daith,
A hoffa yn ei effaith.
Newid yw yn enaid iach,
O ofid natur afiach:
Newid mawr, pa newid mwy ?
Newidiad annirnadwy:
Newid y gofid am gân,
A gwyniau 'r Aipht am Ganaan:
Newid hwnt i lid a loes,
I wynfyd, o fyd anfoes:
Newid i lendid o lwch,
O ryfel i ddigrifwch:
Newid i ryddid yr ŵyl,
O warcha, a blin orchwyl:
Newid a fydd yn niwedd
Ei auaf, am haf o hedd:
Newid mwy na newid màn,
O'r drygfyd i'r bur drigfan:
Newid yw trwy 'r enaid oll,
I'w ddiwygio yn ddigoll;
Yn lân, yn gyfan i gyd;
O fachau 'r hen afiechyd;
Heb lygredd, gwaeledd, na gwŷn
Annedwydd, am fynydyn.
Newidiad uwch y cnawdol,
A thra y nef ni thry 'n ol:
Newid llawn, a'i ddawn i ddal;
Newidiad dianwadal.

Try yr Iawn, trwy ei rinwedd,
Ddylaith hyll yn ddilyth hedd:
A mŷn ei droi 'n gymwynas;
Dyen ceir y dien câs.
Daioni yw 'r dienydd;
Dwyn o darth i adwaen dydd;
Mae tranc yn wir danc i'r doeth;
Dwg ef i wlad ei gyfoeth.
Trwy drengu, tröed yr angel
O dŷn gorff a'i cadwai 'n gêl.
Ehed i'r llys drwy y llaith,
I'r gwiwlys trwy y golaith.

Trwy 'r dyrnod try i'r deyrnas;
Toriad dydd a fydd ei fas:
Traidd i fewn, trwy ei ddu fas,
I feddiannu 'r Brifddinas.

O ryfedd! ar yr afon,
Wrth y groes, nid oes un dòn;
Trôdd yn drai, treiodd yn draeth;
Diogel waredigaeth.
Yr Iesu, er ei weision,
Aeth drwyddi gan hollti hon.
Tori llwybr trwy y llen,
I'r ddinas trwy 'r Iorddonen.
A brwydrodd ei lwybr adref,
Trwy 'n hangau ninnau i'r nef.
Mae 'n ffordd, yn brif-ffordd i'n braint,
Er holl ferw 'r llifeiriaint,
I'r nefoedd trwy 'r hen afon;
Gwely têg yw gwaelod hon.
Ei gleidir wnaeth galedu
Dan droediad ein Ceidwad cu.
Ei ddyeithrol laid athrist
Droes i graig, drwy Iesu Grist.
Os yw 'n bant, mae 'n balmant byth,
Ar hyd ôl ein Rhi dilyth:
Ar ei ol gwnaeth ddwyfol ddydd,
I'w gael o làn bwy gilydd:
Fe roddai lamp fawr ddi lèn,
Ar ddannedd yr Iorddonen:
Ei goleu ŷr bob gelyn
Ffwrdd i dawch, o ffordd y dyn:
Tra 'r enaid trwy ei rinwedd,
A fwynhâ ei gyfiawn hedd;
Yn nydd ing ei galon ddyrch,
Mor lawen o'r mawr lewyrch.
O'r làn, er ei lawenydd,
Gwel dy Dad, a gwlad y dydd:
Trwy y pant gwêl i'r tir pell;
Ar drothwy yr oer draethell.

Ar ddarfod dattod ei dŷ,
Ar fin ei roi i fyny;
Try o nifwl dwl ei dŷ,
Saif allan o'i nos felly;
Daw i'r drws, a dyry drem
Ar seiliau 'r lân Gaersalem:
Yna saif, a saif yn syn,
Ar ei riniog ryw ronyn,
I edrych ar hynodrwydd
Egyr oll ger ei ŵydd:

Egyr fry, fel ger ei fron,
I'r golwg y dirgelion:
Gweled oll â goleu dydd,
Yn awyr y byd newydd.
Golwg noeth, wrth gael o gnawd,
Ond henffych well, nid anffawd.
Gwêl yr Haul, goleu yr hwn
A dywyna hyd annwn.
Wele ser, engyl a saint,
A lona fel â'i enaint.
Fe wêl lys y nefol Ion,
A brodyr noeth ysbrydion;
Fe wêl sedd y felys ŵyl,
Llawenydd y llu anwyl:
Gwêl ei Grist, a gŵyl y grog,
Yn swynaw 'r Ddinas enwog:
Gwêl ysbryd yn ysbryd noeth;
Rhai uniawn, a rhai annoeth:
Gwêl weision duon y diawl,
A'r ffwrnais fawr uffernawl;
Gwêl adwyth ei thylwyth hi,
O danodd mewn cadweini;
Ar gilio fel o'r golwg,
Yn y mellt, o dan y mŵg.
Gwêl fil myrdd am eu ffyrdd ffol
Yn wasarn i'r Tân Ysol.

Gwêl weision ei dirion Dad,
Yn adeg ei newidiad;
Yn ei gylch, fel cadarn gad,
I ddysgwyl ei ddiosgiad.
Y mawr lu oll mor lawen,
I gyd o'i gylch, fel gyda gwên;
Yn gwarchod hwn i'w gyrchu
O'i sàl gorff i'w breswyl gu.
Llawn barod i'r llon berwyl,
Yn estyn eu hedyn mewn hwyl;
Mawr wylio am yr aeliad
A roddai hwn i ryddhâd:
Adenydd pawb ar daeniad,
Dysgwyl mewn hwyl y mwynhâd
O'i hebrwng drwy y wybren,
I fyd y bywyd uwch ben.
Ei ganfod ar ddod i ddydd,
A'u lleinw â llawenydd.
Fel syn aderyn am daith,
A dremiai ar droi ymaith;
Yn ei adeg benodol,
Gedy byth ei nyth yn ol:

Yno 'n awr, ar fin ei nyth,
A'i olwg i'r byd dilyth:
Arsyllai o'i ddrws allan,
Ar ei lwybr drwy 'r awyr lân.
Parotôi mae 'r boreu teg,
Ei edyn at yr adeg,
I gychwyn o'i nyth gwachul,
I'w ddifyr swydd foreu sul.
Y lon gad, fel hyn a'i gwêl,
O dan ing myn'd yn angel,
Ar droi fry o'i hen dŷ dail,
Ar nofio o'r anifail.

Ail i long ar ael y làn,
Ar ollwng i'r môr allan;
O'i chryd trwm, ar ochr y traeth
Y delai i fodoliaeth.
Llenwi mae y llanw mawr,
I guro glàn ei gorawr.
Tani cod y tònau cu,
A sïant i'w chroesawu.
Yna cyll ei holl nacâd,
A chwennych ei chychwyniad.
Gado 'r cryd nychlyd a wnaeth,
Yn araf, fel gan hiraeth.
Llithro, gan lithro i lawr,
Ar derfyn y môr dirfawr;
Y llanw hwnt a'i llawenhâ;
A siriol ymbrysura.
Llithrai 'n gynt y llethredd,
O fêr hynt i fôr o hedd:
Mae 'n rhuthro ar deimlo 'r dòn;
Am warogi 'r mawr eigion:
Ei ddwfr, fel o ddifyr fodd,
A'i denai oddi danodd:
Taro mae yn wyllt i'r môr,
O gyraedd niwliog oror.
Boreu hynt sydd i barhâu
Yn hylwydd dan lawn hwyliau:
Yn ei gwaedd, fel yn gwaeddi,
"Y môr mawr, y môr i mi!"

Ar ei moriad o'r marwol,
Gedy 'r aeth i gyd ar ol.
At adeg ei dattodiad,
I'w rhoddi hi mewn rhyddhâd,
Wele lu o'r nefol wlad,
A chwennych ei chychwyniad.
Brysiant a chyrchant o'i chylch,
Lu hygar, fil o'i hogylch.

Mae bonedd, bonedd o bwys,
Ar rodau heirdd Paradwys,
Yn edrych y drych o draw,
Er mawredd ar ei moriaw:
Ac hefyd, wele 'r cyfan
Dery lef pan edy 'r lân.
Yn ei llwydd, fe gân y llu,
A chanant dan grechwenu:
Mae 'r môr gwâr ail marmor gwych,
Yn loewaidd iawn ei lewych.
Goreurawg ei wawr araul,
Gan yr hin, a gwenau 'r Haul.
Fe lona fel â'i waneg
Tan ronynau 'r tònau teg;
I edrych fel mân wydrau,
Yn rhydd trwy 'u gilydd yn gwau;
I olwg fel mân heulion,
Yn glaer deg, er gloewi 'r dòn.
Môr o wydr yn ymerodraeth,
Heb argoel trai neu berygl traeth:
Diofal nad auafa,
Gan dragywydd dywydd da.
Bywiol wynt, heb awel oer,
Na wyddys am hin addoer.
Pery o hyd heb hwyrhâu,
I'w gweled yn ddydd golau.
Deil, deil, hi ddeil yn ddydd,
Yn llewyrch y Penllywydd.
Dydd yn wir, a dyddan wedd,
I nofio môr tangnefedd.
Hylaw hwyl, a hawl i'w hedd;
A'i forio yn ei fawredd.

Awr ing yw codi 'r angor,
O dir mall i fyn'd i'r môr:
Poen yw 'r tro, ail rhwygo 'n rhydd;
Uthr iawn yw, a thro newydd:
Ing i gnawd, angeu a'i gwnel,
Er tywys i'r môr tawel.
Gall angeu ei gollyngyd,
Drwy waith bach, o draeth y byd:
Rhoddi nawf yn rhydd a wnel,
O'r tywarch i'r môr tawel.
Awelon hedd i'w hwyliau,
A môr o hedd i'w mawrhâu:
Daw o'r ing codi 'r angor
Elw mad, pan wêl y môr:
Mae yn elwa mewn eiliad
Fwy na hyn o fwynhâd.

Y boen fèr ar ben a fydd
Yn awel y byd newydd:
Poen ysgafn, ond poen esgor,
I'w dwyn mwy i adwaen môr:
Ysgar ail i esgor yw;
Newidiad hynod ydyw;
O fàn ei bod i'r fàn bydd
Ar y dwfn, er ei defnydd.
O'r llanerch llawr ei lluniad,
I'w lle o swydd, a llesâd.
Poen rhyddhâd sy 'n had i hedd,
Yn rheidiol i'w hanrhydedd.
Môr yw ei nôd mwy er neb,
I weini ar ei wyneb.
Y nôd i'w dyben ydyw,
A'i gorlawen elfen yw.

Ymddengys nas medd angau,
A'i wedd hyll, ond ei ryddhâu.
Agoryd, nid o gerydd,
I'w dwyn o'i rhwym gryd yn rhydd.
Pan fo yn curo 'r nacâd,
Er agor y mawr rwygiad;
Traidd ei waith drwyddi hithau,
Yn gryndod, ar ddod yn ddau.
Dirymiad yw i rwymau
Ei lle cul, i'w llacâu.
Angeu hyll a ollwng hon,
Yn ngolwg yr angelion:
Lleng hoffus a'i llonghyffiaw
O dŷn draeth, ar dònau draw;
I'w gwylied â'u holl galon,
O freg dŷ, i frig y dòn;
A'u golwg yn ei gwylied
Yn ddi sigl, tra rhigl y rhed,
I waered o'r hen oror,
A'i gwely main, i gael môr.
Anthemant ben ei thymmor,
"Wele mae yn cael y Môr!"
Pan yw llaw y Penllywydd,
Llaw Duw yn llywio ei dydd.
Nododd ef, ac nid yw ddwl,
Y fynyd yn wir fanwl,
I'w nofio i'w fôr nefol,
Ar ei ddwfn mor lyfn a'r ddôl.
Yr oll a ddaeth all o'i thu,
Yn weision o dan Iesu.
O redeg trwy yr adwy,
Y Môr mawr a'i cymer mwy;

Iach i làn a'i cheulenydd,
Iach i darth, yn llewyrch dydd:
Y Môr mawr, dim ond Môr mwy,
A'i led yn anchwiliadwy.

---

# ORIAU GYDA BACON.

## Y DRYDEDD ERTHYGL, A'R OLAF.

[THE MORAL AND HISTORICAL WORKS OF LORD BACON, *including his Essays, Apophthegms, Wisdom of the Ancients, New Atlantis, and Life of Henry the Seventh. With an Introductory Dissertation, and Notes, Critical, Explanatory, and Historical. By* JOSEPH DEVEY, M.A. London: Henry G. Bohn. York Street, Covent Garden. 1854.

BACON'S ESSAYS: *with Annotations by* RICHARD WHATELY, D.D., *Archbishop of Dublin. Third Edition, revised.* London: John W. Parker and Son, West Strand. 1857.]

YN unol â'n haddewid mewn rhifyn blaenorol,* yr ydym yn awr yn cyflwyno ger bron ein darllenwyr ddyfyniadau o Draethodau Bacon, er egluro a phrofi ein sylwadau arnynt mewn ysgrif flaenorol, ac fel enghreifftiau o nodweddion meddwl ac arddull ein hawdwr. Y mae y Traethodau tua thriugain o ran nifer, ac o ran eu materion y maent yn cymeryd i mewn yr amrywiaeth mwyaf. Ymdrinir ynddynt â rhai pynciau crefyddol, ond y maent yn benaf ar destunau moesol, gwladwriaethol, a chymdeithasol. Y maent oll yn nodedig am eu nodwedd ymarferol; cyffyrddir ynddynt bron â phob peth sydd yn meddu dyddordeb i *ddyn*, fel preswylydd y ddaear, ac aelod o gymdeithas,—pobpeth sydd yn "dyfod adref," yn ei eiriau ef ei hunan, "at orchwylion a mynwesau dynion." Cawn ynddynt ei syniadau ar bethau mawr a bychain, uchel ac isel, newydd a hen, difrifol a digrif; fel y gwelir wrth y dyfyniad canlynol o'r "Cynnwysiad:"—Gwirionedd — Gerddi — Angeu — Usuriaeth—Prydferthwch—Hagrwch—Cariad—Digofaint—Anffyddiaeth — Clod — Cyfrwysdra—Ofergoeledd—Ymddangos yn Ddoeth—Hyfdra—Ieuenctyd a Henaint—Prophwydoliaethau —Adeiladau—Undeb mewn Crefydd—Rheolau Iechyd—Priodas a Bywyd Sengl—Rhieni a Phlant—Efrydiau—Cenfigen, ynghyd â lliaws mawr o faterion eraill o gyffelyb natur. Y maent oll yn arddangos i raddau nodedig ddoethineb ddofn a sylweddol—adnabyddiaeth fanol a helaeth o'r

* TRAETHODYDD, Rhif. XI., tu dal. 500.

natur ddynol—ffrwyth sylwadaeth graff, a phrofiad maith o ddynolryw a chwrs y byd, y cyfan dan lywodraeth synwyr cryf ac o'r nodweddiad mwyaf ymarferol. Diau genym y cenfydd ein darllenwyr meddylgar—sef y rhai hyny o honynt a allant fod hyd yma yn ddyeithr i'r Traethodau hyn—oddiwrth y dyfyniadau a roddwn ger eu bron, eu bod yn cyflawn deilyngu y ganmoliaeth uchel a ddyry yr Archesgob Whately iddynt, sef eu bod yn llawn o arwirebau a'dywediadau, y rhai ydynt yn amlygu mwyfwy o ystyr a phwysigrwydd, po hwyaf yr edrychir arnynt,—fel rhai o'r cyrff nefol, y rhai ydynt yn weledig i'r llygad noeth, ond yn y rhai y gwelir mwyfwy yn barhâus, po oreu fydd y pelladur a gymhwysir atynt.

Yn argraffiad yr Archesgob Whately o'r Traethodau, y mae wedi rhoddi "*Annotations*," neu Nodiadau ychwanegol o'i eiddo ei hunan, ar ol pob traethawd, ar fater y traethawd hwnw; yn y rhai y mae yn ymdrin â rhyw ochr newydd i'r mater, yn edrych arno o safle newydd, neu yn ei weithio i ryw gysylltiadau newyddion—neu ynte yn gwneuthur dadblygiad mwy cyflawn o'r un syniadau â'r rhai y mae Bacon ei hunan yn taflu allan megys yr hedyn o honynt yn y Traethawd. Y mae y Nodiadau hyn yn amlygu holl ragoriaethau uchel ac adnabyddus ysgrifeniadau Whately; ac felly y mae yn ddiau y bydd yn dda gan y darllenydd uniaith gael gweled ambell ddernyn o eiddo Whately yn cael ei gyfieithu a'i osod ger bron gyda'r darnau o eiddo Bacon ei hunan ar yr un mater.

## AM WIRIONEDD.

"'Beth yw Gwirionedd,' meddai Pilat gellweirus, ac nid arosai am atebiad. Y mae rhai yn ddiau sydd yn ymhyfrydu mewn syfrdandod, ac yn ei gyfrif yn gaethiwed i sefydlu crediniaeth—gan ymgais am benrhyddid mewn meddwl, yn gystal ag mewn ymarferiad—ac er fod y sectau hyny o athronwyr wedi myned heibio, eto mae yn aros rai doethion gwibiog y rhai ydynt o'r un gwythienau, er nad oes cymaint o waed ynddynt ag eiddo yr henafiaid. Ond nid yr hyn sydd yn dwyn celwyddau i ffafr ydyw, yr anhawsder a'r llafur y mae dynion yn ei gymeryd i gael allan y gwirionedd, yn unig; nac ychwaith, pan y ceir ef, ei fod yn gosod rhwymau ar feddyliau dynion; eithr cariad naturiol, ond llygredig, at y celwydd ei hunan. Y mae un o ysgolion diweddaraf y Groegiaid yn chwilio i'r mater, ac yn methu gwneyd allan pa fodd y mae—fod dynion yn caru celwyddau, pan nad ydynt yn dwyn pleser, fel gyda beirdd, nac yn dwyn elw, fel gyda'r marsiandwr, eithr er mwyn y celwydd ei hunan. Ond nis gallaf fi ddywedyd: y mae y gwirionedd yma yn oleuni dydd noeth ac agored, nad yw yn dangos ffugwynebau, mud-chwareuon a buddugoliaethau y byd, hanner mor rwysgfawr a gorwych a goleuni canwyllau. Gall gwirionedd fe allai ddyfod i bris perl, sydd yn dangos oreu yn y dydd; ond ni chwyd i bris y gem neu y carbwncl, sydd yn dangos oreu mewn goleuni amrywiol. Y mae cymysgedd o gelwydd bob amser yn rhoddi pleser. A oes rhyw ddyn yn ammheu, pe tynid allan o feddyliau dynion opiniynau gwag, gobeithion twyllodrus, barnau anghywir, dychymygion dilywodraeth a'r cyffelyb, na adawai hyny feddyliau lliaws o ddynion yn bethau gwael, crebychlyd, llawn o bruddglwyf a thrymder, ac anghysurus iddynt eu hunain? Y mae un o'r Tadau, gyda llymder mawr, yn galw barddoniaeth yn 'win ellyllon,' am ei bod yn llenwi y dychymyg, a hyny heb fod ond â chysgod celwydd. Ond nid y celwydd sydd yn myned trwy y meddwl, ond yr un sydd yn suddo iddo ac yn aros ynddo, sydd yn gwneyd y niwed, fel y soniasom o'r blaen. Ond er fod y pethau hyn yn gyfryw yn marnau a serchiadau llygredig dynion, eto y mae gwirionedd, yr hwn yn unig sydd yn ei farnu ei hunan, yn dysgu mai yr ymofyniad am y gwirionedd, yr hyn yw y garwriaeth neu yr ymgais am dano—y wybodaeth o'r gwirionedd, yr hyn yw y presennoldeb o hóno—a'r grediniaeth o'r gwirionedd, yr hyn yw y mwynhâd o hóno—ydyw daioni uchaf y natur ddynol. Crëadur cyntaf Duw, yn ngwaith y chwe' diwrnod, oedd goleuni naturiol, yr olaf oedd goleuni rheswm, a'i waith Sabboth, byth ar ol hyny, ydyw goleuo yr ysbryd. Yn gyntaf efe a anadlodd oleuni ar wyneb mater,

neu *chaos*, yna efe a anadlodd oleuni i wynebpryd dyn; ac y mae efe o hyd yn anadlu i mewn oleuni i wynebpryd ei rai etholedig. Y mae y bardd a addurnodd y sect ag ydoedd oni buasai hyny yn israddol i'r lleill,* eto yn dyweyd yn rhagorol o dda, 'Y mae yn bleser sefyll ar y làn, a gweled y llongau yn cael eu lluchio ar y môr; y mae yn bleser sefyll yn ffenestr castell, a gweled rhyfel a'i helyntion islaw; ond nid oes yr un pleser i'w gymharu â sefyll ar ucheldir gwirionedd (bryn nas gellir ei orchymyn, a lle y mae yr awyr bob amser yn glir a thawel), a gweled y cyfeiliornadau, a'r crwydriadau, a'r tarth, a'r tymhestloedd, yn y dyffryn odditanodd;' ond i'r olygfa hon fod bob amser gyda gresyndod, ac nid gyda chwydd neu falchder. Y mae yn ddiau yn nefoedd ar y ddaear i ddyn fod â'i feddwl yn symud mewn cariad, yn gorphwys mewn rhagluniaeth, ac yn troi ar begynau y gwirionedd.

"I fyned oddiwrth wirionedd mewn duwinyddiaeth ac athroniaeth at wirionedd mewn trafodaeth fydol, fe addefa hyd yn nôd y rhai nad ydynt yn ei ymarfer, mai masnach deg a gonest ydyw anrhydedd natur dyn, a bod cymysgedd o dwyll fel anmhuredd (*alloy*) mewn aur ac arian, yr hwn a all wneyd i'r fetel weithio yn well, ond y mae yn ei llygru; oblegid ffyrdd y sarph ydyw y llwybrau troellog a cham yma, yr hon sydd yn ymlusgo yn wrthun ar ei thòr, ac nid ar draed. Nid oes yr un drwg ag sydd yn gorchuddio dyn â gwarth yn gymaint a'i gael allan yn dwyllodrus ac yn fradwrus; ac am hyny y mae Montaigne yn dyweyd yn dlws, pan y chwiliai am y rheswm dros fod gair y celwydd yn gymaint o waradwydd, ac yn gyhuddiad mor adgas,—'Os pwysir y peth yn iawn, y mae dyweyd fod dyn yn gelwyddog, yr un peth a dyweyd, ei fod yn wrol tuag at Dduw, ac yn llwfr tuag at ddyn; oblegid y mae celwydd yn wynebu Duw, ac yn ymguddio rhag dyn.' Yn ddiau nis gellir gosod allan y drygioni sydd mewn twyll ac anffyddlondeb yn fwy nag yn hyn—mai dyma fydd y llef olaf i alw barnau Duw ar genedlaethau dynion: gan ei fod wedi ei ragfynegi, pan 'y daw Crist' na chaiff efe 'ffydd ar y ddaear.'"—Bacon.

" * * * I'r un perwyl y mae mynegiad ein Hiachawdwr y cai y rhai a fyddent yn wir ddysgyblion iddo ef 'wybod y Gwirionedd,' ac y byddai i'r 'Gwirionedd eu rhyddhâu;' ac 'os ewyllysiai neb wneuthur ewyllys Duw, y cai efe wybod am y ddysgeidiaeth.' Nid oedd dynion i ddyfod yn ddysgyblion iddo Ef mewn canlyniad i wybod ac amgyffred gwirionedd yr hyn yr oedd efe yn ei ddysgu, ond mewn canlyniad i fod ganddynt onestrwydd digonol i dderbyn y dystiolaeth yr oedd ei wyrthiau yn ei rhoddi, a'u bod mor drwyadl 'o'r Gwirionedd' ag i roddi eu hunain i fyny i ganlyn hwnw i ba le bynag yr arweiniai, mewn gwrthwynebiad i unrhyw ragfarnau neu dueddiadau o'r eiddynt eu hunain; ac yna yr oedd gwybodaeth o'r gwirionedd i fod yn wobr iddynt. Nid oes unrhyw rinwedd moesol, o anghenrheidrwydd, mewn derbyn gwirionedd; oblegid gall ddygwydd fod ein helw, neu ein dymuniadau, yn yr un cyfeiriad; neu gall gael ei ddirgymhell arnom gan brofion mor anwrthwynebol a'r eiddo arbrofiad mewn mesuroniaeth. Y mae y rhinwedd yn gynnwysedig mewn bod yn ddysgybl cywir i'r Gwirionedd;—yr hyn y mae ein Harglwydd yn ei alw yn fod 'o'r Gwirionedd,'—gwrthod 'cuddiedig bethau cywilydd,' a gwylied yn ofalus rhag pob gogwydd anghywir. Y mae pob un yn dymuno cael Gwirionedd *o'i du ef;* ond nid pawb sydd yn dymuno yn gywir am fod *o du y Gwirionedd.*"—Whately.

## AM BRYSURDEB.

"Y mae prysurdeb ffugiol yn un o'r pethau mwyaf peryglus i waith a all fod: y mae fel yr hyn a eilw y meddygon yn dreuliad cyflym, yr hwn sydd yn sicr o lenwi y corff â llymrigion, a hadau dirgel afiechyd; gan hyny, mesurwch frys nid wrth yr amser y byddys yn eistedd, ond wrth y graddau y mae y gwaith yn myned yn ei flaen: ac fel mewn rhedegfeydd, nad y cam mawr neu y naid uchel sydd yn gwneyd y cyflymdra, felly mewn gwaith, cadw yn ddiwyd gyda'r peth, a pheidio cymeryd gormod o hono ar unwaith, sydd yn gwneyd i fyny brysurdeb. Nid yw rhai yn gofalu ond yn unig am ddyfod trwy y peth yn gyflym am y tro, neu lunio rhyw ysbeidiau twyllodrus mewn gwaith, fel y gallont ymddangos yn ddynion prysur: ond un peth ydyw talfyru trwy grynhöi, peth arall ydyw gwneyd hyny trwy dori ymaith; ac y mae gwaith a wneir felly ar amryw eisteddiadau neu adegau yn gyffredin yn myned yn ol ac ymlaen mewn modd ansefydlog. Adwaenwn ddyn doeth a arferai ddyweyd fel diareb, pan y gwelai ddynion yn brysio at derfyniad, 'Aroswch ychydig, er mwyn i ni orphen yn gynt.'

* Y bardd y cyfeirir ato yma ydyw Lucretius, a'r sect—yr Epicureaid.

"Ar y llaw arall, y mae gwir brysurdeb yn beth tra gwerthfawr; oblegid amser yw mesur gwaith, fel y mae arian yn fesur nwyddau; ac y mae gwaith yn cael ei brynu yn ddrud lle nad oes ond ychydig frys. Y mae y Spartiaid a'r Hispaeniaid wedi eu hynodi fel rhai o ychydig frys: 'Bydded i'm hangeu ddyfod o Spaen,'* oblegid felly bydd yn hir yn dyfod.

"Rhoddwch wrandawiad da i'r rhai a roddant yr hysbysrwydd cyntaf mewn achos neu orchwyl; a chyfarwyddwch hwynt yn y dechreu yn hytrach na myned ar eu traws ar ganol yr hyn a ddywedant; oblegid y mae yr un a roddir allan o'i ffordd yn myned yn ol ac ymlaen, ac yn myned yn fwy annyben tra y mae yn dysgwyl wrth ei gof, nag y gallasai fod pe buasai wedi myned ymlaen yn ei lwybr ei hunan. Ond weithiau gwelir fod y cymedrolwr yn fwy trafferthus na'r gweithredydd.

"Y mae ail-adroddiadau yn gyffredin yn goll amser: ond nid oes dim a ennill amser yn fwy nag adrodd yn fynych beth yw ystâd y cwestiwn, neu y pwnc dan sylw; oblegid ymlidia hyn lawer o siarad anmherthynasol pan y mae yn dechreu dyfod allan. Y mae siarad maith a chywrain mor anaddas i frys ag y buasai mantell gyda godre hirllaes i redegfa. Y mae rhagymadroddion, arweiniadau, ac ymesgusodion, a dulliau eraill o siarad mewn cyfeiriad at y person, yn goll mawr ar amser; ac er eu bod yn ymddangos yn tarddu o wylder, gwagfost ydynt. Er hyny, gochelwch fod yn rhy lawn o fater, neu yn rhy uniongyrchol, pan y mae unrhyw attalfa neu rwystr yn ewyllys dynion; oblegid pan y mae y meddwl wedi ei gymeryd i fyny o'r blaen, y mae yn rhaid wrth ragymadrodd i'r hyn a ddywedir, fel twymolchiad i wneyd i'r eli fyned i mewn.

"Uwchlaw pob peth, trefn a dosbarthiad a didoliad pob rhan ydyw bywyd prysurdeb, ond i'r dosbarthiad beidio bod yn rhy fanol; oblegid yr hwn nad yw yn dosbarthu nis gall byth fyned i mewn yn iawn i waith, a'r hwn sydd yn dosbarthu gormod ni ddaw byth yn glir allan o hono. Y mae dewis amser yn arbed amser; ac nid yw ysgogiad anamserol ond curo yr awyr. Y mae tair rhan mewn gwaith—y parotöad, y ddadl neu yr ymchwiliad, a'r gorpheniad,—yn yr hyn, os ydych am brysurdeb, gadewch i'r canol yn unig fod yn waith amryw, a'r cyntaf a'r olaf yn waith ychydig. Y mae myned ymlaen yn ol rhywbeth a fyddys wedi ei ysgrifenu yn fynych yn hyrwyddo prysurdeb; oblegid er i'r ysgrifen gael ei gwrthod yn hollol, eto y mae y peth nacäol hwnw yn llawnach o gyfarwyddyd na pheth anmhenodol, fel y mae lludw yn fwy cynnyrchiol na llwch."—Bacon.

"'*Amser yw mesur gwaith*,' &c.—Y mae rhai dynion yr hyn a elwir 'araf a sicr;' hyny yw, sicr, mewn amgylchiadau a oddefant ystyriaeth bwyllog; er eu bod yn gofyn am gymaint o amser i ffurfio barn gywir, a dyfeisio cynlluniau cywir, fel mewn amgylchiadau lle y mae anghen am weithrediad dioedi, y maent yn methu yn hollol. Arferai Buonaparte ddyweyd, mai un o'r cymhwysderau mwyaf pwysig mewn cådlywydd oedd gallu i wneyd mesuriad cywir o *amser*; oblegid os gall eich gelyn ddyfod â chåd nerthol i ymosod ar orsaf benodol ddeng mynyd yn gynt nag y gellwch chwi ddyfod a chåd ddigonol i'w hamddiffyn, yr ydych chwi wedi eich curo, hyd yn nôd pa mor dda bynag y gallai eich holl gynlluniau eraill fod.

"Felly hefyd, os goddiweddir chwi gan lifddwfr, treulio deng mynyd i benderfynu ar y ffordd oreu i ddianc, a all wneyd diangfa yn anmhosibl.

"Y mae rhai drachefn, yn hynod am feddwl dysglaer—dyfaliad craffus—cynllun cywrain yn cael ei daflu allan ar symbyliad y foment, ond naill ai ni chymerant amser iddynt eu hunain i ystyriaeth bwyllog mewn amgylchiadau pan nad oes dim brys, neu nid allant ystyried i bwrpas da. Gallant saethu wrth ehedeg, ond nis gallant anelu yn bwyllog at nôd.

"Ac y mae rhai drachefn a oedant ac a ystyriant, pan y mae brys yn hanfodol, a gwnant i fyny am hyn trwy gymeryd cam byrbwyll pan y mae ganddynt ddigon o amser o'u blaen; neu y maent yn gyntaf yn hyf, ac yna yn ochelgar; rhoddant yn gyntaf y dogn cryf, ac yna, pan nas gellir galw hyny yn ol, edrychant yn ofalus dafod a churiad gwaed y claf.

"Y mae yn werth sylw, fod rhai personau o'r fath duedd ag i fod bron yn analluog i *barhâu* mewn ammheuaeth ar unrhyw bwnc ag sydd heb fod yn hollol annyddorol iddynt. Y maent yn gwneyd eu meddyliau i fyny yn gyflym ar bob cwestiwn, ac yn dyfod i *ryw* benderfyniad, pa un bynag a fydd seiliau da iddo ai peidio. A chan

* Diareb.

farnu eraill wrthynt eu hunain—fel y mae dynion yn dueddol i wneyd, ymhob achos—y maent yn gyffredin yn anghoelio tystiolaethau mwyaf difrifol unrhyw berson a broffesa ei fod mewn cyflwr o ammheuaeth ar ryw gwestiwn; gan gymeryd yn ganiatäol os nad ydych yn mabwysiadu eu barn hwy, fod yn rhaid eich bod yn barnu yn wrthwyneb iddynt.

"Y mae eraill drachefn, y rhai a allant barhâu mewn ammheuaeth cyhyd ag y mae y rhesymau ar y ddwy ochr yn ymddangos yn hollol *gyfartal;* ond nid yn hŵy na hyny. Nis gall y cyfryw un, mor fuan ag y gwêl hyd yn nôd y gorbwysiad lleiaf o debygolrwydd ar un ochr i'r mater, lai na phenderfynu yn uniongyrchol, a chydag argyhoeddiad hollol ar yr ochr hono, mwy nag y gallai barhâu i sefyll ar ol colli ei gydfantoliad, mewn agwedd ogwyddedig fel y tŵr hynod yn Pisa. Ac o ganlyniad, bydd yn dueddol i ystyried addefiad fod y rhesymau braidd yn gryfach ar un ochr, yn gyfartal i benderfyniad sicr.

"Y mae y duedd i'r cyfryw gamgymeriad yn fwy, o herwydd fod cynifer o amgylchiadau, mewn ymarferiad, yn y rhai y mae yn hanfodol anghenrheidiol dyfod i benderfyniad *ymarferol*, hyd yn nôd pryd na bydd seiliau digonol dros deimlo yn *drwyadl argyhoeddedig* ei fod yr un cywir. Gall teithiwr fod mewn ammheuaeth pa un o ddwy ffordd a ddylai gymeryd, ac heb fod ganddo fodd i benderfynu gyda sicrwydd; ac eto, y mae yn rhaid iddo, ar antur, gymeryd un o honynt. Ac y mae yr un peth yn dygwydd mewn amgylchiadau aneirif mewn bywyd cyffredin, yn y rhai yr ydym dan anghenrheidrwydd yn ymarferol i wneyd ein meddyliau i fyny ar unwaith i gymeryd y naill gwrs neu y llall, hyd yn nôd pan nad oes seiliau digonol i argyhoeddiad trwyadl y rheswm.

"Y mae y gwendidau a grybwyllwyd yn perthynu i feddyliau *cyffredin*. Y mae nifer lai o bersonau, ymysg y rhai pa fodd bynag y gwelir cyfartaledd mwy o rai deallgar, yn dueddol i'r eithafnod gwrthwynebol; sef peidio a phenderfynu, cyhyd ag y mae rhesymau i'w cael o bob ochr, hyd yn nôd er y gall fod gorbwysiad amlwg a chryf o un ochr, ac hyd yn nôd pan y mae yr achos yn gyfryw ag sydd yn galw am benderfyniad ymarferol. Megys ag y mae y naill ddosbarth o ddynion yn rhuthro yn frysiog i gasgliad, ac yn cymeryd ond ychydig o drafferth gyda sylfeini, felly y mae y llall yn chwilio y sylfeini yn ofalus, ac yn meddwl rhy ychydig am gasgliadau. Y mae y naill yn penderfynu heb ymchwilio, a'r llall yn ymchwilio heb benderfynu.

"'*Gochelwch fod yn rhy lawn o fater,*' &c.—Y mae difynwyr yn sylwi mai nid yr ansawdd faethlawn ydyw yr unig elfen anhebgorol mewn ymborth,—fod gradd benodol o *eangiad* neu *ymlediad* y cylla yn anghenrheidiol i'w alluogi i weithredu gyda'i holl rym,—ac mai dyna y rheswm paham y mae yn rhaid rhoddi gwair neu wellt i geffylau yn gystal a cheirch, mewn trefn i wneyd i fyny y *swm* anghenrheidiol. Y mae rhywbeth sydd yn cyfateb i hyn yn cymeryd lle gyda golwg ar y cyffredinolrwydd o feddyliau,—y rhai ydynt yn analluog i dreulio ac ymsylweddu yr hyn a gyflwynir iddynt mewn cylch bychan iawn. Y mae llawer un yn alluog i dderbyn yr addysg hwnw oddiwrth gyfrol o faintioli cymedrol, yr hwn nas gallai ei dderbyn oddiwrth draethodyn pur fychan, hyd yn nôd er iddo fod wedi ei ysgrifenu yn fwy eglur, ac yn cynnwys pobpeth sydd i'r pwrpas. Y mae yn anghenrheidiol i'r sylw gael ei ddal am ryw gymaint o amser ar y pwnc; ac y mae dynion o feddwl anathronaidd, er y gallant dalu sylw i'r hyn a glywant neu a ddarllenant, eto yn annhueddol i aros gydag ef mewn ffordd o fyfyrdod ar ol hyny."—WHATELY.

Onid oes yn y dyfyniad olaf hwn addysg dda i'w chael, gyda golwg ar gyfansoddi pregethau? Er mor ddymunol ac anhebgorol ydyw *mater* a *meddwl,* y mae yn bosibl i'r bregeth fod yn rhy lawn o fater. Y mae rhyw *golden medium*—rhyw lwybr canol gyda hyn, fel pob peth arall bron. Os bydd y bregeth yn amddifad o feddwl a sylwedd, y mae yn rhy ysgafn—aiff fel yna gyda'r gwynt. Ond ar y llaw arall, os bydd ynddi ormod o fater, y mae yn rhy drom i'r elfen y bwriadwyd hi iddi. Y mae yn rhaid fod rhyw gydbwysedd priodol rhwng y bregeth a dealltwriaethau y gwrandawyr—rhyw *specific gravity* meddyliol, cyn y gwna y bregeth *nofio* yn hyfryd ac i bwrpas. Nid yr unig na'r prif amcan mewn pregethu ydyw goleuo y deall; y mae hwn yn amcan pwysig, y mae yn wir; a gellir yn bur sicr benderfynu os na bydd yn y bregeth rywbeth i'r deall, na fydd

ond ychydig iawn ynddi i unrhyw allu arall yn yr enaid. Ond y mae yr amcan hwn yn bwysig, am ei fod yn wasanaethgar i amcan uwch; yr amcan hwnw ydyw dwyn y gwirionedd i gyfarfyddiad â'r gydwybod, i ddylanwadu ar y serchiadau, i ddarostwng yr ewyllys—mewn gair, cyfnewid yr enaid, o ran ei gyflwr a'i gymeriad moesol. O ganlyniad, y mae yn rhaid ymhelaethu, egluro, cymhwyso. Nid dyweyd y nifer fwyaf sydd bosibl o wirioneddau neu osodiadau yn y gyfran leiaf sydd yn bosibl o amser; ond cyflwyno y gwirionedd yn y wedd fwyaf effeithiol i sicrhâu ei *ddylanwad* ar y meddwl. Nid dyweyd wrth y dyn, yn gymaint, wirionedd na wyddai o'r blaen, ond agor, dadblygu, a *dangos* cynnwys y gwirionedd hwnw iddo, nes ei ddwyn i *deimlo* oddiwrtho fel na theimlodd erioed o'r blaen. Y mae y bregeth yn arbenig i fod yn ddadblygiad (*developement*) o'r testun, ac o'r gwirionedd sydd ynddo, neu a ellir ei sylfaenu arno. Dyma, dybygem, ydoedd y neillduolrwydd mawr yn mhregethau Dr. Chalmers ag ydoedd yn gwneuthur y traddodiad o honynt mor dra effeithiol, hyd yn nôd er mai eu darllen y byddai. Y mae yn wir y byddai yn rhyfygus i neb ymdroi cyhyd gydag unrhyw egwyddor neu wirionedd ag y mae efe yn gwneyd, heb fod yn meddu yr un gallu ag oedd ganddo ef i daflu newydd-deb parhâus arno; ond y mae yn ddiau fod rhywbeth o hyn yn anghenrheidiol i bawb tuag at ennill sylw at y gwirionedd, a sicrhâu ei effeithioldeb ar y meddwl. Y mae i'r bregeth fod yn arwynebol—yn amddifad o fater a meddwl, yn peri ei bod yn ddiffygiol yn yr elfen o unoliaeth sydd yn anghenrheidiol i ddal ei gwahanol ranau wrth eu gilydd fel ag i wneyd i fyny un cyfanwaith; ond ar y llaw arall, fel y clywsom y prif-fardd athrylithgar o Glynog unwaith yn sylwi,—" Ni ddylai y bregeth fod yn rhy *dèn;* y mae yn rhaid iddi fod yn weddol *lac,* cyn y gall y gwrandawyr ymaflyd ynddi a'i defnyddio."

## AM EFRYDIAU.

"Y mae efrydiau yn wasanaethgar er hyfrydwch, er addurn, ac er defnydd. Eu prif wasanaeth er hyfrydwch, sydd mewn neillduedd neu unigrwydd; er addurn, mewn ymddyddan; ac er defnyddioldeb, mewn barn a chyflawniad gwaith; oblegid gall dynion medrus weithredu, ac fe allai farnu, mewn neillduolion, bob yn un ac un; ond y mae y cyfarwyddiadau cyffredinol, a chynlluniad a threfniad achosion, yn dyfod yn oreu oddiwrth y rhai ydynt ddysgedig. Y mae treulio gormod o amser mewn efrydiau, yn ddiogi; y mae eu defnyddio yn ormod er addurn, yn rhodres; y mae ffurfio barn yn hollol wrth eu rheolau, yn fympwy ysgolaig; y maent yn perffeithio natur, ac yn cael eu perffeithio gan brofiad—oblegid y mae galluoedd naturiol fel planigion naturiol, yn gofyn eu hysgythru trwy efrydiaeth; ac y mae efrydiau eu hunain yn rhoddi cyfarwyddiadau yn rhy gyffredinol, oddieithr iddynt gael eu cyfyngu gan brofiad. Y mae dynion dichellgar yn dirmygu efrydiau, dynion diddysg yn eu rhyfeddu, a dynion doeth yn eu defnyddio; canys nid ydynt yn dysgu eu defnydd eu hunain; ond y mae hono yn ddoethineb y tu allan iddynt, ac uwchlaw iddynt, i'w hennill trwy sylwadaeth. Na ddarllenwch i wrthddadleu a gwrthbrofi, nac i gredu a chymeryd yn ganiatâol, nac i gael defnydd siarad ac ymddyddan, ond i bwyso ac ystyried. Y mae rhai llyfrau i'w harchwaethu, ereill i'w llyncu, a rhyw ychydig i'w cnoi a'u treulio: hyny yw, y mae rhai llyfrau i'w darllen yn unig mewn rhan; ereill i'w darllen, ond nid yn fanwl; a rhyw ychydig i'w darllen yn gyflawn, a chyda diwydrwydd a manylder. Gellir darllen rhai llyfrau hefyd trwy ddirprwyaeth, a dyfyniadau o honynt gael eu gwneyd gan ereill; ond ni ddylai hyny fod ond yn unig yn y materion lleiaf eu pwys, a chyda'r math distadlaf o lyfrau; oddigerth hyny, y mae llyfrau distylledig, fel dyfroedd distylledig cyffredin, yn bethau disylwedd. Darllen sydd yn gwneuthur dyn cyflawn, ymddyddan sydd yn gwneuthur dyn parod, ac ysgrifenu ddyn manwl; ac felly os na ysgrifena dyn ond ychydig, y mae yn rhaid iddo

wrth gôf cryf; os na ymddyddana ond ychydig, y mae yn rhaid iddo wrth ffraethineb parod; ac os na ddarllena ond ychydig, y mae yn rhaid iddo wrth lawer o gyfrwysdra, i ymddangos ei fod yn gwybod yr hyn nad ŵyr. Y mae hanesiaeth yn gwneuthur dynion yn ddoeth; barddoniaeth yn ffraeth; mesuroniaeth yn dreiddgar; athroniaeth naturiol yn ddwfn; moesddysg yn ddifrifol; rhesymeg a rheitheg yn alluog i ymddadleu. '*Abeunt studia in mores*'—'y mae efrydiau yn dylanwadu ar ymddygiadau,' ïe, nid oes yr un rhwystr neu attalfa yn y meddwl, nas gellir ei weithio allan trwy efrydiau cymhwys, megys ag y mae ymarferiadau priodol i glefydon y corff—y mae pêl-dreigliad yn dda i ddolur y gareg, saethu i'r ysgyfaint a'r ddwyfron, cerdded cymedrol i'r cylla, marchogaeth i'r pen, a'r cyffelyb; felly, os bydd meddyliau dyn yn grwydredig, bydded iddo efrydu mesuroniaeth, oblegid mewn arbrofion, os ä ei feddwl ymaith pa mor ychydig bynag, y mae yn rhaid iddo ail ddechreu; os na fydd ei feddwl yn alluog i wahaniaethu ac i fanylu, bydded iddo efrydu y *schoolmen*, oblegid y maent hwy yn '*cymini sectores*' (holltwyr cymin); os na bydd yn alluog i guro dros faterion, ac i alw ar y naill beth i brofi ac egluro y llall, bydded iddo efrydu achosion cyfreithiol—felly gall pob diffyg o eiddo y meddwl gael cyfarwyddyd penodol."—BACON.

"'*Y mae dynion dichellgar yn dirmygu efrydiau,*' &c.—Y mae y dirmyg hwn, pa un bynag ai o eiddo dynion dichellgar, ai ynte rhai culion eu meddyliau, yn cael ei amlygu trwy y gair '*smattering*' (h. y., dysgeidiaeth fâs ac arwynebol); ac y mae y ddwy linell hyny bron wedi dyfod yn ddiareb,"—

"A little learning is a dangerous thing;
Drink deep, or taste not the Pierian Spring."

Mewn Cymraeg rhydd, fel hyn:—

"Y mae ychydig ddysg yn beth peryglus;
Yfwch yn ddwfn, neu nac archwaethwch ffynnon Pieria."

"Ond y mae y naill a'r llall o feddyginiaethau y bardd rhag peryglon ychydig ddysg yn anmhosibl. Nis gall neb 'yfed' mor 'ddwfn' fel ag i fod, mewn gwirionedd, yn ddim ond yn bur arwynebol; ac y mae yn rhaid i bob bôd dynol, sydd heb fod yn hurtyn perffaith, *archwaethu*.

"Y mae yn amlwg yn anmhosibl i'r un dyn gyrhaedd gwybodaeth o bob peth sydd i'w wybod, ar *bob* pwnc. Ond ai y meddwl ynte ydyw, ei fod i feddu gwybodaeth berffaith o bob pwnc neillduol am yr hwn y mae yn dysgu rhywbeth o gwbl? Yma gellir yn deg ofyn, pa beth ydyw y 'perffaith?'—pa faint o wybodaeth sydd i'w galw yn 'ychydig' neu yn 'llawer?' Oblegid, mewn rhai gwybodaethau, y mae hyd yn nôd cyrhaeddiadau uchaf y rhai mwyaf gwybodus, ganrif a hanner yn ol, yn syrthio yn fyr o ddyfod i fyny â'r hyn sydd yn hyddysg gan lawer geneth ieuanc yn yr ysgol yn awr. Ac y mae yn debyg y bydd cenedlaethau dyfodol, mewn canrif a hanner eto, yn llawn cymaint ymlaen arnom ninnau. Ac yn y rhan fwyaf o bynciau, nid yw y wybodaeth eithaf a all unrhyw ddyn ei chyrhaeddyd, ond 'ychydig ddysg' mewn cymhariaeth â'r hyn y mae yn aros yn anwybodus o hono. Y mae yr olygfa yn gyffelyb i'r un mewn coedwig Americanaidd, yn yr hon po fwyaf o goed y mae y dyn yn eu tori i lawr, mwyaf yn y byd ydyw yr ëangder o goed y mae yn ei ganfod o'i amgylch.

"Ond tybiwch eich bod yn darnodi y 'llawer' a'r 'ychydig' fel yn cyfeirio at ystâd bresennol gwybodaeth yn yr oes a'r wlad hon, a wnai rhywun mewn sobrwydd gynghori y rhai nad ydynt yn gampwyr mewn seryddiaeth i aros mewn anwybodaeth pa un ai y ddaear sydd yn symud ai yr haul?—os nad ydych yn feistr cyflawn ar amaethyddiaeth, mor bell ag y mae yn cael ei deall yn bresennol, nad oes un lles mewn gwybod y gwahaniaeth rhwng gwenith a haidd?—os nad ydych yn Roegwr fel Porson, y byddai yn well i chwi beidio dysgu cystrawn y Testament Groeg?

"Y mae annogaeth arall y bardd, 'nac archwaethwch,' hyny yw, na fydded genych ddim dysg,—yr un mor anmhosibl. Y gwirionedd ydyw, y mae gan bawb, a dylai fod gan bawb, wybodaeth fechan ac arwynebol—'*smattering*,' os mynwch—o fwy o bynciau nag y mae yn bosibl i'r efrydydd mwyaf diwyd eu gwybod yn drwyadl. Y mae yn bur bosibl, ac hefyd yn bur ddefnyddiol, i gael y *smattering* ysgafn hwnw o fferylliaeth a alluoga un i wahaniaethu y suranig (*oxalic acid*) oddiwrth yr halenau a ddefnyddir mewn meddygiaeth, â'r hwn, trwy gamgymeriad, y cafodd llawer o ber-

sonau eu gwenwyno. Eto, heb fod yn llysieuydd enwog, gall person wybod—yr hyn sydd o'r pwys mwyaf i'w wybod—y gwahaniaeth rhwng ceirios *(cherries)* âg aeron y codwarth marwol; o ddiffyg gwybod yr hyn cafodd llawer o fywydau eu colli."* * * —WHATELY.

## AM DDRWGDYBIAETH.

"Y mae Drwgdybiau ymhlith meddyliau yn gyffelyb i ystlumod ymhlith adar—y maent bob amser yn ehedeg yn y cyfnos; yn ddiau, dylent gael eu hattal, neu, o leiaf, eu gwarchod yn ofalus, oblegid y maent yn cymylu y meddwl, yn colli cyfeillion, ac yn dyrysu gwaith, ac yn ei attal rhag myned ymlaen yn rheolaidd a chyson; y maent yn tueddu breninoedd at ormes, gwŷr at eiddigedd, dynion doeth at dymher anmhenderfynol a phruddglwyfus; y maent yn ddiffygion, nid yn y galon, ond yn y pen, oblegid y maent i'w cael yn y rhai sydd yn meddu y natur fwyaf gwrol, fel yn achos Harri VII. o Loegr. Nid oedd dyn mwy drwgdybus na mwy gwrol; ac yn y cyfryw gyfansoddiad ni wnant ond ychydig o niwed, oblegid yn gyffredin ni ddербynir hwynt ond ar ymchwiliad pa un a ydynt yn debygol ai peidio; ond mewn rhai o natur ofnus, y maent yn ennill tir yn rhy gyflym. Nid oes dim a wna i ddyn ddrwgdybio llawer, yn fwy na gwybod ychydig; ac, am hyny, dylai dynion wella drwgdybiaeth trwy ymdrechu gwybod mwy, a pheidio cadw eu drwgdybiau mewn dirgelwch. Pa beth a fynai dynion gael? A ydynt yn meddwl fod y rhai a roddant ar waith, a'r rhai y maent yn ymwneyd â hwynt, yn saint perffaith? Onid ydynt yn meddwl y mynant gael eu hamcanion eu hunain, ac y byddant yn fwy ffyddlawn iddynt eu hunain nag iddynt hwy? Felly nid oes yr un ffordd well i gymedroli drwgdybiau, na thrwy gyfrif ar y drwgdybiau hyny fel pe byddent yn wir, ac eto i'w ffrwyno fel pe byddent yn gau; oblegid dylai dyn wneyd y defnydd hwnw o ddrwgdybiau cân belled ag i ddarparu, pe byddai i'r peth y mae yn ei ddrwgdybio fod yn wir, eto na wnai ddim niwed iddo. Y drwgdybiau y mae y meddwl yn eu casglu o hono ei hunan, nid ydynt ond sïau *(buzzes)*; ond y drwgdybiau a fegir yn gelfyddgar, ac a roddir yn mhenau dynion trwy chwedlau a hustyngau eraill, y mae ganddynt golynod. Yn ddiau, y ffordd oreu i glirio y ffordd yn y goedwig hon o ddrwgdybiaeth, ydyw eu hamlygu yn rhydd i'r person a ddrwgdybir; oblegid trwy hyny y mae y dyn yn sicr o wybod yn well am y gwirionedd o honynt, nag y gwyddai o'r blaen, ac hefyd gwna hyny y person hwnw yn fwy gochelgar, i beidio rhoddi achos pellach o ddrwgdybiaeth; ond ni ddylid gwneyd hyn â dynion o natur iselwael, oblegid, os gwêl y rhai hyn unwaith eu bod yn cael eu hammheu, ni fyddant byth yn ffyddlawn. Y mae yr Italiad yn dyweyd, fod 'drwgdybiaeth yn rhyddhâu ffydd;' fel pe byddai drwgdybiaeth yn rhoddi teitheb i ffyddlondeb; ond dylai yn hytrach ei gynneu i'w egluro ei hunan."—BACON.

"Megys ag y mae rhai personau o olwg pŵl, y rhai ydynt yn byw mewn math o *gyfnos* gwastadol, felly y mae rhai, heb fod ganddynt lawer o glirder yn eu pen, na thôn ddyrchafedig o foesoldeb, ydynt yn cael eu blino yn wastadol gan ddrwgdybiau ynghylch pawb a phobpeth. Y mae y cyfryw ddyn—gan farnu eraill i fesur mawr wrtho ei hunan—yn priodoli dybenion gau a hunangar i bawb. O ganlyniad, gan nad oes ganddo fawr o ffydd yn ei dreiddgarwch ei hunan, ni rydd ymddiried i neb am gymeriad agored a didwyll, ac a ddrwgdybia bob amser ryw ymarferiadau llechwraidd yn mhawb, hyd yn nôd pan nas gall ganfod dyben i ymddygiad felly, a phan nad oes dim yn nghymeriad y dyn yn rhoddi sail i ddrwgdybiaeth ('drwgweithredwyr ydynt ddrwgdybwyr).' O'r tu arall, y mae un sydd yn meddu gradd ganolig o wybodaeth, ag sydd ei hunan yn hollol ddidwyll, i fesur mawr yn rhydd oddiwrth y boenedigaeth hon. Y mae efe yn gwybod, trwy ymwybodolrwydd, fod *un* dyn gonest yn y byd; ac ystyria ef yn beth tra annhebyg nad oes dim *ond* un. Efe a edrycha gan hyny yn ofalus i gymeriad ac ymddygiad cyffredinol y rhai y mae ganddo i ymwneyd â hwynt; gan ddrwgdybio y rhai hyny, a'r rhai hyny yn unig, ag ydynt wedi rhoddi rhyw brofion o ddiffyg dihocedrwydd a chywirdeb, gan ymddiried i'r rhai hyny ag ydynt wedi rhoddi prawf o gymeriad gwrthwyneb, a chan gadw ei farn heb ei ffurfio am y rhai hyny nad oes ganddo wybodaeth ddigonol yn eu cylch. Y mae gan y cyfryw ddyn well adnabyddiaeth o'r natur ddynol nag sydd gan un arall cyfartal iddo mewn profiad a challineb, ond o nodweddiad moesol isel. Oblegid y mae y blaenaf yn gwybod *fod* twyllwyr yn y byd; ac y mae yn gwybod hefyd fod dynion gonest;

tra y mae yn anhawdd gwneyd i'r llall gredu fod gonestrwydd gwirioneddol mewn bod." * * * * * *—WHATELY.

Er mor gynnwysfawr ac awgrymiadol ydyw y "Traethodau," y mae Bacon mewn gwaith arall o'i eiddo, sef yr un ar Reitheg *(Rhetoric)*, wedi gwasgu cynnwys y rhan fwyaf o honynt i lai o le fyth. Y mae yn y gwaith hwnw wedi cyfansoddi brawddegau byrion cyferbyniol, i osod allan yn y nifer leiaf o eiriau sydd yn bosibl, yr hyn a ellir ei ddyweyd mewn ffordd o ymresymiad neu eglurhâd ar y ddwy ochr i wahanol faterion; fel ag i roddi y darllenydd yn sefyllfa barnwr, i bwyso y rhesymau a'r tystiolaethau a ddygir ymlaen ar y ddau du i'r ddadl, ac yna i benderfynu ar ba ochr y mae gwirionedd y pwnc yn gorwedd. Geilw Bacon y brawddegau cyferbyniol hyn yn "*Antitheta;*" ac y mae yr Archesgob Whately wedi dethol lliaws o honynt a'u gosod mewn ffordd o Attodiad wrth y gwahanol draethodau â materion y rhai y maent yn dwyn cysylltiad. Yr ydym ninnau yn awr yn dwyn y gyfres hon o erthyglau i derfyniad, trwy wneuthur dyfyniadau o'r brawddegau hyn. Nid ydynt yn cael eu gosod yma, dealler, yn gyferbyniol; ond tynir hwynt allan o'r cyferbyniad yn hollol, am y gellir gwneyd hyny â lliaws o honynt heb niweidio dim ar eu hystyr; gan eu bod yn fynych yn osodiadau ag ydynt yn cynnwys gwirioneddau annibynol, ac yn cael ei cyflwyno mewn ffurf hynod o darawiadol a chynnwysfawr.

"Dirgelwch yw clawdd ein cynlluniau."

"Nid yw bod heb wraig a theulu yn gymhwysder i ddim ond i redeg ymaith o'r wlad."

"Wrth redeg eu gyrfa, y mae dynion o wsedoliaeth yn edrych yn ol yn rhy fynych, yr hyn sydd yn arwydd o redegwr gwael."

"Cyfraith yn cael ei gosod ar yr arteithglwyd yw y ffurf waethaf o ormes."

"Dylai ystyr y cyfan gael ei gymeryd i esbonio pob gair unigol."

"Pa gelfyddyd erioed a ddysgodd i ni yr iawn ffordd o ddefnyddio celfyddyd?"

"Wrth ddarllen, yr ydym yn cymdeithasu â'r doeth; ond yn ngorchwylion bywyd, yn gyffredin, â'r ynfyd."

"Y mae cyfoeth yn forwyn dda, ond yn feistres ddrwg."

"Y rhai sydd yn dirmygu cyfoeth yw y rhai sydd yn anobeithio ei gyrhaedd."

"Yr unigrwydd gwaethaf yw bod heb gyfeillion gwirioneddol."

"Nid oes yr un nwyd ddynol mor wan a dirmygus nad ellir yn hawdd ei chryfhâu i'r fath raddau ag i orchfygu ofn angeu."

"Y mae Tynged yn fynych yn *gwerthu* i'r prysur yr hyn y mae yn ei *roddi* i'r sawl sydd yn aros."

"Y mae Cyfleusdra, fel y Sibyl, yn lleihâu ei hoffrwm, ac yn chwanegu ei phris, ar bob ymweliad."

"Canmoliaethau ydynt belydrau rhinwedd yn cael eu hadlewyrchu."*

"Y mae enwogrwydd fel afon, yn dal i fyny yr hyn sydd ysgafn, ond yn suddo yr hyn sydd sylweddol."*

"Y rhinweddau isaf, y mae y cyffredin yn eu canmol; y rhai canol y maent yn eu rhyfeddu; am y rhai uchaf nid oes ganddynt yr un ddirnadaeth."

"Yr unig bleser cydweddol â natur yw yr un nad wyr am ddiflasdod."

"Nid oes llawer o wahaniaeth rhwng meddwl yn dda a breuddwydio yn dda."

"Y mae pethau o honynt eu hunain yn cyfnewid er gwaeth; am hyny os na fydd i ni o fwriad eu cyfnewid er gwell, y mae yn rhaid i ddrygau amlhâu yn ddiddiwedd."

"Yr un sydd yn gwrthod gwelliadau newyddion, rhaid iddo ddysgwyl drygau newyddion."

"Yr ydym yn meddwl yn unol â'n natur; yn siarad yn unol âg addysg; ond yn gweithredu yn unol âg arferiad."

"Mor druenus yw yr hwn nad oes ganddo bron ddim i'w obeithio, a llawer o bethau i'w hofni."

* Gwelir fod y ddwy frawddeg hon yn gyferbyniol—un yn dyrchafu a'r llall yn darostwng clod neu enwogrwydd.

"Y mae mwynhâu dedwyddwch yn ddaioni mawr; ond y mae bod yn alluog i'w weinyddu hefyd i eraill yn ddaioni mwy."

"Ffurfiau ydynt y cyfieithiad o rinwedd i'r iaith gyffredin."

"Megys ag y mae epa yn fwy gwrthun o herwydd ei debygrwydd i ddyn, felly y mae ofergoeledd o herwydd ei debygrwydd i grefydd."

"Y mae ymlyniad ystyfnig wrth hen ymarferiadau yn meithrin terfysg yn gymaint a dygiad i mewn bethau newyddion."

"Y mae rhinweddau ag ydynt yn y golwg yn cael clod; ond yr hyn a elwir ffawd sydd ffrwyth rhinweddau o'r golwg."

"Ieuenctyd yw y maes i hadau edifeirwch."

"Y mae diystyrwch ar farn yr hen wedi cael ei blanu yn yr ieuanc, mewn trefn i bob un gael ei ddedfrydu i ddysgu doethineb ar ei draul ei hun."

"Y mae yn waradwyddus i garwr y foneddiges wneuthur carwriaeth i'w llawforwyn; yn awr, nid yw clod ond llawforwyn rhinwedd."

"Po fwyaf naturiol i ddyn ydyw dial, mwyaf oll y dylai gael ei ffrwyno."

---

# AFFRICA A DR. LIVINGSTONE.

[MISSIONARY TRAVELS AND RESEARCHES IN SOUTH AFRICA; *including a Sketch of Sixteen Years' Residence in the Interior of Africa, and a Journey from the Cape of Good Hope to Loanda on the West Coast; thence across the Continent, down the River Zambesi, to the Eastern Ocean. By* DAVID LIVINGSTONE, L.L.D., D.C.L.]

PAN oedd y flwyddyn un mil wyth cant a deg a deugain yn tynu at ei therfyn, a phan oeddem ninnau yn darparu erthygl i'r TRAETHODYDD erbyn mis Ionawr yn y flwyddyn ddilynol, ysgrifenasom fel y canlyn:—

"Y mae yn haws cylchforio Affrica, er anhawdded yw hyny, na dywedyd pa beth sydd o'i mewn hi. Nid oes un rhan o'r ddaear ag y gŵyr y rhanau eraill cŷn lleied am dani â hi. Y mae y rhanau gogleddol o'r Aipht i Morocco, ar hyd glànau Môr y Canoldir, yn bur adnabyddus. Y mae genym gryn wybodaeth am y pegwn main deheuol, trwy sefydliad Penrhyn Gobaith Da, a mwy trwy lafur cariad cenadau hêdd. Gwyddys rywfaint am yr ystlysau dwyreiniol a gorllewinol ar hyd glànau y moroedd. Ond O! y perfeddion! y canolbarth mawr annherfynol braidd! Pa beth sydd yno? Y mae yn cael ei adael yn wŷn yn ein mapiau goreu a diweddaraf. Nid oes un llythyren ganddynt yno, ond '*unknown parts.*' Y mae edrych arnynt yn abl gwneyd ein calon yn glaf. Y mae poethder llosgadwy yr hinsawdd—yr anhawsder i gael lluniaeth, yn enwedig dwfr, yn yr anialdiroedd meithion—y perygl o deithio ymysg peth afrifed o fwystfilod rheibus a gwancus, ac ymysg dynion mor rheibus a gwancus â hwythau, wedi bod yn rhwystrau hyd yn hyn ar ein ffordd i wybod beth sydd yn y canolbarth. Llawer un o blant brwdfrydig gwyddoreg Ewrop a anturiasant i'r canolbarth dirgelaidd arswydol, ac ni welwyd mo honynt byth mwy."

Fel hyn yr ysgrifenasom yn niwedd y flwyddyn 1850, ac fel hyn yr argraffwyd yn y TRAETHODYDD yn y Rhifyn am Ionawr, 1851, ac fel hyn

yr oedd pethau yn sefyll y pryd hwnw. Ond y mae cyfnewidiad mawr wedi cymeryd lle oddiar hyny. Bydd y mapiau o Affrica o hyn allan yn dra gwahanol i'r hyn ydynt wedi bod hyd yn hyn. Gwir yw, na byddant eto yn gwbl, nac yn agos i gwbl, frithion. Rhaid am ryw gymaint o amser eto nodi darn helaeth iawn yn y canolbarth fel "rhanau anadnabyddus." Ond y mae y darn hwnw yn llawer llai nag y bu, ac y mae hyny ynddo ei hun yn beth hapus; a'r hyn sydd yn ei wneuthur yn hapusach fyth ydyw y gobaith y mae yn ei ddal o'n blaen am y dyfodol. Y mae llawer eisoes wedi ei ddwyn i oleuni, ac y mae hyny wedi dysgu i'r byd fod dwyn y *cwbl* i oleuni yn beth posibl; ac nid hyny yn unig, ond hefyd wedi sicrhâu i'r byd mai dwyn y cwbl i oleuni a wneir. Ymddangosai y rhwystrau ar ffordd darganfyddiad Affricaidd yn anorchfygol. Safai y canolbarth tywyll gan herio cyfoeth ac athrylith, a nerth ac ysbryd anturiaethus y byd gwareiddiedig. Dywedai wrth bob anturiwr, "Hyd yma y deui, ac nid ymhellach;" ac yr oedd rhai wedi myned i led dybied mai felly yr oedd yn rhaid i bethau fod. Ond yn awr, y mae ei derfynau wedi eu cyfyngu—y mae darn helaeth o'i diriogaeth wedi ei hennill—y mae wedi gorfod tynu ei amddiffynfëydd yn ol gannoedd o filldiroedd—y mae y fyddin nerthol o rwystrau a safent ar ffordd darganfyddiad yn Affrica wedi colli eu *prestige*; nid oes neb mwy yn tybied eu bod yn anorchfygol. Oes, y mae buddugoliaeth fawr wedi ei hennill, ac y mae hono yn ernes o'r hyn sydd yn ol. Y mae pawb yn gwybod bellach y gorchfygir pob rhwystrau, ac nad yw yr amser ymhell pan y daw yr hyn sydd yn ol o dywyll-leoedd Affrica i oleuni y dydd.

Am hyn oll y mae y byd yn ddyledus i ysbryd anturiaethus a phenderderfyniad diysgog y gŵr a adwaenir wrth yr enw clodfawr sydd wrth ben ein hysgrif—David Livingstone. Dywedasom, "ei ysbryd anturiaethus" a'i "benderfyniad diysgog;" ond rhaid i ni ddywedyd mwy na hyny. Nid yw hyny ond rhan o'r gwirionedd. Derbyniai ei anturiaeth a'i benderfyniad eu nerth oddiwrth ei gariad dwfn at ddynoliaeth, a'i awydd angerddol i ledanu y wybodaeth am Waredwr. Yn cael ei gymhell gan gariad Crist, ymdaflodd wrtho ei hun i'r tywyllwch dudew, gan feiddio pob perygl—gan feiddio marwolaeth ei hunan. Bu yno yn gladdedig am dair a hanner o flynyddoedd. Am lawer o'r amser hwnw nid oedd neb o'i gyfeillion, nid oedd un dyn gwŷn yn yr holl fyd, yn gwybod beth oedd wedi dygwydd iddo. Ofnai rhai ei fod yntau wedi ei golli. Ond i'r golwg y daeth, a daeth â thrysorau o hysbysrwydd am wledydd ëang, a llwythau lliosog, ac afonydd mawrion, gydag ef, o'r fath nas cafodd y byd gwareiddiedig o'r blaen oddiar ddyddiau Christopher Columbus. Yn fuan wedi ei ymddangosiad yn Quilimane, wrth wddf y Zambesi, lle yr ymarllwys yr afon hono i Fôr India, ehedodd y sôn am dano ef a'i ddarganfyddiadau i holl barthau Ewrop ac America, gan grëu syndod a llawenydd ymhob man. Ymhen ychydig amser, daeth yma ei hunan, ac y mae blynyddoedd lawer wedi myned heibio oddiar pan gawsai un dyn arall y fath dderbyniad ag a gafodd ef; yn wir, ychydig o ddynion a gawsant y fath dderbyniad yn Mhrydain erioed. Ystyriai pob un ef yn fraint cael golwg arno. Yr oedd dyn wedi bod yn y Brifddinas yn ystyried fod ganddo rywbeth mawr i'w ddywedyd wrth ei gyfeillion gartref, os gallai ddywedyd ei fod wedi gweled Livingstone. Yr oedd wedi gweled y Palas Grisial, wedi gweled y *Leviathan*, y pryd hwnw heb ei gorphen, ac yn cael ei hadwaen wrth enw arall;

yr oedd wedi gweled dau dŷ y Senedd o fewn ac o faes; yr oedd wedi gweled Arglwydd Palmerston, ac wedi ei glywed yn siarad; yr oedd wedi gweled ei Mawrhydi y Frenines yn rhodio yn *St. James's Park;* ond uwchlaw y cwbl, yr oedd wedi gweled Livingstone. Dr. Livingstone oedd testun yr ymddyddan ymhob cylch. Nid oedd nemawr o bapyr newydd dyddiol nac wythnosol, na chyhoeddiad misol na chyfnodol o un math yn ymddangos y pryd hwnw—nad oedd ynddo rywbeth am Dr. Livingstone—ciniaw iddo ef, neu dderbyniad iddo ef, neu gyfarfod wedi ei alw i dalu gwarogaeth iddo ef, neu ryw arwydd arall o barch iddo ef, neu ryw chwedl am dano ef pan yn fachgen yn yr Alban, neu yn ddyn yn Affrica, neu yn rhywbeth yn rhywle rhwng y ddau. Talai masnach warogaeth iddo, oblegid agorasai feusydd ëang ac ennillfawr iddi hi. Talai gwyddiant iddo barch, oblegid chwanegasai yn ddirfawr at ei thrysorau hi. Yr oedd crefydd yn foddlawn i weled pawb fel hyn yn ei anrhydeddu, a gosodai hithau ar ei ben y fath goron a'r nas gallasai neb arall ei gosod byth; oblegid yr oedd wedi agoryd ffordd iddi hi i gludo ei thrysorau anmhrisiadwy i fyrddiynau o ddynion ar ddarfod am danynt. Yr oedd holl sefydliadau gwyddorol a chrefyddol y deyrnas hon, a holl deyrnasoedd gwareiddiedig y byd, yn cyd-uno i wneyd eu heithaf i anrhydeddu darganfyddwr mawr y pedwerydd canrif ar bymtheg.

Fe allai y goddef ein darllenwyr i ni droi ychydig oddiar y ffordd—os ydym yn troi oddiar y ffordd hefyd—i ddywedyd ein bod yn teimlo yn llawen ac yn ddiolchgar—buom ymron dywedyd ein bod yn teimlo yn falch, ac fe allai fod rhyw ychydig o hyny yn ymgymysgu â'n teimladau, ond gobeithio yr ydym ei fod o'r fath benodol hyny a eilw rhai o'n cyfeillion yn "falchder da." Wele, yr ydym yn teimlo yn llawen a diolchgar, a mwy na hyny, fod y gorchestion yma wedi eu gwneuthur gan weinidog efengylaidd, a bod yr holl anrhydedd hwn wedi ei dalu i un o genadau y groes. Mewn cyfarfod cyhoeddüs a gynnaliwyd yn fuan wedi dychweliad Dr. Livingstone, nid ymhell o'r fan lle yr ydym ni yn ysgrifenu, siaradai offeiriad parchus yn hyawdl am y darganfyddwr a'i ddarganfyddiadau, a dadganai ei ddysgwyliad y byddai i'r byd dderbyn bendithion annhraethol trwyddynt; ond yr oedd un peth am dano, yr hyn oedd yn ei flino, a'r peth hwnw ydoedd ei fod yn Ymneillduwr. Dilynwyd ef gan un parchedig yn perthyn i enwad arall. Cydunai efe yn galonog â'r hyn oll a ddywedasid am Dr. Livingstone. Nid oedd dim yn rhy dda i'w ddywedyd am dano, na dim yn ormod i'w ddysgwyl fel ffrwyth ei anturiaeth a'i ymchwiliadau; ond yr oedd un peth yn ei gylch, neu yn hytrach heb fod yn ei gylch, yr hyn oedd yn ei flino yntau, a'r peth hwnw ydoedd nad oedd yn Fedyddiwr. Nid yw Dr. Livingstone yn dygwydd perthyn i'r un enwad â ninnau; ond nid yw hyny yn lleihâu i fesur yn y byd ein parch iddo, na'n llawenydd o'i blegid. "Os nad ydym yn twyllo ein hunain ymhob peth," ac *nid ydym* yn twyllo ein hunain yn hyn chwaith—y mae yn ddigon genym ni ei fod yn perthyn i'r eglwys fawr efengylaidd, ac wedi ei anfon i Affrica gan Gymdeithas Genadol. Y mae ambell i ddyn pur fawr, oblegid y drwg sydd yn ei galon, wedi cymeryd yn ei ben ddirmygu a dywedyd yn erbyn ymdrechiadau cenadol; ac o herwydd hyny, ac fel canlyniad naturiol i hyny, y mae rhyw lïaws o bethau bychain distadl, am ba rai, ys dywed Gough, y buasem o dan brofedigaeth i ddywedyd, pe gwir fuasai athrawiaeth trawsfudiad eneidiau, "nad oedd neb wedi marw pan

gawsant eu geni." Y mae lliaws o'r pethau hyn, gan faint eu hawydd am gael eu hystyried yn fawr, wedi dywedyd yn erbyn pregethu i Baganiaid. Y maent hwy—ydynt, ddarllenydd, y maent *hwy* yn dirmygu ymdrechiadau cenadol! Druain bychain! A oes rhyw ddyn mewn rhyw fan yn ddigon celfydd i ddywedyd wrthym pa faint yw pwysau eu dirmyg hwy? Dirmyg pa sawl cant o honynt, a'i roddi ynghyd, a fyddai yn faich rhesymol i'w roddi ar gefn gwibedyn? Ond bellach, y mae yr holl haid o honynt wedi tewi â son, oblegid y mae y rhai mawrion ag y byddent yn ceisio eu hefelychu, wedi gorfod tewi â son. Y mae Rhagluniaeth wedi cau genau gwrthddywedwyr, ac wedi anrhydeddu yr egwyddor genadol ger bron y byd, trwy ei gwneyd hi yn offeryn darganfyddiadau daearyddol pwysicaf yr oes. Yr oeddem ar ddywedyd ei fod yn beth rhyfedd na buasai rhai o oruchwylwyr y fasnach felldigedig mewn dynion, sydd yn ystelcian fel cynifer o gythreuliaid ar arfordir gorllewinol Affrica, wedi treiddio i'r perfeddion yn hir cyn hyn, ac wedi dwyn y tywyll-leoedd i oleuni. Ond pe dywedasem felly, buasem yn camsynied. Nid yw yn rhyfedd yn y byd eu bod hwy heb wneuthur dim o'r fath. Gwaith creulawn yw eu gwaith hwy. Creulondeb yw hynodrwydd mawr eu cymeriad hwy, ac y mae yn anmhosibl i greulonedd a gwroldeb breswylio yn yr un fynwes. Cydymaith gwastadol creulondeb yw llwfredd. Nis gallasai yr un o honynt hwy byth gymeryd digon o galon i wynebu ar beryglon y canolbarth. O'u rhan hwy buasai yn aros heb ei chwilio yn oes oesoedd. Buasem yn ddigon boddlawn pe buasai rhai o feibion gwyddiant wedi gwneuthur y darganfyddiadau pwysig hyn; ond gwelodd Rhagluniaeth yn dda gadw yr anrhydedd i grefydd, ac y *mae* hyny yn ein boddloni. Pe buasai ein het yn dygwydd bod am ein pen, a phe buasai hyny yn *orthodox*, buasem yn ymaflyd ynddi y mynyd hwn, ac yn ei chwyfio o amgylch hyd a nerth ein braich, gan waeddi, "H——." Ond rhaid i ni ymattal. Y mae ffurf eich wyneb, anwyl frawd, yn ein hargyhoeddi ein bod wedi myned yn rhy bell. Dyna, peidiwch ag edrych mor sobr; ni a beidiwn a gwaeddi. Ond hyny yr oeddym am ei ddywedyd, ei fod yn destun llawenydd annhraethadwy i ni fod yr ychwanegiad mawr hwn at wybodaeth ddaearyddol y byd, wedi cael ei wneyd gan weinidog i Iesu Grist, wrth chwilio am lwythau anadnabyddus i'w chwanegu at ei deyrnas ogoneddus Ef.

Y mae y llyfr o'n blaen yn faith ac yn bwysig. Nid ydym yn dysgwyl y gallwn wneyd cyfiawnder âg ef, ac y mae yn hollol anmhosibl i ni wneuthur dim tebyg i hyny mewn un erthygl. Cawn wneyd ychydig yn awr, gan addaw, os caniatâ Rhagluniaeth, wneyd ychwaneg ymhen tri mis. Y mae Dr. Livingstone yn ymddiheuro am ddiffygion ei lyfr fel cyfansoddiad trwy gyfeirio at ei fywyd Affricanaidd. Teimlai fod y blynyddoedd a dreuliasai yno, a'r dull y treuliasai y blynyddoedd hyny, wedi ei anghymhwyso i fod yn awdwr. Pan aeth allan, yr oedd yn bwriadu parhâu i ddilyn ei efrydiau, ond penderfynodd nad äi efe i mewn i lafur neb arall. Yr oedd yn rhaid iddo ef gael maes i'w ddiwyllio ei hun. Gosododd hyn ef o dan anghenrheidrwydd i weithio yn galed â'i ddwylaw, a byddai weithiau yn teimlo mor flinedig, ac mor anaddas i efrydu, erbyn yr hwyr, â phan oedd yn nyddwr cotwm. Pan yn cyfansoddi ei lyfr, teimlai hyny yn feichus. Dywedai ar ol gorphen ei dasg ei fod yn tybied y buasai yn well ganddo groesi Cyfandir Affrica eilwaith nag ymgymeryd âg ysgrifenu llyfr arall, a'i fod yn ei gael yn llawer haws i deithio nag eistedd i lawr i ysgrifenu

hanes y teithiau hyny. Nid ydym yn rhyfeddu at y teimladau hyn. Buasem yn rhyfeddu pe buasai yn teimlo yn wahanol. Ar yr un pryd, nid ydym yn tybied fod neb o'i ddarllenwyr yn meddwl mor isel am ei lyfr fel cyfansoddiad ag y meddylir ganddo ef ei hun. Nid ydym mor foddlawn ag ef ei hun i addef fod ei lyfr fel cyfansoddiad yn ddiffygiol mewn nerth a hyawdledd; a phe buasai felly, y mae y ffeithiau ag y mae yn eu hadrodd yn nerthol a hyawdl eu hunain. Pan fyddo dyn wedi bod ar daith trwy wlad hollol adnabyddus, ac wedi gweled pethau ag y mae pawb arall wedi eu gweled, ac yn desgrifio pethau ag y mae cant wedi eu desgrifio o'i flaen, rhaid iddo ef wrth fesur mawr o hyawdledd, a medr fel cyfansoddydd, cyn y gall wneuthur ei adroddiad yn ddarllenadwy; ond pan fyddo dyn wedi bod lle na bu neb erioed o'r blaen, ac wedi gweled pethau nas gwelsid o'r blaen gan un dyn gwareiddiedig, ac yn adrodd hanes gwledydd a llwythau y rhai nis gwyddai neb o'r blaen ddim oll am danynt,—nid oes achos iddo ef ond adrodd yn syml pa beth a welodd, a pha fodd y bu arno; gwna hyny, a hyny yn unig, sicrhâu sylw a darlleniad i'w adroddiadau ef. Medrai Charles Dickens ein gwefreiddio wrth adrodd hanes helwriaeth chwanen. Yn Constantinople, os ydym yn cofio yn iawn, y bu y peth. Y mae hwnw yn lle enwog am bethau felly, ac yno y gwelwyd yr ednoges fechan bigog;—dilynwyd hi—collwyd hi—cafwyd hi drachefn—dygwyddodd hyny hanner dwsin o weithiau—buwyd ddengwaith ymron cael gafael ynddi, ond ymron ydoedd—cafodd lawer diangfa o'r braidd—ond o'r diwedd, pan oedd yr helïwr ymron anobeithio, cafodd afael iawn ynddi—gwasgodd hi rhwng ei fys a'i fawd—gwasgodd hi eilwaith rhwng ewin ei fawd ac erchwyn y gwely—a bu farw. Felly, meddwn ni, y dygwyddo i bob un o'r tylwyth trwy yr holl grëadigaeth, ac felly yn enwedig y dygwyddo i bob un o'r pethau eraill hyny sydd yn mynychu yr un manau, ond yn fwy llydain eu cyrff, ac yn fwy araf eu symudiadau. Rhywbeth o'r natur yma—pethau bychain cyffredin, yn cael eu hadrodd mewn dull tlws neu hyawdl, neu nerthol, sydd yn cyfansoddi poblogeiddrwydd y rhan fwyaf o lyfrau poblogaidd y byd. Ond wrth ddarllen llyfr Dr. Livingstone, nid ydym yn edrych nac yn cael hamdden i edrych am y pethau hyny. Nid ydym yn gweled y diffyg o honynt, nac yn teimlo eu presennoldeb chwaith. Am y ffeithiau yn unig yr ydym yn prisio—y ffeithiau sydd yn tynu ein sylw. Y maent hwy eu hunain, yn annibynol ar y dull eu hadroddir, er bod y dull hwnw yn fynych yn swynol i'r eithaf, yn ddigon o hyawdledd i ni, a gosodwn rai o'r ffeithiau hyny mor gryno ag y medrwn ger bron ein darllenwyr.

Ganwyd David Livingstone yn Blantyre, yn agos i Glasgow, lle yr oedd ei daid, o herwydd amgylchiadau teuluaidd, wedi symud o Ulva—un o'r mânynysoedd a adwaenir wrth yr enw *Hebrides*, ar dueddau gorllewinol Ysgotland. Yr oedd ei rieni yn ofni yr Arglwydd. Perthynent i Eglwys Wladol Ysgotland, a dygasant eu plant i fyny mewn undeb â'r eglwys hono; ond wedi hyny darfu iddynt ymneillduo, a bu ei dad am yr ugain mlynedd olaf o'i oes yn henadur mewn eglwys Annibynol yn Hamilton. Gorfu ar ein hawdwr, pan nad oedd ond deng mlwydd oed, fyned i'r weithfa gotwm gyfagos, er mwyn ennill ychydig i helpu ei fam ofalus i ddyfod â'r ddeupen i gwrdd. Ond buan yr ymddangosodd ei syched angerddol am wybodaeth, a'i benderfyniad anorchfygol i'w chyrhaeddyd. Defnyddiodd ran o ennill ei wythnos gyntaf o lafur yn y weithfa i brynu Ruddiman's "*Rudiments of Latin*," ac ymroddodd i astudio yr iaith hono â holl egni ei enaid.

Yr oedd yn rhaid iddo fod yn y weithfa am chwech yn y bore, ac aros yno hyd wyth yn yr hwyr. Bu llai na hyny yn ddigon i orchfygu aidd llaweroedd o blant henach a thalach nag efe; ond iddo ef nid oedd y pedair awr ar ddeg o lafur bob dydd ond ffordd drafferthus at oriau meithion drachefn o efrydio. Elai i'r ysgol am wyth, arosai yno hyd ddeg, a byddai wed'yn wrth ei lyfrau yn y tŷ hyd hanner nos neu un y bore, oddieithr pan ddygwyddai i'w fam, mewn hanner nwyd, neu ryw deimlad arall a atebai yr un pwrpas, gipio ei lyfrau trwy drais o'i law, a'i anfon yntau i'r gwely.

Darllenai bob peth ag y delai o hyd iddo ond ffugchwedlau. A fydd ein darllenwyr ieuainc cystal a nodi hyn? Er eu mwyn hwy ni a'u hysgrifenwn eto. Darllenai bob peth *ond ffugchwedlau.* Ond ei hoff ddarllen ydoedd gweithiau gwyddorol a hanesion teithiau. Byddai yn fyd blin weithiau rhyngddo â'i dad ar y materion hyn. Yr oedd y tad yn barnu, fel y barnai llawer y pryd hwnw, ac fel y barna ambell i un da hyd y dydd heddyw, fod gwyddiant yn beth cwbl wrthwynebol i grefydd. Yr oedd yn blino fod ei fab yn darllen llyfrau, y rhai yn ei fryd ef, oeddynt yn porthi balchder a hunandyb, ac yn anghymhwyso y galon i dderbyn argraffiadau crefyddol, yn lle darllen "Pedwar Cyflwr Dyn," a'r "Cwmwl Tystion," &c. Un diwrnod torodd allan yn rhyfel—yn *wrth*ryfel, yn wir, o du y bachgen. Mynai ei dad iddo ddarllen "Cristionogaeth Ymarferol" Wilberforce; ond ni wnai efe ei ddarllen ar gyfrif yn y byd. Cafodd deimlo pwys y wïalen am ei anufudd-dod; ond nid yw yn dywedyd ddarfod i hyny ei blygu i ddarllen Wilberforce; ac os felly y bu, nid ydym yn tybied iddo gael nemawr o fudd nac o flas yn y darlleniad. Parhäodd ei annhuedd i ddarllen llyfrau athrawiaethol am flynyddoedd. Ond cafodd hyd i weithiau rhagorol y Dr. Dick, "Athroniaeth Crefydd," ac "Athroniaeth Sefyllfa Ddyfodol," a mawr y boddlonrwydd a gafodd wrth weled ei olygiadau ei hun, nad oedd gwyddiant a chrefydd yn wrthwynebol, ond yn gynnorthwyol i'r naill y llall, yn cael eu profi yn wirionedd. Yn fuan wedi hyn, dygwyd ef i deimlo ac i werthfawrogi crefydd bersonol. Cyffelyba ef ei hun y cyfnewidiad trwy ba un y dygwyd ef i iachâd dyn lliwddall. Ymddangosai pobpeth crefyddol iddo mewn goleu hollol newydd. Yr oedd ei rieni eisoes wedi dysgu iddo yr hanes am iachawdwriaeth rad trwy Iawn Crist; ond yn awr darfu i radlonrwydd yr iachawdwriaeth hono—darfu gweled mor rhydd a rhad y mae maddeuant i'r pechadur penaf yn cael ei gynnyg yn llyfr Duw—sugno ei galon mewn serch at y Gwaredwr, a'i benderfynu i ymgysegru yn gwbl i'w wasanaeth ef. Yn ngwres cyntaf y cariad a gynnyrchir gan Gristionogaeth, pan ei teimlir yn iawn, penderfynodd fyned allan yn genadwr i China, a dechreuodd yn y man ar astudio meddygiaeth er mwyn parotôi ei hun i'r maes hwnw.

Ei lyfr meddygol cyntaf ydoedd "Llysieulyfr" Culpeper; a mynych y gwibdeithiai ar hyd a lled y gymydogaeth i chwilio am rai o'r llysiau a ddesgrifid ac a arganmolid yn y llyfr hwnw. Yr oedd Culpeper yn son am y ser ac am serddewiniaeth, yn gystal ag am lysiau; a thybia Livingstone iddo fyned mor bell y ffordd hono ag y meiddiai ei awdwr ei arwain ef. Ymddangosai yn dir peryglus, a bod y perygl yn myned yn fwy pa bellaf yr elai yn ei flaen, oblegid awgrymai yr awdwr nad oedd gwybodaeth fanwl am y ser i'w chael am lai o bris na "gwerthu corff ac enaid i'r ysbryd drwg." Byddai ei frodyr, un o ba rai sydd yn awr yn offeiriad yn Canada,

yn fynych yn myned gydag ef ar yr hyntiau ymchwilgar hyn. Ar un tro, daethant i chwarel cèryg calch. Yr oedd hyny yn hir cyn bod daearddarlleniaeth mor adnabyddus ag y mae yn bresennol. Mawr oedd eu syndod a'u llawenydd wrth weled cregin yn y cèryg. Tra yr oeddynt hwy yn edrych ar y rhyfeddod newydd hon, ac yn synu uwch ei phen, edrychai un o'r chwarelwyr arnynt hwy gyda theimladau tebyg i'r rheiny gyda pha rai y bydd pobl dosturiol yn arfer edrych ar y lloerig. "Pa fodd yn y byd," ebe un o honynt wrtho, "y daeth y cregin i'r creigiau yma?" Yr oedd yr ateb, pe buasent yn ei gredu, yn ddigon i ddiffoddi eu chwilfrydedd ar unwaith ac am byth. "Pan wnaeth Duw y creigiau, efe a wnaeth y cregin yr un pryd." "Y fath fyd o drafferth," meddai Dr. Livingstone, "y buasai daearddarllenwyr yn ei arbed iddynt eu hunain pe buasent ond yn mabwysiadau athroniaeth yr Ysgotiad hwn!"

Parhäodd Livingstone i barotôi ei hun at y gorchwyl pwysig yr ymgysegrasai iddo; nid mewn cysylltiad âg un gymdeithas, ond ar ei ben ei hun, ac yn gyfangwbl ar ei draul ei hun. Cadwai ei lyfr o'i flaen trwy'r dydd gyda'i orchwyl, ac astudiai yn ddyfal yn nghanol trwst syfrdanol y peirianwaith. Gweithiai yn galed yr haf, a chadwai ei hun â'r ennill hwnw yn Glasgow y gauaf, lle yr efrydiai Roeg a Meddygiaeth, ac y gwrandawai ddarlithiau duwinyddol y Dr. Wardlaw. Ni chafodd un ffyrling o gymhorth oddiwrth un dyn, a buasai wedi cario allan ei fwriad o fyned allan i China fel cenadwr meddygol yn hollol ar ei draul ei hun, oni buasai i rai o'i gyfeillion ei ddarbwyllo i ymuno â Chymdeithas Genadol Llundain. Derbyniwyd ef yn llawen gan y Gymdeithas hono, ond siomwyd ei fwriad i fyned allan i China gan y rhyfel oedd yn ffynu ar y pryd rhyngom â'r Ymherodraeth hono; a chan fod maes addawol yn agoryd yn Affrica trwy ymdrechion Mr. Moffat, tueddwyd ei feddwl i fyned yno. Tuag yno yr aeth, a glàniodd yn y Cape yn y flwyddyn 1840. Moriodd oddiyno i Algoa Bay, ac aeth rhag ei flaen tua'r canoldir nes cyrhaedd Kuruman, lle y mae Mr. Moffat wedi bod yn llafurio gyda llwyddiant mawr am lawer o flynyddoedd.

Kuruman y pryd hwnw oedd yr orsaf genadol fwyaf ogleddol yn Affrica. Yr oedd Mr. Moffat wedi treiddio ymhellach i'r canoldir na neb arall; ond penderfynodd Livingstone, ac yr oedd y penderfyniad hwnw yn gydweddol â'r cyfarwyddiadau a gawsai oddiwrth y gymdeithas, i fyned ymhellach drachefn. Nid arosodd yn Kuruman ond am ddigon o amser i adael i'r ychain ymddadebru. Yr oedd y rhai hyny yn lluddedig ar ol y daith hirfaith ar draws y tir o Algoa Bay. Cychwynodd tua'r gogledd i wlad y Bakwains, un o lwythau y teulu mawr Bechuanaidd, a daeth i Shokuáne, lle y cafodd benaeth o'r enw Sechele gyda ei lwyth yn preswylio. Fe allai y byddai yn gystal egluro ar unwaith fod y bobl a breswyliant y rhan hon o Affrica, ac a elwir Bechuanas, yn rhanedig i nifer mawr o lwythau, y rhai a lywodraethir gan benaethiaid annibynol. Pan, wrth fyned yn y blaen, y byddom yn son am y Bakáa, y Bamangwáto, y Makaláka, y Bakatla, a'r Batlapi, dealler ein bod yn son am wahanol lwythau y teulu Bechuanaidd. Gelwir pob llwyth wrth enw rhyw anifail. Ystyr y gair Bakatla yw "pobl yr epa;" Bakuéna, "pobl y crocodil;" Batlapi, "pobl y pysgodyn," &c. Y mae gan bob llwyth barch coelgrefyddol i'r anifail ag y maent wedi eu galw ar ei ol, ac ni fynant er dim fwyta cig yr anifail hwnw. Fe allai nad yw hyn ond un o weddillion anifail-addoliad tebyg i eiddo gwlad yr Aipht, a bod y ffurf hono o eilunaddoliaeth wedi bod unwaith yn ffynu ymhlith y llwythau hyn.

Gwnaeth Mr. Livingstone amryw deithiau rhwng Kuruman a Shokuáne cyn ymsefydlu yn y lle olaf. Y mae ganddo ei ffordd ei hun i wneyd pobpeth. Cauodd ei hun yn hollol oddiwrth gymdeithas Ewropeaid am chwe' mis, ac arosodd am yr amser hwnw ymysg y Bakwains yn Lepelóle, lle tua phymtheg milldir i'r dehau o Shokuáne. Ni chafodd gyfle i siarad gair â neb ond â hwy, ac ni welodd neb ond hwy yn ystod yr amser hwnw. Yr oedd hyn yn gryn dasg i ddyn ieuanc newydd fyned allan o Loegr, ond aeth Livingstone trwyddi yn galonog er mwyn cymhwyso ei hun at ei waith; a chafodd yn yr amser hwnw wybodaeth o'u hiaith, a'r fath olwg ar eu harferion, eu ffyrdd o feddwl, a'u cyfreithiau, ag sydd wedi bod o fantais annhraethol iddo yn ei holl ymwneyd â hwy o'r pryd hwnw allan. Meddyliodd ar y cyntaf am ymsefydlu yn y lle hwn, a gwnaeth rai parotôadau at hyny; ond darfu i ymosodiad o eiddo y Barolongs ar y lle tra yr oedd efe yn Kuruman, lle yr oedd wedi myned i gyrchu ei ddodrefn, ddyrysu ei amcan. Cymerodd daith i'r gogledd i ymweled â'r Bakáa, y Bamangwáto, a'r Makaláka, y rhai a breswylient rhwng 22° a 23° lled. deheuol. Ymwelsid o'r blaen â'r mynyddoedd hyn gan fasnachydd, ond darfu iddo ef a'r holl bobl oeddynt gydag ef drengu yn y dwymyn. Methodd ychain Mr. Livingstone ar y ffordd, a gorfu iddo ef a'i gymdeithion wneyd y gweddill o'r daith ar eu traed. Nis gwyddai ei gymdeithion oll ei fod mor gyfarwydd â'u hiaith hwy ag ydoedd, ac o ganlyniad yr oeddynt yn fwy rhydd yn eu sylwadau yn ei gylch wrth eu gilydd, nag y buasent pe gwyddent y cwbl. Y mae yn dygwydd felly weithiau i bobl fwy gwareiddiedig na'r Bechuaniaid. "D'yw e' ddim yn gryf," meddent, "un main gwanaidd ydyw; y sachau yna y mae yn eu gwisgo am ei goesau sydd yn peri iddynt ymddangos yn gryfion; tori i lawr a wneiff e' yn fuan." Yr oedd hyn yn ormod i'n cenadwr ieuanc. Penderfynodd gadw y blaen arnynt, a gwneyd iddynt gerdded, a cherdded eu goreu, am ddyddiau ynghyd, gan ddirmygu pob lludded, hyd nes iddo eu clywed yn siarad fel y dylasent am ei alluoedd gewynol.

Ond fel yr awgrymasom eisoes, ymgysylltodd Mr. Livingstone â'r llwyth a elwir Bakwains, penaeth yr hwn ydoedd Sechele. Tarawyd ef ar unwaith gan gallineb anarferol y penaeth hwn, a theimlodd hoffder ato; ac ymddengys i'r un teimladau gael eu cynnyrchu yn mynwes y penaeth tuag at y cenadwr. Ymglymasant ar unwaith â'r naill y llall, a daethant o ddiwrnod cyntaf eu cydnabyddiaeth yn gyfeillion mynwesol. Yr oedd ei hendaid, enw yr hwn oedd Mochoaséle, yn deithiwr mawr, ac efe oedd y cyntaf erioed a ddywedodd wrth y Bakwains fod dynion gwynion mewn bod. Pan oedd Sechele yn fachgen, darfu i'w dad, yr hwn hefyd a elwid Mochoaséle, gael ei lofruddio gan ei bobl ei hun am gymeryd iddo ei hunan wragedd ei îsbenaethiaid mwyaf cyfoethog. Arbedwyd ei blant, a darfu i rai o gyfeillion y teulu erfyn ar Sebituáne, penaeth y Makolólo, i ddyfod i sefydlu un o honynt hwy ar yr orsedd. Cydsyniodd yntau â'r cais; amgylchodd dref y Bakwains ar hyd y nos, a chyda'r wawr anfonodd genadwr i gyhoeddi â llef uchel ei fod wedi dyfod i ddial llofruddiaeth Mochoaséle; ac ar ddiwedd y cyhoeddiad hwnw, wele sŵn dychrynllyd yn cael ei wneyd gan holl lu Sebituáne yn curo eu tarianau. Yr oedd hyn yn ddigon, a mwy na digon, i'r Bakwains, druain. Yr oedd ymladd allan o'r cwestiwn. Nid oedd dim i'w wneuthur ond ffoi, a ffoi a wnaethant—o leiaf ffoi a geisiasant, fel dynion yn dianc o chwareudŷ ar dân. Ond yr oedd pobl Sebituáne

â'u gwaewffyn angeuol yn eu derbyn ymhob man. Lladdwyd llawer o honynt; rhoddwyd y gormeswr oedd wedi trawsfeddiannu y llywodraeth i farwolaeth, a sefydlwyd Sechele ar orsedd ei dad llofruddiedig.

Pan ymsefydlodd ein cenadwr ymysg y Bakwains, cafodd Sechele mewn llawn feddiant o awenau y llywodraeth, ac wedi ymgadarnhâu trwy gymeryd amryw o ferched ei îs-benaethiaid yn wragedd. Y tro cyntaf y cynnygiodd Livingstone gynnal gwasanaeth crefyddol cyhoeddus, sylwodd ei fod yn arferiad ymhlith ei bobl ef, pan fyddai unrhyw bwnc newydd yn cael ei osod ger eu bron, i ofyn cwestiynau yn ei gylch, a gofynodd am ganiatâd i wneuthur hyny ar yr achlysur hwn. Caniatâwyd hyny iddo yn rhwydd, a gofynai i'r cenadwr a oedd ei henafiaid ef yn gwybod am y farn a fydd. Atebodd Mr. Livingstone eu bod, a dechreuodd ddesgrifio yr "Orsedd wen fawr, &c." "O!" eb efe, "yr ydych yn fy synu,—y mae y geiriau hyn yn peri i'm holl esgyrn grynu o'm mewn—nid oes genyf mwyach nerth ynof; ond yr oedd fy henafiaid i yn byw yr un amser a'ch hynafiaid chwithau, a phaham na buasent hwy yn anfon i ddywedyd wrthynt am y pethau ofnadwy hyn yn gynt? Y maent hwy oll wedi myned ymaith i dywyllwch heb wybod i ba le yr oeddynt yn myned." Darfu i Mr. Livingstone ddyfod allan o'r anhawsder trwy ddywedyd wrtho am eu rhwystrau daearyddol oedd ar ffordd dyfod atynt o'r Gogledd, ac am ymdaeniad graddol gwybodaeth o'r Dehau; a dadganodd ei grediniaeth ddiysgog y bydd i'r amser ddyfod y bydd yr holl fyd wedi cael clywed yr efengyl. Yr oedd hyny yn fwy nas gallai Sechele ar y pryd ei gredu. Cyfeiriai at anialwch Kalahári, a dywedai, "Nis gellwch byth groesi y wlad yna at y llwythau sydd y tu draw." Ond darfu iddo ef ei hun wedi hyny gynnorthwyo Mr. Livingstone i groesi yr anial hwnw. Nid hir y bu cyn dysgu darllen; a phob tro yr elai Mr. Livingstone i'r dref, byddai yn rhaid iddo wrando arno yn darllen pennod o'r Bibl, Esaiah oedd ei hoff lyfr, a byddai yn arfer dywedyd am y prophwyd, "Dyn campus oedd yr Esaiah hwnw, fe wyddai efe sut i siarad." Gwelai fod y cenadwr yn awyddus am i'r bobl gredu yr efengyl, a dywedai wrtho un diwrnod, "A ydych chwi yn tybied y gellwch wneyd i'r bobl yma gredu wrth ddim ond siarad â hwy? Nis gallaf fi gael ganddynt wneuthur dim heb eu curo hwy. Os mynwch chwi, mi a alwaf am rai o'm gweision, a defnyddiwn y *litupa* (ffrewyll o groen y rhinoceros) atynt, a gwnawn iddynt gredu yn lled fuan i gyd ar unwaith." Dymunodd ar Mr. Livingstone ddechreu addoliad teuluaidd yn ei dŷ, gan obeithio y buasai hyny yn foddion i ennill rhai o'i bobl i ddilyn ei esiampl ef i gofleidio Cristionogaeth. Parhäodd i gynnal yr addoliad yn y blaen ei hun, a synai Mr. L. at ei ddull prydferth a syml yn gweddïo. Yr oedd yn feistr ar ei iaith ei hun. Ond ni ddelai neb yn agos i gyduno âg ef yn yr addoliad ond aelodau ei deulu ei hunan. Cwynai oblegid anmharodrwydd ei bobl i gofleidio yr efengyl. "Gynt," meddai, "pan oedd y penaeth yn hoff o hela, yr oedd ei holl bobl yn mynu cŵn, ac yn hoffi hela gydag ef. Os byddai y penaeth am beroriaeth a dawnsio, yr oedd ei holl bobl yn hoffi y pethau hyny. Os byddai y penaeth yn hoffi diodydd, yr oeddynt oll yn ymhyfrydu mewn diod gadarn. Ond yn awr y mae pethau yn wahanol. Yr wyf fi yn caru gair Duw, ac nid oes neb o'm brodyr a gyduna â mi." Yr oedd yn sychder mawr yr amser hwnw, a'r bobl yn dyoddef o'i herwydd, ac yr oedd llawer o honynt yn cysylltu hyny â phresennoldeb y cenadwr. Pe gallent gredu y buasai yn fantais fydol iddynt fyned yn Gristionogion,

nid oedd dadl na buasai llawer o honynt yn cael eu dychwelyd, yr un fath ag aml un a adwaenom yn Nghymru; ond nid oedd tebyg y buasai neb yn rhagrithio dychweliad at grefydd ag oedd, yn eu tyb hwy, yn eu hamddifadu o'r gwlaw, ac felly yn eu gorfodi i ddyoddef newyn a chaledi.

Bu Sechele mewn cyfyng-gynghor am amser maith wedi ei argyhoeddi o wirionedd y grefydd Gristionogol. Gwelai fod yr efengyl yn gwahardd amlwreigiaeth, ond yr oedd ganddo ef amryw o wragedd, a'r rhai hyny yn ferched i ddynion ag oeddynt wedi bod yn garedig iddo, ac yn parhâu i'w gynnal yn ei lywodraeth. Nis gwyddai pa beth i'w wneuthur. Teimlai nas gallai fod yn gristion, a chadw yr holl wragedd hyn; ond teimlai ar y tu arall, os byddai iddo eu hanfon ymaith, y byddai iddo felly wneyd gradd o gam â hwy, a chyffroi eu holl gyfeillion a'u perthynasau, y rhai ar yr un pryd oeddynt ei gyfeillion goreu ef ei hunan, yn ei erbyn. Yr oedd un peth arall, yr hwn nid oedd yn gwneyd yr anhawsder yn llai—ei brif wraig, yr hon y teimlai yn ei gydwybod y byddai yn rhaid iddo ei chadw ped anfonai y lleill i gyd ymaith, oedd y fwyaf budr, angharuaidd, ac annhrefnus, o honynt oll. Dygwyddodd nad oedd ymysg y nifer ond un lanwaith, serchog, ac o dueddiadau crefyddol; ond teimlai o dan orfod i anfon hono ymaith gyda'r lleill, a theimlai o dan yr un rwymedigaeth, os mynai fod yn gristion, i gadw yr un fudr, seimlyd, ac anserchog, fel cymhares ei fywyd, a phreswylydd ei fynwes, am weddill ei oes. Nid profedigaeth fechan oedd hon i ddyn ag oedd yn dechreu agor ei lygaid i fod ynddi. Dywedai yn fynych wrth y cenadwr, "O na buasech wedi dyfod i'r wlad hon cyn i mi ymddyrysu yn maglau ein harferion llygredig!" Pan ddaeth i ofyn am gael ei fedyddio, gofynodd Mr. Livingstone iddo, pa fodd yr oedd efe ei hun, a'r Bibl yn ei law, ac yn abl i'w ddarllen, yn barnu y dylasai ymddwyn yn y peth hwn. Aeth adref ar unwaith, rhoddodd wisgoedd newyddion i bob un o'i wragedd, ynghyd â'r rhan hyny o'i ddodrefn ef ei hun ag ydoedd dan ofal pob un o honynt, ac anfonodd hwynt adref at eu rhieni, a gair gyda hwy yn hysbysu nad oedd wedi cael un bai ynddynt, ond ei fod yn ymadael â hwy *am ei fod yn ewyllysio gwneuthur yn ol gair Duw.* Bydd i'n darllenwyr gyduno â ni pan ddywedom fod yr amgylchiad hwn ei hunan yn llawn ddigon o brawf fod crefydd o'r iawn ryw wedi ei throsglwyddo i ganolbarth Affrica. Nid yn fynych y gelwir ar gristionogion Cymru i wneuthur aberth mor fawr ag a wnaed yn ewyllysgar gan y cristion ieuanc Sechele. Credodd mai ei ddyledswydd ydoedd tori i fyny ei deulu—gwneuthur trais ar ei serchiadau—rhwygo teimladau y rhai oeddynt wedi arfer edrych ato ef am serch a chydymdeimlad—ymadael am byth â rhai y teimlai hoffder atynt—ymddangos yn anniolchgar i gyfeillion oeddynt wedi bod yn garedig iddo ef yn amser ei adfyd—gwanhâu ei ddylanwad ar y llwyth, ac hyd yn nôd peryglu ei sefyllfa fel penaeth arnynt. Yr oedd yr aberth yn fawr, ond darfu iddo ef ei offrymu o fodd ei galon, *er mwyn gwneuthur yn ol gair Duw.* Nid ydym yn dysgwyl cael y pleser o weled Sechele ar y ddaear; ond yn ein calon yr ydym yn teimlo y byddwn yn edrych am dano yn bur fuan ar ol i ni gyrhaedd y nefoedd. Y mae un fuddugoliaeth o'r fath yma yn werth mwy na'r holl arian sydd wedi eu treulio yn Affrica, a'r holl bryder sydd wedi ei deimlo mewn perthynas iddi, o'r diwrnod cyntaf y darfu i Smitcht osod ei droed i lawr ar ei therfynau hi, hyd y dydd heddyw.

Profedigaeth lèm i'r llwyth, ac yn enwedig i'r cenadwr a'r penaeth, yd-

oedd y sychder y cyfeiriasom ato eisoes. Wedi bod am flwyddyn gyfan heb wlaw, darfu i'r llwyth, yn ol cynghor Mr. Livingstone, symud o Chonuane, lle yr oeddynt yn preswylio, ac ymsefydlu tua deugain milldir i'r dwyrain, ar lân yr afon Kolobeng, a lle y gallent obeithio y caent ddigonedd o ddwfr at bob gwasanaeth hyd oni ddeuai gwlaw. Gwnaethant yn burion yno am y flwyddyn .gyntaf. Gwnaed argae a ffosydd i arwain y dwfr o'r afon dros y tir—cafwyd felly gnydau am y flwyddyn hono. Ond yr ail flwyddyn parhäodd y sychder, a'r drydedd a'r bedwaredd yr un modd. Sychodd yr afon—trengai y pysg—y fath nifer o honynt nes tynu holl *hyenas* y wlad i'r wledd; a methai y rhai hyny, er glythed oeddynt, ac er gwneyd eu heithaf, â llwyr ddifa y celaneddau drewedig. Cafwyd hen grocodil mawr wedi ei adael yn sych yn ngwely yr afon ymysg myrdd o bethau manach. Crinai pob llysieuyn, a gwywai dail y coed. Cloddient byllau yn ngwely yr afon, er mwyn cael dwfr i gadw y coed ffrwythlawn yn fwy erbyn amseroedd gwell, ond yn ofer. Ymadawai y gwragedd â'u haddurniadau i brynu ŷd oddiwrth lwythau mwy ffodus. Crwydrai y gwŷr i edrych am helwriaeth, a gwibiai y plant ar hyd y wlad i gasglu gwreiddiau, er mwyn ceisio cadw corff ac enaid gyda'u gilydd. A'r hyn oedd yn gwneyd yr helynt yn fwy profedigaethus fyth, ydoedd y dyb a goleddid gan bawb ymron yn y llwyth fod yr holl flinfyd yma wedi ei ddwyn arnynt gan "air Duw." Dywedai un o honynt, ewythr i Sechele, a'r hwn oedd yn ddyn call a dylanwadol dros ben, wrth Mr. Livingstone, "Yr ydym mor hoff o honoch chwi â phe buasech wedi eich geni yn ein mysg; chwychwi yw yr unig ddyn gwyn ag y gallwn ddyfod yn gyfeillgar âg ef; ond garw na byddech yn rhoddi i fyny y pregethu a'r gweddïo tragywyddol yna; nis gallwn ddyfod yn gyfeillgar â'r pethau yna *at all.* Chwi a welwch nad ydym ni byth yn cael gwlaw, tra y mae y llwythau hyny nad ydynt yn gweddïo fel nyni yn cael digonedd." Ac felly yr ydoedd. Yr oeddynt yn gweled y gwlaw yn disgyn yn gawodydd toreithiog ar y bryniau ddeng milldir oddiwrthynt, ond nid edrychai arnynt hwy "âg un o'i lygaid." "Os nad oedd," medd Dr. Livingstone,—"os nad oedd gan dywysog llywodraeth yr awyr ryw law yn ein rhostio ni i fyny fel hyn, yr wyf yn ofni ei fod wedi cael cam genyf fi fwy nag unwaith." Yr oedd ganddynt hwy ffydd yn y gallu i wneuthur gwlaw. Yr oedd yn eu plith "feddygon" yn proffesu bod yn abl i iachâu clefyd y cymylau, yn gystal a rhai i wellâu anhwylderau dynol; ar yr un egwyddor y ceisient hwy wneyd y ddau. Nid oedd cyfferiau meddygol yn eu bryd hwy ond swynion, a thybient mai yr un peth oedd swyno y cymylau a swyno clefydau dynol. Mawr fel y synent fod Mr. Livingstone, tra yr oedd efe ei hun yn rhoddi cyfferiau i ddynion, yn eu beïo hwy am wneyd yr un peth i'r cymylau. Yn ofer y siaradai am bellder y cymylau, a'r annhebygolrwydd eu bod hwy yn cymeryd y cyfferiau pan y byddent yn ei cynnyg iddynt, ac y dywedai fod dynion yn grëaduriaid byw—eu bod hwy yn llyncu y cyfferiau, a bod eu hiachâd hwy, pan gymerai le, yn effaith naturiol ac anghenrheidiol i hyny. Ni chai ymresymu fel yna effaith yn y byd arnynt hwy ond peri iddynt chwerthin uwchben ei anwybodaeth dygn, a synu yn fwy at ei anghysondeb. Yr oedd Sechele cyn ei ddychweliad wedi bod yn feddyg gwlaw i'w lwyth yn gystal a phenaeth. Sicrhäodd yn fynych wrth Dr. Livingstone ei fod wedi ei gael yn fwy o orchwyl rhoddi i fyny ei ffydd yn y peth hwn na dim arall. Ystyriai y llwyth fod y cenadwr wedi ymddwyn yn greulawn atynt wrth eu hyspeilio o

wasanaeth gwlaw-wneuthurwr mor gampus â Sechele. Mynych y derbyniodd geuadiaethau oddiwrthynt, yn cael eu gwneyd i fyny o nifer o hen gynghorwyr, yn deisyfu arno ganiatâu i Sechele wneyd ychydig o gawodydd iddynt. "Fe fydd i'r ŷd farw," meddant, "os gwrthodwch, a bydd i ninnau gael ein gwasgaru. Goddefwch iddo wneyd gwlaw yr unwaith hon, ac fe fydd i ninnau oll, yn wŷr, gwragedd, a phlant, ddyfod i'r ysgol, a chanu a gweddïo cyhyd ag y mynoch chwi yn y byd." Dywedai yntau wrthynt fod Sechele at ei ryddid o'i ran ef i wneyd fel y mynai. Ond ni waeth pa beth a ddywedai. Mynent hwy gredu y medrai eu penaeth wneuthur gwlaw pe cai ond caniatâd i dreio gan Mr. Livingstone, a'i fod yntau yn galon galed iawn yn wir pan y medrai wrthod gwrando ar eu deisyfiadau taerion yn eu cyfyngder. Profedigaeth arall waeth, od oedd bosibl, na hon, oedd y gorthrwm a'r trais a ddyoddefai y llwythau Bechuanaidd oddiar ddwylaw y Boers, y rhai oeddynt wedi ymsefydlu ar fynyddoedd Casha, i'r deheu-ddwyrain o Kolobeng. Nid yr un bobl oedd y rhai hyn a'r ffermwyr Ellmynaidd a adwaenir wrth yr enw Boers yn y drefedigaeth. Y mae llawer o honynt, mae'n wir, yn Ellmyn, ond rhyw ddyhirod ydynt gan mwyaf, wedi dianc oddiar ffordd y gyfraith—encilwyr Seisnig, a dynion drwg o bob math. Y peth mawr sydd ganddynt hwy yn erbyn cyfreithiau Prydain yw, nad ydynt yn gwneyd un gwahaniaeth rhwng pobl wŷnion a phobl dduon. Ffromasant o herwydd eu gorfodi i ryddhâu eu caethion Hottentotaidd yn y drefedigaeth, a phenderfynasant ddianc o gyrhaedd cyfreithiau Lloegr, a ffurfio gweriniaeth o'r eiddynt eu hunain mewn man lle y gallent drin y brodorion "fel y dylid trin pobl dduon." Y driniaeth hono yw eu caethiwo, a gwneyd iddynt weithio yn galed, ac am ddim. Darfu i fyntai o'r rhai hyn, o dan arweiniad un Hendrick Potgeiter, dreiddio i'r canoldir mor bell â mynyddoedd Casha, o ba le yr oedd y penaeth Mosilikatze newydd gael ei yru gan y gorchfygwr Caffraraidd Dingaan, a rhoddwyd croesaw calonog iddynt gan y llwythau Bechuanaidd, y rhai oeddynt newydd ddianc odditan iau orthrymus y penaeth creulawn hwnw. Parchent hwy am eu bod yn bobl wŷnion, ac edrychent arnynt fel gwaredwyr. Ond yn fuan, daethant i deimlo eu bod wedi camsynied. O dan iau haiarnaidd eu harglwyddi newyddion, dywedent, "Yr oedd Mosilikatze yn greulawn i'w elynion, ond yn ymddwyn yn garedig atynt wedi eu gorchfygu. Eithr y mae y Boers yn dinystrio eu gelynion, ac yn dwyn eu cyfeillion i gaethiwed." Y mae y llwythau sydd yn parhâu i feddu rhyw rith o annibyniaeth yn cael eu gorfodi i gyflawni pob math o lafur yn y maes, megys gwrteithio y tir, chwynu, medi, adeiladu, gwneyd dyfrffosydd, argae, &c., ac ar yr un pryd yn gorfod cynnal eu hunain fel y gallant. Gwelodd Dr. Livingstone ei hun fyntai o'r dyhirod hyn yn dyfod i bentref, nid i gyflogi, ond i orchymyn ugain neu ddeg ar hugain o wragedd i chwynu eu gerddi. Gwelodd y menywod hyny yn myned tua maes eu llafur didro, gan gludo eu bwyd eu hunain ar eu penau, eu plant bychain ar eu cefnau, ac offerynau eu llafur ar eu hysgwyddau. Nid oedd yr olygfa hon, er mor druenus ydoedd, ond portrëad gwan o agwedd meddwl y trueiniaid yma, y rhai a oddefant eu mathru fel hyn o dan droed pobl ag y gallwn, heb ofni camsynied, eu galw yn wehilion y byd. Y mae y Bechuanes dlawd, â'i thipyn bwyd ar ei phen, a'i baban ar ei chefn, a'i hoffer ar ei hysgwydd, yn ymlusgo yn druenus tua maes yr estron i dreulio yr ychydig nerth sydd ynddi yno, heb na thâl na diolch, ac i wlychu ei ddaear felldigedig â'i chwys

ac â'i dagrau, yn ddifesur uwch yn ngraddfa dynoliaeth na'r dyhirod dideimlad hyny sydd heb wrid yn eu hwyneb, na loes yn eu calon, yn arfer y fath orthrwm tuag at eu cydgrëaduriaid. Nid ydym yn credu fod un crëadur trwy yr holl fydysawd mawr, heb adael allan y pwll diwaelod, a fedr drin ei gydgrëadur fel yma ond dyn; a phrin y gallwn goelio fod dynion a wnaent hyny chwaith ond Boers canolbarth Affrica. Y mae Dr. Livingstone yn adrodd eu hesgus am wneyd fel hyn, ac nid yw hwnw yn gwella yr un mymryn ar eu hachos: "Yr ydym yn gwneyd i'r bobl weithio i ni fel taledigaeth am ganiatâd i breswylio yn ein gwlad."

Fel hyn y maent yn cael y gwaith angheurheidiol ar eu tir wedi ei wneyd, ond y mae arnynt eisieu rhai i wasanaethu yn eu tai, ac y mae ganddynt ffordd fwy creulawn fyth i ddiwallu yr anghen hwnw. Sefydlant eu llygaid ar lwyth neu bentref yn eu cymydogaeth, lle y mae i'w cael ychain a phlant. Y mae y naill mor wasanaethgar â'r llall iddynt hwy. Ceisiant ryw achos yn erbyn y llwyth neu y pentref hwnw. Y mae y peth lleiaf yn y byd o dan yr amgylchiadau hyny, yn ddigon o reswm iddynt hwy dros ddyfod i'r penderfyniad ei fod ar gyfodi mewn gwrthryfel. Nid oes eisieu ychwaneg na hyny. Ymosodant arno, gan ladd gwŷr a gwragedd. Nid oes gan y trueiniaid digymhorth ddim i'w wneyd ond cymeryd eu lladd os nad allant ffoi. Y mae y Boers yn buddugoliaethu bob amser, oblegid nid oes neb yn ymladd ond hwy eu hunain; a dychwelant adref wedi cipio yr holl ychain a'r plant ag y gallant osod eu dwylaw arnynt. Golygant eu bod wedi gwneyd dau beth, un o ba rai sydd yn werth yr holl drafferth. Y maent wedi attal terfysg a gwrthryfel—y mae hyny yn beth da; ond y maent hefyd wedi cael yspail rhagorol o wartheg a chaethion i'w rhanu rhyngddynt, ac y mae hyny yn beth gwell. Ni fuasai dim yn y cyntaf na sôn am dano, oni buasai fod ganddynt lygad at yr olaf.

Y ffordd i gyfodi i barch ymysg y Bechuaniaid yw meddiannu anifeiliaid; ac y mae llawer o'u pobl ieuainc, er mwyn cyrhaedd yr amcan hwnw, yn myned i waered i Drefedigaeth y Penrhyn, yn gweithio yn galed yno am dair neu bedair blynedd, a mawr yw eu boddlonrwydd os gallant ddychwelyd gartref â chynifer a hyny o wartheg. Rhoddant un ynanrheg i'r penaeth; y mae hyny yn ennill iddynt safle yn y llwyth, ac o hyny allan y maent yn ddynion parchus. Y mae braidd yn anghredadwy, ond y mae er hyny yn wirionedd, fod y Boers wedi gwneyd cyfraith (!) i yspeilio y bobl ieuainc hyn o'u hanifeiliaid, ar eu dychweliad gartref. Eu hesgus yw hyn:—"Os ydynt am weithio, nyni yw eu mheistri; bydded iddynt weithio i ni."

Nid yw y Bechuaniaid yn bobl ryfelgar, a hyny yw yr achos fod y creuloniaid ag yr ydym yn son am danynt yn meiddio eu gorthrymu fel hyn. Ni chymerent lawer am dreio gwneyd yr un peth â'r Caffrariaid sydd ar y tu arall iddynt, oblegid y mae gan y rhai hyny arfau tân, a gwyddant y ffordd i'w defnyddio, a byddai yn ormod o anturiaeth iddynt beryglu eu crwyn wrth ymryson â dynion felly. Nid yw y Boers yn dewis myned i ryfel byth oddieithr fod ganddynt sail gadarn i gredu y bydd y lladd i gyd ar yr un ochr. Ymosodant, nid i ymladd, ond, fel pladurwr mewn gweirglodd, ymosodant i ladd. Ymddygant gan hyny gyda pharch at y Caffrariaid, oblegid ped elent i ryfel â hwy, gallent benderfynu y byddai rhyw gymaint o ladd ar yr ochr arall. Ond er eu gofid a'u dychryn, clywsant fod y Bakwains wedi dyfod i feddiant o arfau tân. Yr oeddynt wedi prynu cymaint â phump o ddrylliau; ac fel y mae chwedlau yn chwyddo

wrth dreiglo, erbyn fod y chwedl hon wedi cyrhaedd Mynyddoedd Casha, yr oedd y pump wedi myned yn bum' cant; a gwaeth na hyny fyth, rhoddodd Mr. Livingstone fenthyg crochan coginio i Sechele pan oedd yn myned allan ar hynt yn erbyn un o'i îsbenaethiaid, yr hwn a wrthryfelasai i'w erbyn, a rhywfodd aeth y crochan yn gyflegr, a'r cyflegr yn gyflegrau nad oes neb a ŵyr pa nifer. Yr oedd hyn yn rhy ddrwg. Nis gallent hwy—pobl wŷnion Gristionogol—ymosod ar y Bakwains mwyach, os oedd y pethau hyn yn wirionedd, a'u lladd a'u gyru ar ffo, a lladrata eu plant a'u hanifeiliaid, heb i rai o honynt hwy fod mewn perygl o gael eu lladd hefyd. Anfonasant i wneyd ymchwiliad i'r peth. Holwyd a chroesholwyd y Bakwains, a'r ateb a gaent gan bawb ydoedd nad oedd ganddynt hwy yr un cyflegr. Yr oedd hyn yn ddigon ar y pwnc. Rhaid oedd fod gan y Bakwains gyflegrau, oblegid yr oeddynt wedi dywedyd nad oedd ganddynt ddim o'r fath. Felly yr oeddynt hwy yn deall ystyr geiriau, ac felly y maent hwy yn ateb—na am ïe, ac ïe am na; ac o ganlyniad, felly yr oedd y Bakwains, ac felly rhaid fod pawb arall. Fe allai fod ambell un o'n darllenwyr yn analluog i ddeall y *logic* hwn, ond y mae yn cael ei ddeall yn drwyadl ar fynyddoedd Casha, ac y mae yn ddrwg genym ddywedyd nad yw yn gwbl anadnabyddus mewn rhai manau eraill. Mynent i'r Bakwains roddi i fyny eu harfau tân ar unwaith. Mynent i Mr. Livingstone eu dysgu yn erthyglau y ffydd hono sydd yn dechreu fel y canlyn,—"Y mae pobl wŷnion yn well na rhai duon." Anfonasant at y cenadau yn y dechreu yn gofyn iddynt alw Mr. Livingstone oddiar y maes, am ei fod wedi rhoddi benthyg cyflegr (y crochan) i'w gelynion. Anfonasant achwyniad i'r un perwyl yn ei erbyn at y llywodraeth yn y Penrhyn. Anfonasant at Sechele, gan alw arno i ddyfod i ymostwng ac i dalu gwarogaeth fel deiliad iddynt hwy, ac i attal masnachwyr Saesonig rhag dyfod i'r wlad âg arfau tân i'w gwerthu; ond atebodd Sechele,—"Yr wyf wedi fy ngwneuthur yn benaeth annibynol, ac wedi fy ngosod yma gan Dduw, ac nid genych chwi. Ni chefais i erioed fy ngorchfygu gan Mosilikatze, fel y llwythau sydd dan eich llywodraeth chwi; ac y mae y Saeson yn gyfeillion i mi. Yr wyf yn cael pobpeth ag yr wyf yn ei ddymuno oddiwrthynt hwy, ac nis gallaf eu hattal rhag myned lle byddont yn ewyllysio." Y canlyniad a fu—darfu i Pretorius, ynghyda phedwar cant o Boers, ymosod ar y Bakwains; lladdasant lawer, a chymerasant ddau gant o blant yr ysgol genadol i gaethiwed! Darfu i'r brodorion o dan Sechele amddiffyn eu hunain nes i dywyllwch y nos eu galluogi i ffoi i'r mynyddoedd. Lladdwyd amryw o'r ymosodwyr; a chan mai hwn oedd y tro cyntaf i'r fath beth a hyny ddygwydd yn eu hymosodiadau ar y Bechuaniaid, daethant i'r penderfyniad mai Mr. Livingstone oedd wedi addysgu y llwyth i ladd Boers. I ddial arno am hyny, ymosodasant ar ei dŷ, ac yspeiliasant ef. Yr oedd amryw o foneddigion Seisonig wedi pasio Kolobeng ar eu ffordd i'r gogledd i hela, ac wedi gadael ystorfa fawr o angheuraheidiau yno, ynghyda phedwar ugain o ychain erbyn eu dychweliad. Yspeiliwyd hwythau o'r cwbl; a phan ddychwelasant, cawsant gelaneddau y rhai a ofalent am danynt yn wasgaredig ar hyd y lle. Dinystriasant lawer o lyfrau y cenadwr, gan dynu y dail wrth y dyrneidiau o honynt, a'u chwalu ar led. Gwnaethant ben ar ei ystorfa o gyfferiau meddygol. Cymerasant ei holl ddodrefn a'i ddillad, a gwerthasant hwy mewn arwerthfa gyhoeddus i gyfarfod â thraul eu hynt felldigedig.

Yr oedd hon yn brofedigaeth lem i Mr. Livingstone, a theimlai yn ddwys

ar ol ei eiriaduron a'i lyfrau eraill, hen gyfeillion ei febyd; ond o'r drwg hwn cyfodai un fantais, a'r fantais hono oedd fod colli ei holl feddiant wedi ei wneyd yn hollol rydd i osod mewn gweithrediad amcan mawr ag oedd ganddo mewn golwg, a chyflawniad pa un sydd wedi ei enwogi hyd ddiwedd y byd, sef treiddio i'r perfeddion i weled pa beth oedd rhyngddo â'r gogledd. "Yr oedd y Boers," medd efe, "wedi penderfynu cadw y wlad yn nghau, ac yr oeddwn innau wedi penderfynu ei hagoryd hi. Ceir gweled pa un ai myfi neu hwynt-hwy sydd wedi bod fwyaf llwyddiannus yn ein penderfyniad." Hyny oedd dirgelwch eu gelyniaeth at Mr. Livingstone. Yr oeddynt hwy am gadw y wlad yn nghau, ac am gadw y bobloedd a orthrymid ganddynt mewn tywyllwch ac anwybodaeth; ond yr oedd y cenadwr yn eu dysgu. Trwy ei lafur ef yr oedd gwareiddiad wedi dechreu yn eu plith. Buan y dysgent fasnachu â'r Saeson. Tynai hyny ddynion gwynion eraill i fyny atynt, ac yr oedd y Boers yn gweled yn hyn oll arwyddion o nesâd yr amser y byddai y Bechuaniaid yn rhy oleuedig i blygu eu gyddfau mor ddirwgnach i'w hiau orthrymus hwy. Y maent yn ddigon anwybodus eu hunain at un pwrpas. Yr oedd fod gan Mr. Livingstone gyfonglyr (*sextant*), ac yr oedd hyny yn ddigon o brawf iddynt hwy fod perthynas rhyngddo ef a'r llywodraeth. Yr oeddynt wedi clywed am bellwelyr (*telescope*) mawr Arg. Rosse, a gofynent i'r cenadwr, "Pa hawl sydd gan eich llywodraeth chwi i osod y gwydr mawr yna i fyny yn y Penrhyn i edrych ar ein hol ni y tu hwnt i fynyddoedd Casha?"

Dechreuodd Mr. Livingstone gasglu cymaint o wybodaeth ag oedd yn bosibl, a allai fod yn gynnorthwyol iddo yn ei hynt bwysig i'r gogledd. Ar ei ffordd yr oedd y rhan ëang hono o wlad a elwir anialdir Kalahari. Gelwir y parth hwnw yn anial, am nad oedd ynddo ddim dwfr rhedegog, ac nid oes ynddo ond ychydig ddwfr mewn pydewau chwaith. Mae yno dyfiant a phreswylwyr. Cuddir ef gan laswellt a llwyni, a cheir yno rai coed mawrion. Y gamp wrth deithio y lle hwn yw cael hyd i'r ffordd hono ar hyd pa un y deuir ar draws rhai o'r pydewau. Nid ychydig sydd wedi anturio yno a threngu gan syched. Preswylir yr anial hwn gan ddau fath o bobl, o ba rai gelwir y naill y Llwynwyr (*Bushmen*), a'r lleill Bakalahari. Crwydriaid yw y Llwynwyr yno fel yn rhanau eraill Affrica. Nid ydynt yn gwrteithio y tir, nac yn cadw anifeiliaid ond cŵn truenus. Y maent yn byw ar helwriaeth ac ar wreiddiau a ffrwythau, ac y mae eu gwragedd yn eu casglu yn yr anial. Am y Bakalahari, tybir mai hwy yw yr henaf o'r llwythau Bechuanaidd. Dywedir eu bod unwaith yn meddu ar lawer iawn o anifeiliaid corniog, nes eu hyspeilio o honynt a'u gyru am noddfa i'r anial hwn. Y maent yn preswylio yr un gwastadedd â'r Llwynwyr, yn dyoddef yr un syched, ac yn byw ar yr un ymborth â hwythau am ganrifoedd. Ac eto y mae gwahaniaeth dirfawr rhyngddynt. Casgla Dr. Livingstone oddiwrth hyn fod rhywbeth heblaw lle yn peri y gwahaniaeth sydd rhwng un genedl a chenedl arall. Y mae y Bakalahari yn parhâu i goleddu y cariad Bechuanaidd at drin y tir, ac at gadw anifeiliaid dofion. Y maent yn parhâu i geibio eu gerddi, er mai ychydig bompiwn a phethau felly a gynnyrchir ynddynt; ac y maent yn magu deadelloedd bychain o eifr, er ei fod yn costio trafferth fawr i gael dwfr iddynt. Gwelodd Mr. L. hwynt yn codi dwfr i ddiwallu syched eu hoff anifeiliaid o bydewau bychain â darn o blisgyn ŵy yr estrys, ac wrth y llonaid llwy. Y maent yn bobl ofnus, ac yn dychrynu yn fawr rhag ymweliadau llwythau dyeithr o Bechuaniaid. Gall y sawl a fyn o'r

rhai hyny fyned i bentref o Bakalahari, a chwareu y meistr arnynt faint a fynont yn ddiberygl; ond os dygwydd i'r anturwyr gyfarfod ar eu hynt â myntai o Lwynwyr, y mae agwedd pethau wedi newid, a rhaid iddynt hwythau newid eu tôn a siarad yn fwyn; oblegid os cyfyd ymrafael rhyngddynt â'r tylwyth hwnw, gallant ddysgwyl i'r mater gael ei benderfynu allan o law â blaen saeth wedi ei gwenwyno. Y mae amryw lwythau o Bechuaniaid wedi ffoi am noddfa i'r anial hwn, pan anrheithid eu gwledydd gan y llwyth o wir Gaffrariaid a elwir Matebele, a darfu i'r rhai hyny drengu o syched wrth y cannoedd yn eu hymgais i'w goddiweddyd.

Bwriadai Mr. Livingstone fyned i chwilio am y llyn Ngami, am yr hwn y gwyddid er ys blynyddoedd lawer ei fod mewn bodolaeth, ond nis gwyddai un Ewropëad yn iawn pa le yr ydoedd. Nid oedd un dyn gwŷn wedi ei weled erioed, ac yr oedd hyd yn nôd y Griquas wedi methu yn eu hamcan i groesi yr anial i'w gyrhaedd. Yr oedd o bwys gan hyny—yn wir yr oedd yn hanfodol—cael hyd i arweinyddion a wyddent y ffordd iawn i fyned ato. Pe dygwyddasai i'n cenadwr a'i gymdeithion geisio myned yno ar draws yr anial, heb arweinwyr cyfarwydd, a tharo ar ffordd lle y gallent deithio cannoedd o filldiroedd heb ddyfod o hyd i ddafn o ddwfr, buasai yn angeu iddynt bob yr un, fel y dygwyddasai i gannoedd o'u blaen. Darfu i'r ystyriaethau hyn beri i Mr. L. benderfynu ceisio gwneyd ei ffordd tua'r llyn o amgylch yr anial yn hytrach na thrwyddo; ond nis gallai fyned felly chwaith heb arweinyddion.

Yr oedd penaeth y Bamangwato, enw yr hwn yw Sekomi, yn gyfarwydd â ffordd i fyned yno, ond cadwai y wybodaeth am dani yn ofalus iddo ei hun. Y mae yn y wlad o gwmpas y llŷn gyfoeth mawr o ifori. Yr oedd Sekomi yn medru cael cyflawnder o'r nwydd gwerthfawr hwnw wrth ychydig o draul, ac yr ydoedd am gadw y fantais yn ei ddwylaw ei hun. Cafodd Mr. Livingstone gan Sechele anfon cenadwri at y penaeth Sekomi, yn erfyn am ganiatâd i fyned ar hyd ei lwybr ef, a chyda'r genad anfonwyd ŷch iddo yn anrheg. Ond darfu i fam Sekomi, yr hon oedd â dylanwad mawr arno, wrthod y cais, oblegid nad oeddid wedi anfon anrheg iddi hithau. Gwnaeth hyn genadwriaeth newydd yn anghenrheidiol, a'r tro hwn, anfonwyd y dyn mwyaf anrhydeddus yn yr holl lwyth, yn nesaf at Sechele ei hun, âg anrhegion i bob un o'r ddau. Ond bu y genadwriaeth hon mor aflwyddiannus â'r gyntaf. Yr atebiad a gafwyd ydoedd, "Y mae y Matebele, gelynion marwol y Bechuaniaid, yn preswylio ar y ffordd i'r llŷn; a phe byddai iddynt hwy ladd y dyn gwŷn, fe fyddai idd ei holl genedl ef osod bai mawr wrth ein drysau ni." Ond gwyddai Mr. Livingstone a Sechele hefyd nad oedd hyn oll ond esgus. Nid oedd y fam na'r mab yn prisio ond ychydig pa beth a ddeuai o'r dyn gwŷn. Rhywbeth arall gwŷn oedd yn eu calon hwy,—eu holl ofal hwy oedd cadw yr ifori iddynt eu hunain. Y mae y Bechuaniaid, fe welir, wedi dysgu y ffordd i felysu gwrthodiad â rhesymau celwyddog. Nid oes gan un Cymro, gan hyny, sydd yn hyddysg yn y gamp hon, un rheswm i fod yn falch o'i fedrusrwydd.

Yr oedd Sechele yn dymuno myned gyda Mr. Livingstone ar ei daith; ond gan yr ofnid ymweliad oddiwrth y Boers, cynghorodd y cenadwr ef i aros gartref. Yr oedd boneddwr o'r enw Mr. Oswell wedi rhoddi i fyny swydd anrhydeddus ac ennillfawr, yn unig er mwyn cael ei hun yn rhydd i wneyd ymchwiliadau daearyddol yn Affrica. Clybu efe am fwriad Mr.

Livingstone i fyned tua'r gogledd, ac anfonodd ar unwaith i ddywedyd y byddai yn dda ganddo gael ymuno âg ef yn yr anturiaeth. Daeth i fyny i Kolobeng, a boneddwr arall o'r enw Mr. Murray gydag ef, ac ar y dydd cyntaf o Mehefin, 1849, cychwynodd y tri ynghyd ar eu hynt bwysig tua'r gogledd-dir anadnabyddus. Rhaid i ni eu gadael ar hyn o bryd. Trueni fyddai dechreu ar hanes y daith ac heb fyned trwyddi. Cawn olrhain eu camrau yn y daith ddyddorol hon, a chamrau Dr. Livingstone yn y daith feithach a mwy pwysig a gymerodd wrtho ei hun, mewn rhifynau dyfodol.

---

# NATUR A'R BIBL.

Y MAE cysylltiad agos a phwysig rhwng dyn â'r ddau air uchod. Y mae y fath gydweddiad rhwng y tri hefyd, ag sydd yn profi mai yr un Llaw fu wrthynt—eu bod yn gynnyrch yr un gallu, yr un doethineb, a'r un daioni. Y mae Dyn, Natur, a'r Bibl, yn blant yr un Tad, a'r Tad hwnw yw Duw. Eto y mae gwahaniaeth eglur yn nghyfansoddiad a dyben pob un o honynt. Y mae dyn wedi ei wneyd, nid er mwyn natur, nac er mwyn y Bibl, ond er mwyn ei Dduw; ond y mae natur a'r Bibl wedi eu gwneyd er mwyn dyn. Nis gall dyn wella dim ar natur, nac ar y Bibl; ond y mae natur a'r Bibl wedi eu rhoddi i ddwyn ymlaen welliant a chynnydd tragywyddol dyn. Crëadur i'w ddysgyblu a'i ddysgu yw dyn; sefyllfa o ddysgyblaeth yw ei sefyllfa bresennol; a llïosog ydyw y manteision addysg, a'r gwersi amrywiol, y mae ei Dduw wedi eu darparu ar ei gyfer. Ac y mae natur a'r Bibl yn ddwy ffynnonell fawr ei addysgiadau.

Am y cyntaf y dywedir, "Y nefoedd sydd yn dadgan gogoniant Duw, a'r ffurfafen sydd yn mynegi gwaith ei ddwylaw ef. Dydd i ddydd a draetha ymadrodd, a nos i nos a ddengys wybodaeth, heb iaith nac ymadrodd." Ac am y llall y dywedir ei fod "wedi ei roddi trwy ysbrydoliaeth Duw, ac yn fuddiol i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder, fel y byddo dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda." Trwy offerynoliaeth y ddau athraw yma, y mae Duw "yn dysgu dyn yn fwy nag anifeiliaid y ddaear, ac yn ei wneyd yn ddoethach nag ehediaid y nefoedd." Trwy y rhai hyn y mae yn dysgu gwybodaeth, doethineb, a chyfiawnder iddo. Y mae y cyntaf yn "dadgan gogoniant," yn "traethu ymadrodd," ac yn "dangos gwybodaeth, heb iaith nac ymadrodd." Athraw dystaw ydyw. Ond y mae y Bibl yn dyfod yn nês ac yn eglurach—yn cymeryd geiriau ganddo, ac yn llefaru wrthym "lawer gwaith, a llawer modd."

Y mae ystyr ac addysg natur yn cael eu hesgeuluso gan lïaws y byd. Y mae miloedd o ddynion yn edrych arni heb ei gweled; yn clywed ei sŵn heb ddeall ei lleferydd, na meddwl fod iddi yr un ystyr. Nid ydynt yn teimlo mwy oddiwrth olygfëydd prydferth ac amrywiol gweithredoedd dwylaw Duw, na phe buasai holl wyneb y ddaear wedi ei balmantu â cheryg, fel ystrŷd y dref, a'r nefoedd fry wedi ei dwbio â *yellow ochre*. Nid ydynt un amser yn sefyll i godi eu penau i edrych ar ogoniant y nefoedd a'i lluoedd, ac i ystyried, "Pwy a grëodd y rhai hyn?" Y maent yn bwyta, yn gwisgo, ac yn mwynhâu cynnyrch y ddaear, ond heb feddwl byth o ba le, na pha fodd, y mae y cynnyrchion hyny yn dyfod iddynt. Ni fuont yn synu mynyd erioed uwchben y peiriant mawr ardderchog sydd gan y Crëawdwr i weithio bwyd a dillad iddynt. I'r cyfryw, y mae natur, mewn rhyw ystyr, wedi ei chrëu yn ofer. Ond nid yw pawb felly. Y mae i bob awdwr ei fawrygwyr, ac i bob llyfr ei ddarllenwyr; ac felly llyfr ëang a dwfn crëadigaeth. Y mae tyrfa o berchenogion y galluoedd cryfaf, ymhob oes, wedi bod yn mwynhâu ei phrydferthwch swynol, yn dyfalu uwchben ei thudalenau cynnwysfawr, yn dysgu ei gwersi buddiol, yn mawrygu y doethineb a'r gallu sydd ynddi, yn ymwasgu mor agos i'w chyfrinach, nes o'r diwedd daro wrth Dduw ynddi, a syrthio wrth ei draed i'w addoli, gan ddywedyd, "Ni a glywsom â'n clustiau sôn am danat, ond yn awr ein llygaid a'th welsant."

Y mae perthynas agos a phwysig rhwng dyn, natur, a'r Bibl. Nis gall y naill hebgor y llall. "Y tri hyn un ydynt." Crëadigaeth heb ddyn, llyfr heb un darllenydd iddo fuasai; telyn heb un bys i chwareu arni. A buasai dyn heb natur o'i gwmpas lawn mor ddiffygiol. Galluoedd heb waith iddynt fuasai hyny; llygad heb ddim i edrych arno; llaw heb ddim i ymaflyd ynddo. Ond wedi cael dyn a natur at eu gilydd, y mae cymhwysder, cydgordiad, a gogoniant ynddynt. Yr un fath am y Bibl hefyd. Heb ddyn, ni fuasai y dadguddiad gogoneddus hwn o feddwl ac ewyllys y Duw Mawr yn cyrhaedd ei amcan: llythyr heb neb i'w agor, i fod â'i sêl heb ei dori byth, fuasai; ewyllys fawr, yn cynnwys etifeddiaeth anllygredig, ond heb un etifedd i'w derbyn. Ac ni wnaethai dyn a'r Bibl y tro heb natur ychwaith: nis gallasent ddeall eu gilydd. Natur yw unig iaith dyn. Nis gall ddeall dim am feddwl ond trwy natur; nis gall ddeall dim am y byd ysbrydol ond trwy y byd naturiol. Trwy yr allanol a'r gweledig yr ydym wedi dysgu amgyffred a siarad am bethau mewnol ac anweledig. Felly yr ydym yn galw teimlad yn galon, a meddwl yn ben. "Cyhyd ei ben yw y dyn." Nid ei benglog a feddylir, ond rhywbeth anweledig sydd o'i fewn. Gelwir un dyn yn llew, un arall yn walch, un arall yn gadnaw, ac un arall yn oen, ac y mae gan bob un ei ddrychfeddwl gwahanol a phriodol. Y mae natur wedi ei rhoddi i ddyn i chwilio allan am gyfatebiaeth rhwng yr allanol a'r tufewnol—rhwng y gweledig a'r anweledig, a throi holl natur yn arwyddluniau o ddrychfeddyliau, neu gysylltu rhyw ddrychfeddwl â phob gwrthddrych gweledig. Ac wedi i natur ddysgu iaith i ddyn, neu yn hytrach wedi i ddyn droi natur yn iaith, daeth y Bibl â dadguddiad gogoneddus iddo yn yr iaith hono. Felly y mae dyn, natur, a'r Bibl, yn anwahanol gysylltiedig â'u gilydd.

Llefaru wrth ddyn drwy natur y mae y Bibl; natur yw ei iaith. Nid oes genym yr un drychfeddwl am Dduw ond a drosglwyddwyd i ni trwy natur fel iaith neu arwyddlun. Wrth ei ddysgu am ei fawredd, dywed ei

fod "yn uwch na'r nefoedd, yn hŵy na'r ddaear, ac yn lletach na'r môr;" fod y "corwynt yn gerbyd iddo, a'r cymylau yn llwch ei draed." Dysg ei barhâd wrth ei gymharu â natur,—"Edrychwch ar y nefoedd uchod, ac ar y ddaear isod; hwynt-hwy a ddarfyddant, a thi a barhëi." I ddangos ei ddaioni, geilw ef yn "haul a tharian." Dywed am Iesu Grist fel "Gwïalen o gyff Jesse,"—"Llew o lwyth Judah,"—"Oen Duw, diniwed a difrycheulyd." Desgrifir teyrnas nefoedd, trwy "yr hauwr yn myned allan i hau,"—yr "hedyn mwstard," a'r "gwenith a'r efrau yn eu mysg." Y mae y dyn duwiol fel "pren wedi ei blanu ar làn afonydd dyfroedd, yr hwn a ddwg ei ffrwyth yn ei bryd, a'i ddalen ni wywa." Yn y 15fed bennod o 1 Corinthiaid dacw holl natur, o'r haul a'r lleuad, a'r sêr, hyd at y "gronyn gwenith, neu ryw rawn arall," yn cael eu defnyddio yn iaith i egluro gwirionedd pwysig yr adgyfodiad. Felly canfyddwn yn eglur mai trwy offerynoliaeth natur fel iaith y mae y Bibl yn trosglwyddo ei genadwri, ac yn cyflawni ei weinidogaeth, tuag at ddyn.

Y mae llawer yn barod i dybied fod rhyw wrthdarawiad rhwng natur a'r Bibl, ac yn dueddol i ddiraddio y naill er mwyn dyrchafu y llall. Ond y mae hyny yn berffaith groes i wirioneddau ac esiamplau ysgrythyrol. Y mae y Bibl yn talu gwarogaeth fawr i natur. Y mae ynddo gyfeiriadau parhâus ati, a dyfyniadau llïosog o honi. Yn y Bibl y cawn hanes ei chrëadigaeth, a'i pherffeithiad graddol. Gyrai yr Arglwydd Abraham i rifo sêr y nefoedd, tywod y môr, a gwlith y bore, i ddangos llïosogrwydd ei had iddo. I lyfr mawr natur yr arweiniodd yr Arglwydd Job i gael ei arholi; a hwnw oedd yr arholiad caletaf y bu un dysgybl dano gan athraw erioed. O natur y benthyciodd y Salmydd gymhariaethau prydferth ei Salmau melus. Ac ni bu neb erioed a dalodd fwy o sylw, nac a wnaeth fwy o ddefnydd o natur, nag Iesu Grist ei hun, yr hwn y crëwyd pob peth trwyddo ac erddo.

Y mae natur wedi ei bwriadu i ddadguddio Duw i ddyn, yn ei fawredd, ei ddoethineb, a'i ddaioni, ac er mwyn dysgu yr enaid i'w fawrhâu a'i addoli. Dyma ei dyben uchaf. Ond y mae natur hefyd yn gronfa fawr o elfenau ac egwyddorion gwybodaeth i ddyn, iddo i'w chwilio allan a'u deall, er mwyn dysgyblu ei enaid, addurno ei hunan â gwybodaeth, a throi y cyfan i wasanaethu ei gyfleusderau a'i gysuron ei hun. Er cymaint yw galluoedd dyn, er cymaint yw ei ymroddiad a'i ddyfalbarhâd, ac er fod ei feddwl galluog i gynnyddu mewn nerth a threiddgarwch am dragywyddoldeb, eto ni wêl byth o'r diwrnod pan fydd wedi deall a meistroli cynnwys y ddwy gyfrol anhysbyddadwy hyn. Y mae wedi gwneyd llawer eisoes, mae yn wir: y mae wedi rhoddi camrau gorchestol; wedi cloddio allan drysorau gwerthfawr; wedi ennill gwybodaeth lawer; ac wedi cael buddugoliaeth ar ol buddugoliaeth. Y mae gyda'i Ddaeareg wedi myned i mewn i fòl y ddaear, wedi agor ei choluddion, a mynu allan ddirgel gyfrinach ei chreigiau a'i mhŵnau. Y mae wedi rhoddi cwestiynau caled iddi am elfenau, adeg, a dull ffurfiad ei chyfansoddiad. Ac nid, fel y bydd ambell un, gofyn cwestiwn, a throi ymaith ateb neu beidio, ond y mae wedi ei gorfodi i ateb llïaws o'i holiadau—y mae yn *gwneyd* iddi ateb. Y mae wedi ei mesur a'i phwyso; wedi olrhain cyfansoddiad ei llysiau, ei choedydd, a'i miloedd anifeiliaid. Y mae wedi dadguddio llawer o ddirgelion, ac wedi dyfeisio pethau mawrion. Ond nid yw ei efrydiaeth eto ond ar ei chychwyniad; nid yw ei wybodaeth am natur a'r Bibl ond y peth nesaf i ddim.

Nid yw wedi myned dros yr egwyddor—yr A B C eto. Nid yw wedi rhoddi ond un cam byr ar gyfandir na welodd yr un llygad erioed ei derfynau.

Os bydd tipyn o feddwl gan ddyn, y mae tuedd gref yn ngolygfëydd amrywiol a bythgyfnewidiol natur i'w dynu allan: nefoedd a daear, dydd a nos, hwyr a bore, gwlaw a hindda, rhew ac eira, tir a môr; gwahanol dymmorau y flwyddyn—y gwanwyn adfywiol, yr haf prydferth, yr hydref cyfoethog, a'r gauaf ystormus: cyfansoddiad ac agwedd y ddaear hefyd, y creigiau clyd, y mynyddoedd uchel, y dyffrynoedd breision; y llynoedd, yr afonydd, a'r nentydd; anifeiliaid ac ymlusgiaid y ddaear, ac adar amrywiol y nefoedd; y gwynt a'r cymylau, y mellt a'r taranau, twrw a therfysg diddarfod y ddaear, a dystawrwydd dylanwadol y nefoedd. Y mae yn anhawdd i ddyn, wedi ei osod i lawr yn nghanol y fath olygfëydd cyffröus, a'r fath gyfnewidiadau dyeithr, beidio sylwi—peidio meddwl—a pheidio holi mil a myrdd o gwestiynau, am y paham, a'r pa fodd. Ac y mae clywed y dyn, fel clywed y plentyn, yn dechreu holi cwestiynau yn arwydd er daioni; y mae yn profi fod ei feddwl yn dechreu ymddeffro ac ysgogi, o dan ei ddysgyblaeth.

Y mae cynefindra dyn â golygfëydd natur, fel â gwirioneddau y Bibl, yn lleihâu eu dylanwad arno. Pe rhoddid dyn i lawr ar wyneb y ddaear yma yn ei gyflawn faintioli, a'i synwyrau a'i reswm wedi cyrhaedd addfedrwydd, diammheu y byddai yn anhawdd cael gan hwnw wneyd dim byth ond syllu, a synu uwchben rhyfeddodau diddiwedd gweithredoedd dwylaw Duw. Byddai y grëadigaeth yn llawn gwyrthiau didor o'i gwmpas ddydd a nos, a'i enaid dan gynhyrfiadau arswydus yn eu canol. Ond y mae fod dyn yn cael ei godi er yn faban yn nghanol y rhyfeddodau yma, a hwythau yn cael eu dadguddio iddo mor raddol, yn gwneyd gwahaniaeth dirfawr, ac yn peri i lawer dyn dreulio oes faith yn ngolwg y rhyfeddodau mwyaf heb erioed eu gweled. Yr ydym yn cofio yn dda ein teimladau pan welsom yr Wyddfa y waith gyntaf. Yr oeddem yn teimlo tuag ati yn debyg fel y teimlem pan yn edrych ar ein Brenines dyner, Victoria. Gallasem edrych arni trwy y dydd heb flino. Ac ni chymerasem lawer am droi ymaith heb ddringo i'w phen, er iddo gostio chwythu a chwysu llawer i ni. Wedi dychwelyd adref, yr oeddem mor falch, ac yn ymffrostio yn nghlyw ein cyfeillion, i ni fod ar ben yr Wyddfa. "Pw, pw," meddai cyfaill, "cefais i fy magu ar ei throed, ond ni fum i erioed mor ddwl a myned i'w phen." Y mae rhan gyntaf y frawddeg yn ddigon o esboniad ar y rhan olaf. Yr oedd ef yn byw yn rhy agos i'r mynydd mawreddog a brawychus i allu ei weled, na theimlo dyddordeb ynddo.

Os cyduni, ddarllenydd, ni a grwydrwn ychydig ymysg golygfëydd natur, heb nodi un llwybr i fyned ar hyd-ddo, â'n llygaid yn agored, a'n meddyliau a'n calonau mor effro ag y gallwn eu cael, i edrych a ennillwn ni werth y drafferth. Golygfa ryfedd a chyffröus iawn yw dydd a nos, tywyllwch a goleuni yn ymlid eu gilydd o amgylch y ddaear, fel plant yn rhedeg ar ol eu gilydd o amgylch y tŷ, a'r naill yn methu yn lân a dal y llall. Bu y byd yn hir cyn deall yr achos o hyn. Yr hen dybiaeth a goleddwyd gan y byd am fwy na phum' mil o flynyddoedd oedd fod y ddaear yn sefydlog, ac yn ganolbwynt crëadigaeth, a'r haul a'r lleuad a'r ser yn troi o'i hamgylch. Yr oedd y naill seryddwr ar ol y llall yn cymeryd hwn fel gwirionedd caniatäol, ac yn dechreu eu hymchwiliadau ar y sail hon; a bu hyn yn rhwystr pwysig i lwyddiant gwyddoniaeth. Yn wir,

nid peth hawdd oedd cael allan y drychfeddwl cyntaf am ansefydlogrwydd y ddaear. Ond ar y 19eg o Ionawr, 1472, dacw faban wedi ei eni yn Prwssia. Rieni, gofelwch am dano, y mae gan hwna orchwyl pwysig i'w gyflawni. Pwy fuasai yn meddwl, wrth weled y plentyn hwnw yn rhoi ei droed wèn fechan ar y ddaear y waith gyntaf, fel i deimlo a oedd hi yn symud neu beidio, mai efe fuasai yn cyhoeddi i'r byd ryw ddiwrnod y gwirionedd pwysig mai planed yw y ddaear yn troi o gylch yr haul. Daeth y baban yma yn raddol yn blentyn, a'r plentyn yn llanc; ac wele ef yn troi ei feddwl at destun hoff gan ei galon—seryddiaeth; yn ceisio cysoni yr hyn a ddarllenai yn y llyfrau, a'r hyn a welai yn y ffurfafen uwch ei ben. Methai yn lân a gweled y cysondeb. Treuliodd ddeng mlynedd ar hugain uwchben un *broblem.* O'r diwedd, wrth ddyfalu, a phrofi, a dyrysu, cododd petrusder yn ei feddwl am sefydlogrwydd y ddaear. Yr oedd y petrusder hwn yn ddigon o dâl am ei holl lafur caled. Buasai wedi byw i bwrpas pe na wnaethai ddim ond dyfod i'r byd i ammheu y pwnc, a chyhoeddi ei ammheuaeth. Yr oedd anhawsderau lawer ar y ffordd, a llonaid byd o ragfarn yn ei erbyn. Gwyddai o'r goreu y buasai tori ar draws hen gredöau yr hen seryddwyr oedd y gwledydd yn hanner addoli, yn esgor ar brofedigaethau, yn gystal ag ar chwyldröadau. Ond, er hyn oll, ymwrolodd, teimlodd ei wadnau ei hun dano, ymwrthododd â'r hen gyfundrefn, a dechreuodd adeiladu cyfundrefn newydd o hono ei hun. Gosododd yr haul yn lle y ddaear, yn ganolbwynt iddi, a dechreuodd syllu o'i gwmpas oddiar gefn hwnw i weled sut yr edrychai pethau. Ac oh! olygfa fendigedig! Dyna yr holl ddyryswch wedi cilio, a threfn a phrydferthwch wedi eu hadferu—ie, crëadigaeth newydd hollol yn ei gylchynu. Dacw yr holl fydoedd yn cylchdröi oddiarno yn rheolaidd, ac yn yr un cyfeiriad, a'r ddaear, hithau, wedi colli ei sefydlogrwydd, ac yn cychwyn ei "thro diderfyn yn y nen," gyda'i chwaer blanedau, gan roddi perffeithrwydd i'r gyfundrefn. Y gŵr hwn oedd yr anfarwol Nicholas Copernicus.

Gwyddost, ddarllenydd, mai pellen gron yw y ddaear. Y mae yn ormod gorchwyl perswadio llawer i gredu hyny, oblegid rhesymau (?) na feiddiai neb eu galw ar yr enw hwnw ond eu hunain. Nid oes raid i ti ymorphwys ar dystiolaeth neb ar bwnc fel hwn, waith gelli brofi y peth i ti dy hunan mewn tair ffordd. Saf ar ymyl y môr i weled llong yn myned allan, a'r peth cyntaf y colli dy olwg arni rhyngot a'r terfyngylch draw, fydd corff y llong, a'r peth olaf fydd pen yr hwylbren. Yr un fath a dyn, ar ol cyrhaedd copa y mynydd, ac yn troi i fyned i lawr i'r ochr arall, ei draed sydd yn myned o'r golwg gyntaf, a'i ben yn ddiweddaf. Ffordd arall yw, wrth sylwi ar ddiffyg ar y lleuad. Cysgod y ddaear yn disgyn ar y lleuad, pan mae y ddaear yn myned rhwng yr haul a'r lleuad, yw y diffyg. Gwyddost fod y cysgod bob amser yn grwn; felly os yw y cysgod o ffurf grwn, y mae y corff sydd yn peri y cysgod yn rhwym o fod yn grwn. Y drydedd ffordd i ti i brofi hyn yw, cychwyn ar daith, a dy wyneb tua'r gorllewin, dywed, a theithia am bum' mil ar hugain o filldiroedd, heb droi ar y ddehau nac ar yr aswy, a byddi wedi cyrhaedd yn ol i'r fan y cychwynaist. Ac os nad wyt yn ein credu, gwna y prawf. Y mae dau gylchdro y ddaear yn beth hollol naturiol. Yr un ar ei hechel ei hun, sydd yn gwneyd dydd a nos, a'r cylch mawr o gwmpas yr haul, sydd yn gwneyd y tymmorau. I gael golwg ar y ddau gylch yma, safed dau ddyn ryw ddeg llath ar hugain oddiwrth eu gilydd, a thafled un bêl neu afal i'r llall. Wrth fyned trwy

yr awyr o un i'r llall, ar hyd llinell gylchog, yr oedd yn troi ar ei hechel ei hun. Er na wnaeth y bêl ond darn bychan o'r cylch mawr, gwnaeth ddwsinau o'r cylchdro bychan ar ei hechel. Yr un fath yn union yw dull y ddaear yma o deithio, ond fod ei chyflymdra yn cyfateb i'w mhaint. Y mae yn ein chwyrnellu ni trwy yr awyr, wrth droi ar ei hechel, tua chwe' chant o filldiroedd yn yr awr. Pe buasem yn byw ar ei chanol, yn lle rhwng y canol a'r pegwn, fel yr ydym, buasem yn myned yn ol mil o filldiroedd yr awr. Ond y mae yn myned yn gyflymach o beth annhraethol yn y cylch y mae yn gwmpasu yn flynyddol o amgylch yr haul. Y mae yn ein dwyn yn hwn dros dri ugain ac wyth o filoedd o filldiroedd (68,000) bob awr—dros un cant ar ddeg o filldiroedd bob mynyd. Gwarchod ni! y mae yn myned fel ewig wedi tarfu!

Y fath gyfres o olygfëydd, o gyfnewidiadau, ac o amrywiaeth, y mae y ddaear yn ein cludo trwyddynt yn ei chylchdro dyddiol! y bore a'i brydferthwch; y canolddydd a'i oleuni; yr hwyr a'i gysgodau; ac wedi hyny, "gwnai dywyllwch, a nos fydd; ynddi yr ymlusga pob bwystfil coed; y cenawon llewod a ruant am ysglyfaeth, ac a geisiant eu bwyd gan Dduw. Pan godo haul, ymgasglant, a gorweddant yn eu llochesau; a dyn" drachefn, "a ä allan i'w waith, ac i'w orchwyl hyd yr hwyr." Dyma *Banorama* wedi ei osod i fyny gan Dduw.

Byddai gwibdaith ar gefn y ddaear, yn ei chylchdro blynyddol o gwmpas yr haul, â'n llygaid a'n clustiau yn agored i edrych ar natur yn troi dail ei llyfr mawr, ac yn arddangos gweithredoedd a meddyliau ei Chrëawdwr gogoneddus, yn ei gwahanol dymmorau, yn bleser annhraethol i berchen meddwl a fedr deimlo. Y mae yn anhawdd meddwl am ddim a allai weini mwy o foddhâd i deimlad dyn, na dim allai awgrymu cymaint o ddrychfeddyliau ac addysgiadau iddo. Edrychwch ar y gwanwyn cyflawn o fywyd, sydd yn crëu ac yn adnewyddu wyneb y ddaear: yr adeg pan mae "cusanau serchog yr haul, ac anadliadau cynhes y deheuwynt, yn deffro y ddaear o'i chwsg gauafaidd." Y fath allu Dwyfol sydd yn gweithio! Y fath nerth sydd yn ymwthio i'r golwg trwy bob brigyn, llysieuyn, a dalen! Y fath adgyfodiad cyffredinol a gogoneddus sydd yn cymeryd lle! Y mae y ddaear yn tynu ei dillad bedd oddiam dani, ac yn troi allan yn ngwisgoedd ei gogoniant. Y mae graddoldeb y cyfnewidiad yn ei wneyd yn llai effeithiol, ond nid yn llai rhyfeddol. Pe buasai natur yn neidio mewn moment o ganol rhew ac eira y gauaf, i ganol gwyrddlesni a blodau gwanwyn, yn debyg fel y daeth Iesu Grist allan o'i fedd, buasai yn taro yr holl fyd â syndod. Buasai pawb yn edrych arno fel gwyrth fawr, neu fel crëadigaeth newydd. Ond a yw ef yn llai o grëadigaeth oblegid mai yn raddol y mae yn cymeryd lle? A oedd gweledigaeth Ezeciel yn llai o wyrth, oblegid mai yn raddol y daeth yr esgyrn sychion yn ddynion byw? Y mae cymaint o Dduw yn y graddol a'r dystaw ag sydd yn y sydyn a'r cynhyrfus. Nid yn y daran, ond yn y llef ddystaw, fain, yr oedd Duw gynt. Ac y mae y bywyd sydd yn ymweithio trwy bob peth mor ddystaw yn y gwanwyn, yn llawn o Dduw, ac yn gyflawn o ddylanwad a phrydferthwch, i'r edrychydd. Fel y dywed Eben,—

"Mae ael anian yn ymloni—mae'n brain
Mewn brys am ddeori,
Mae ein hadar yn mwyn nodi
Miwsig y nef yn ein mysg ni.

"Mae ein gwanwyn yn min geni—y myrdd
Myrddiwn math o dlysni;
Mor wyrdd lân, mor hardd eleni
Mae tir a môr i'm trem i.

"Main laswellt mŷn ail oesi—man lle bu
Mewn lliw balch yn codi;
Mae allan drefn meillion dirf,
Mae ail olwg am y lili."

"Y mae ymweliad croesawgar y llysiau a'r blodau," meddai John Foster, mewn llythyr at gyfaill yn y gwanwyn, "llygaid y dydd, 'sanau'r brain, ac esgidiau'r gwcw, &c., wedi dyfod i lawr i'r ddaear, ac wedi ei gwneyd oll yn fyd newydd, yn ystod y mis diweddaf. Agorwyd holl ogoniant yr olygfa o'm blaen heddyw mewn taith trwy y meusydd, yn yr hon yr ymdrechais ddal ei holl ddelweddau swynol, a'u sicrhâu yn fy meddwl i fod yn baradwys barhâus i fyned iddi, ar ol colli y gallu, fe allai, i dderbyn ychwaneg o'i delweddau trwy fy llygaid. Yr wyf yn methu peidio synu at y gallu a fedr, trwy foddion nad all neb ddeall, mewn ychydig wythnosau, neu ddiwrnodau, dywallt y fath ddiluw o swynion dros y grëadigaeth. Dylem, hyd y gallem, wrteithio yr arferiad o gymeryd ein harwain gan holl destunau ein myfyrdod at yr Achos Mawr Cyntaf."

Tymmor yr hadau—adeg hau—yw y Gwanwyn, i gael medi mewn amser dyfodol. Ac oddiwrth hyn y mae y Bibl yn cymhwyso gwers fawr natur at y dyn,—"Pa beth bynag a hauo dyn, hyny hefyd a fêd efe." Golygfa ddyddorol fyddai gallu gweled y miliynau hadau sydd yn llechu dan y briddell y tymmor hwn; gweled y deddfau sydd yn eu llywodraethu; y gallu sydd ar waith yn ddystaw a dirgel ynddynt, a'r dynghed sydd yn eu haros mewn amser dyfodol. Yr hedyn bychan caled ydych yn ddal rhwng eich bys a'ch bawd, bydd hwna ryw ddiwrnod â'i wreiddiau cedyrn yn ymaflyd yn y graig, a'i gangenau llydain yn chwareu yn y gwynt. Y mae presennol pobpeth yn rhyw gyfangorff o egwyddorion ei ddyfodol. Nid yr hedyn yn unig, ond dyn hefyd, pob diwrnod, a phob dygwyddiad. Wrth edrych ar hedyn bychan y pren trwy chwyddwydr nerthol, dywedir y gellir gweled holl ffurf y pren ynddo, yn wreiddyn, yn gyff, ac yn gangenau. Felly y mae yr hedyn yn cario ei hanes ddyfodol ynddo ei hun, ond cael llygad digon craff i'w ddarllen. Felly yr enaid, y mae pob meddwl a syniad o'i fewn yn gyflawn o egwyddorion y dyfodol; byddant yn cario ymlaen, yn dadblygu, ac yn tyfu fel cedrwydd yn ffurfiad cymeriad tragywyddol y dyn. Pe byddai yn bosibl cael chwyddwydr meddyliol i edrych drwyddo ar weithrediadau meddwl, i weled yr elfenau a'r egwyddorion sydd ar waith yno, i ysbïo ar y gallu llywodraethol ynddo, byddai yn bosibl darllen hanes hwnw yn mhen miloedd o flynyddoedd i ddyfod, oddieithr i ddylanwad goruwchnaturiol ymyryd i effeithio cyfnewidiad, a throi cwrs pethau o'i fewn. Y mae gwanwyn i'r flwyddyn yr hyn yw bore oes i ddyn. Adeg derbyn i mewn ydyw; ac mewn amser dyfodol bydd yn gweithio allan yr hyn a dderbyniodd i mewn y tymmor hwn. "Y bore hau dy had." Cofia, ddarllenydd ieuanc, fod dy galon yn derbyn i mewn iddi yn awr bob dydd, ymhob amgylchiad. A phaid dysgwyl i ddim dyfu yna ond yr hadau sydd yn cael eu hau. "Yr hwn sydd yn hau i'r cnawd, o'r cnawd a fêd lygredigaeth; a'r hwn sydd yn hau i'r Ysbryd, o'r Ysbryd a fêd fywyd tragywyddol." Y peth sydd yn hedyn bach o'r golwg yn dy

galon heddyw, bydd, ymhen ychydig o flynyddau, wedi tyfu yn bren mawr yn dy gymeriad ag y bydd yn rhaid cael braich nerthol ofnadwy i'w ddiwreiddio. Gofaler, ynte, fod yr hadau yn dda, ac yna rhwydd hynt iddynt i wreiddio a thyfu.

Y mae y ddaear, hi yw ein cerbyd yn awr, yn ein cludo trwy holl olygfëydd cynhyrfus y gwanwyn, ymlaen i fwynderau hyfryd yr Haf. Tymmor o hawddgarwch a llawenydd yw yr haf. "Canys wele, y gauaf a aeth heibio, y gwlaw a basiodd ac a aeth ymaith; gwelwyd blodau ar y ddaear; daeth yr amser i'r adar ganu; clywyd llais y durtur yn ein gwlad."

Dringwch i ben y mynydd uchel ar ddiwrnod hyfryd o haf; sefwch yn syth ar ei gopa dyrchafedig, ac edrychwch o'ch amgylch, heb feddwl dim, os gellwch. Yr haul mawr oddiarnoch yn tywallt diluw o oleuni ar y ddaear; yr awel dyner sidanaidd yn sychu y dyferyn chwys oddiar eich ael, wrth fyned heibio â choflaid o berarogl blodau y dyffryn yn ei mynwes; y tameidiau dyffrynoedd gleision rhwng y twmpathau a'r creigiau odditanoch, ac afonydd bychain caredig yn ymddolenu trwyddynt i'w dyfrhâu; y coedydd oll, y dderwen, y sycamorwydden, y fedwen, y werneu, ac hyd yn nôd y ddraenen, wedi ymwisgo yn eu dillad goreu, ac yn cystadlu am brydferthwch; y cornentydd a'r mânffrydiau yn rhedeg allan o ystlysau y mynydd, ac yn myned dan dwrddan a chwerthin tua'r môr; cyfarthiad y ci, a brefiad y fuwch, y ddafad, a'r oen, i'w clywed o bell; miwsig mil o adar yn chwyddo yr awyrgylch o amgylch; yr uchedydd llon yn ysmotyn bychan du i fyny yn mynwes y ffurfafen, yn gwlawio ei gerddoriaeth yn gawodydd adfywiol dros lechweddau y mynydd! Pa le mae y dyn sydd yn berchen llygad, clust, a chalon, fedr sefyll yn y fath le, heb dderbyn argraff ar ei ysbryd, heb deimlo cyffröad trwy ei gnawd a'i esgyrn, heb i syniadau fyrdd gael eu cenedlu yn ei galon, ïe, heb iddo deimlo agosrwydd yr Ysbryd Anfeidrol trwyddynt, a syrthio ar ei wyneb i'w addoli?

Aroswch: peidiwch a disgyn o'r fan yna am ychydig oriau, a chewch ddarlun newydd o'ch blaen. Tynir y llen dros y llall, machluda yr haul, ac wele yr olygfa yn newid. Dyma y lloer hynaws, "hardd lygad yr wybren," yn nofio yr ëangderau, a gosgordd dirifedi o ser yn ei chanlyn, byd ar ol byd yn gwneyd ei ymddangosiad, ac yn pasio i fyny dros y terfyngylch, i chwareu ei ran ar esgynlawr y nefoedd, ac i ychwanegu gogoniant yr arddangosiad.

"Yr awyr las yn codi uwch mesur fry i'r lân,
Tu hwnt pob mesur eilwaith yn lledu i bob mân;
Diderfyn yw ei chwmpas, a bydoedd ëang sy
Yn wyllt yn rhedeg troion gwastadol yn ei bru;
Yn enyn yn ei cheudod mae moroedd mawr o dân,
A bydoedd mawr anfeidrol i'w gwel'd fel perlau mân."

Mor debyg y canodd y Cymro a'r Sais, onidê?—

"Who turns his eye on nature's midnight face,
But must inquire, what hand behind the scene,
What arm almighty put these wheeling globes
In motion, and wound up the vast machine?
Who rounded in his palm these spacious orbs?
Who bowled them flaming through the dark profound,
Numerous as glittering drops of morning dew,
Or sparks from populous cities in a blaze,
And set the bosom of old Nature on fire?"

Ac wrth gymharu golygfëydd dydd a nos â'u gilydd, y mae yn anhawdd dyweyd pa un yw y mwyaf gogoneddus, pa un sydd yn cario yr amlygiadau mwyaf tarawiadol o Dduw, a pha un sydd yn cynnwys mwyaf o foddion dysgyblaeth a gwybodaeth i feddwl dyn.

Y tymmor nesaf ein dygir ni iddo yw yr Hydref; adeg y ffrwythau a'r cnydau. Edrychwch ar gangenau y coed yn plygu dan feichiau o ffrwythau addfed, a'r dyffrynoedd wedi eu gorchuddio âg ŷd; tyrfäoedd y medelwyr yn bwrw eu crymanau i mewn, "canys addfedodd cynauaf y ddaear." Cyfrol o esboniad ar y gwanwyn yw yr hydref. Yr had a hauwyd yn y gwanwyn a wreiddiodd ac a dyfodd yn yr haf, daw y ffrwyth yn yr hydref i brofi pa fath ydoedd. Dydd barn y flwyddyn yw y tymmor hwn—diwrnod taledigaeth: gwobr a llawenydd i'r llafurwr, ond tlodi a thywyllwch i'r segurddyn. Dyma y pryd y gwirir y geiriau pwysig,—"Pa beth bynag a hauo dyn, hyny hefyd a fêd efe." Peidiwch dysgwyl medi ffrwyth a digonedd, yn naturiol, meddyliol, na chrefyddol, yn hydref eich bywyd, os nad ydych yn llafurio ac yn hau yn ngwanwyn bywyd. Y mae addysg pwysig yn nammeg ddigrifol Aesop i'r morgrugyn a cheiliog y gwair. Y mae Nicander wedi ei rhoi yn llithrig iawn ar gân; ac y mae y Cymro yn fwy hoff o bob peth ar ffurf fydryddol. Dyma hi,—

"Ryw dro fel mae 'r gair, daeth Sioncyn y gwair,
  A gyfenwir yn geiliog y rhedyn,
A'i wep yn brudd lwyd, o newyn am fwyd,
  At daclus dŷ clyd y Morgrugyn.
'R oedd eira tew gwŷn, ar bant ac ar fryn,
A 'scrytian gan anwyd 'r oedd Sioncyn;
'A gaf fi ddarn o heidden, i mi a'r plant rhag anghen,
('Rwy 'n farw bron gan oerni a phoen), neu ddarn o groen pytaten.'
'Lle 'r oeddit ti 'r cnaf, ar dywydd teg braf,
Yn lle casglu digon ar hinon yr haf?'
'Wel, gyda 'ch cenad, ewa, ni bum i yn segura,
Ond canu 'n fwyn mewn rhoswair tew, nes daeth y rhew a'r eira."
  "'Ho, felly! 'r neb sy ffoled â dilyn cerdd a baled,
Yn lle hel trysor yn yr haf, trwy dymmor gauaf dawnsied.'"

Dawnsio yn wir! Gorchwyl anhawdd fydd dawnsio pan fydd yr haf wedi darfod, a'r cynauaf wedi myned heibio, heb un ddarbodaeth ar gyfer oerni a chaledi gauaf. Ddyn ieuanc! er dim adnebydd dy dymmor.

Y mae yr hydref yn agor golygfa drom a phruddaidd o'n blaen. Y mae natur yma yn rhedeg i ryw *grisis*, ac fel pe yn colli ei nerth ynddo. Y mae ei bywyd yn troi yn ol; ei blodau yn gwywo, ei gwyrddlesni yn colli, a'i dail yn cwympo. Pan fyddo llanw bywyd yn troi yn ol yn yr hydref, os na fydd gwreiddyn gan y pren neu y llysieuyn, i'r bywyd redeg yn ol iddo, i lechu dan ystormydd y gauaf, bydd ei oes ef ar ben. Y mae bywyd dyn ar y ddaear hefyd yn cyfarfod â thynghed gyffelyb. Y mae adeg derbyn i mewn, a thyfu, drosodd. Y mae ystormydd a thymhestloedd gauaf yn yr ymyl. Y mae eisieu rhyw wreiddyn ar ddyn hefyd i'r bywyd redeg yn ol iddo lechu. Edrychwch ar y dderwen gangenog, yn cael ei churo a'i fflangellu o flaen ystormydd y gauaf; gallech feddwl ei bod wedi marw; nid oes na mesen na dalen na gwyrddlesni arni. Ond y mae ganddi fywyd wedi cilio yn ol i'r gwreiddyn; y mae yn gweithio yn hwnw, yn ei gryfhâu, ac yn gwella ei afaelion yn y graig. Pan ddaw'r gwanwyn, fe ddaw i fyny gyda mwy o nerth nag erioed. Tybed mai rhyw ddrychfeddwl

fel yma oedd gan yr apostol pan ddywedai,—"Meirw ydych, a'ch bywyd a guddiwyd gyda Christ yn Nuw?" Ac y mae ei wanwyn yntau yn dyfod, —"Pan ymddangoso Crist ein bywyd ni, yna yr ymddangoswch chwithau gydag ef mewn gogoniant."

Ond er mor ddifyr ac addysgiadol yw y golygfëydd, nid oes amser i gael ond cipolwg ar rai o honynt, waith mae y ddaear yn myned, a rhaid i ninnau fyned gyda hi i'r Gauaf eto. Y mae rhai yn hoffi ac yn mwynhâu golygfëydd y gauaf lawn cymaint ag eiddo un tymmor o'r flwyddyn: edrych ar y gawod eira a'i myrdd myrddiynau o blu prydferth yn llenwi yr awyrgylch, yr hwn a fwrir fel gwlân; a'r iâ, yr hwn a fwrir yn dameidiau, â'r hwn y palmentir wyneb y dyfroedd fel â chàreg, ac sydd yn addurno y graig noethlwm. Nid oes neb yn tosturio wrth y graig ond y gauaf. Nid yw y gwanwyn, er cymaint y mae yn ddilladu, yn rhoi yr un fantell am y graig. Nid yw yr haf, er llïosoced ei flodau, yn rhoi cymaint â "llygad y dydd" ar ei hystlys noeth hi. Nid yw yr hydref ychwaith, er cymaint ei gyfoeth, yn crogi cymaint â chrobosyn wrth drwyn y graig. Ond y mae y gauaf garw yn tosturio wrth y graig; yn crogi ei glychau prydferth o iâ wrth bob dant iddi; yn ei hadduruo â gemau a thlysau na fedr un celfyddydwr ei ddynwared; ac y mae yn cael ymddangos yn ei gogoniant anghymharol pan fyddo y meusydd a'r coedydd wedi colli eu prydferthwch i gyd. Y mae llawer yn gwneyd wyneb sarug a chuchiau câs ar y gauaf; ond nid yw yn haeddu hyn oddiar eu llaw. Yr ydym gymaint yn nyled y gauaf ag un tymmor. Heblaw y golygfëydd y mae yn eu dangos i ni, a'r egwyddorion sydd yn cael eu hamlygu trwy ddylanwad ei oerni ar wahanol gyrff, ei ystormydd ef sy'n puro yr awyr, ei rew a'i eira ef sydd yn tymheru y ddaear i dderbyn yr hadau iddi, a'i dymhestloedd ef sydd wedi bod yn symbylu cymdeithas i drefn a chysuron cymdeithasol a theuluaidd.

Wrth daflu cipolwg fel yma ar olygfëydd hynod y tymmorau, yn ystod cylchdro blwyddyn, a dim ond rhyw gyfeirio bys fel hyn wrth basio at ychydig o'r amrywiaeth, y gogoniant, a'r addysgiadau a gynnwysant, priodol yw geiriau Dafydd,—"Mor llïosog, O Arglwydd, yw dy weithredoedd! gwnaethost hwynt oll mewn doethineb; llawn yw y ddaear o'th gyfoeth." A dylai'r cwbl gyfeirio ein meddwl at Dduw: waith

"Mae 'r grëadigaeth fawr yn llawn
Prydferthwch o ysbrydol ryw,
Fel bys yn pwyntio 'n gywir iawn
At orsedd yr anfeidrol Dduw.

"Rhyw ysbryd mawr sy 'n treiddio 'r byd,
Mae 'r tân, a'r dŵr, a'r gwynt yn fyw;
Yn gwneuthur arch eu Duw o hyd,
Yn seinio 'i fawl—ond dyn nis clyw.

"Mae gwersi ar bob blodyn blydd,
Ac addysg ar bob deilen werdd,
Y ddaear a'r wybrenau sydd
Yn dyrchu 'r un dragwyddol gerdd."

Y mae yn wir, nad oes dim rhaid i ni wrth faes mor ëang er mwyn cael digon o dasg i'r meddwl. Y mae *un* o wrthddrychau natur, bydded ef grëadur byw, y llysieuyn bychan, neu dalp o'r graig farw, yn ddigon o destun oes o ymchwiliad i ddyn, a bod heb ei ddeall yn y diwedd. Nid

yw y wybodaeth berffeithiaf a feddwn am wrthddrychau mwyaf cynnefin natur, oud anmherffaith iawn. Cydiwch yn y blodeuyn bach mwyaf cyfarwydd, a gofynwch ychydig o'r cwestiynau mwyaf syml am dano i'r llysieuydd goreu yn y byd,—Beth oedd deddfau cyntaf bodolaeth hwn? Paham y cymerodd y ffurf yma fwy na rhyw ffurf arall? Pa fodd y trôdd y gwlybwr meithrinol a godai i fyny trwy y goes fain yma, yn wŷn mewn un man, yn goch mewn man arall, ac yn wyrdd mewn man arall, a'r cwbl ar un ddalen fechan llai ei maint na chwe' cheiniog? Pwy fedr ateb y cwestiynau? Edrychwch ar y peth distadlaf y gellwch daro wrtho. Dyna y ddalen grîn a syrthiodd ar ymyl eich het, wrth basio dan y pren—deliwch hi yn eich llaw. Y mae hanes bywyd dyddorol gan hona pe cai rywun digon medrus i'w adrodd. Pa sawl gwaith y bu y dymhestl yn ei chwipio yn llymdost? Sawl gwaith yr anafwyd hi gan y llwydrew—y diodwyd hi gan y cawodydd—ac y llonwyd hi gan belydrau serchog yr haul. Oes, y mae dyfnderoedd o ryfeddodau yn ei chyfansoddiad, a chyfrol o wersi yn ei hanes.

"Unwaith chwarddodd mewn gwyrddlesni,
Gwawr y nef orphwysodd arni,
Gyda myrddiwn o'i chyfeillion
Dawnsiodd yn yr hwyr awelon.

"Nid all haul er ymbelydru,
Na llawn lloer er ei harianu,
Ac nis gall yr awel dyner
Alw 'n ol ei hen ireidd-der.

"Blaguro ychydig oedd ei chyfran,
Rhoi un wên ar wyneb anian;
Llef o'r nef yn Hydref waedda,
'Darfu 'th waith'—a hithau drenga."

Ië, a phan y mae hi yn trengu ac yn cwympo, y mae byd cyfan o grëaduriaid bychain anweledig, sydd yn byw arni, yn cwympo ac yn trengu gyda hi.

Y mae dau anfeidroldeb yn agor o flaen dyn wrth chwilio natur—anfeidroldeb o fychandra, neu agosrwydd, ac anfeidroldeb o bellder. Y mae yn ceisio chwilio allan wirioneddau y naill trwy y chwyddwydr (*microscope*), a'r llall trwy yr yspienddrych (*telescope*), ac y mae yn methu taro wrth derfynau yn y naill gyfeiriad na'r llall. Wrth droi y chwyddwydr at y ddalen werddlas, gwelir fod hono yn un chwareufa o fywyd drosti—crëaduriaid o bob math, y rhai ydynt yn byw ac yn preswylio arni. Y ddalen yw eu byd hwy, a gwelir hwy yn myned yn llai, lai, nes y deallir fod yr offeryn yn rhy wan i'w dangos oll. Wrth droi yr un offeryn eilwaith at ddyferyn o ddwfr, ceir ei fod mor fyw â thwmpath o forgrug, yn llawn crëaduriaid, fychain a mawrion, a phob crëadur â holl ranau ei gorff yn berffaith a chyflawn, ac yn cael ei lywodraethu gan ddeddfau penodol, yr un fath â'r ceffyl neu yr elephant, neu grëadur sydd fwy. Ac y mae yn hawdd deall fod yr offeryn yn rhy wan i ddadguddio ond ychydig o'r rhyfeddodau cynnwysedig yn y dyferyn dwfr. Fel hyn, y mae anfeidroldeb yn ymyl dyn nas gall byth, gyda holl ddyfeisiau ei feddwl galluog, gael allan ei holl ddirgeledigaethau.

Ar y llaw arall, y mae ëangder diderfyn crëadigaeth Duw yn ymagor o'i gwmpas, yr hwn, po bellaf y treiddia iddo, pellaf oll y mae ei derfynau yn

cilio. Medr ganfod pellder o filiynau o filldiroedd â'i lygad noeth; a thrwy gymhorth ei yspienddrych gall fwyhâu y pellder hwnw yn aruthrol, ac nid oes argoel am derfyn wed'yn. I gael rhyw ddrychfeddwl am ëangder anfeidrol y grëadigaeth, cymerwn y darllenydd am wibdaith frysiog ar draws y gyfundrefn heulog. Gadawer fod yr holl blanedau yn sefyll ar eu cylchoedd mewn llinell union, fel hyn,—

| O | ⊕ | ⊕ | ⊕ | ⊕ | ⊕ | ⊕ | ⊕ | ⊕ |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Haul. | Mer. | Gwen. | Y Ddaear. | Maw. | Iau. | Sadwrn. | Uranus. | Neptune. |

a'n bod ninnau yn cychwyn ein taith o'r haul, ac yn teithio gyda'r cyflymdra melltenol o fil o filldiroedd y fynyd, heb orphwys moment na dydd na nos. Cymerai i ni bum diwrnod ar hugain i fyned o'r haul i Mercher, yr hon yw yr agosaf at yr haul, a'r leiaf o'r hen blanedau, ag sydd yn cyflawni ei chylchdro o gwmpas yr haul mewn tua 88 o ddiwrnodau. Un fer yw ei blwyddyn hi. Cymerai dros ddau ddiwrnod ar hugain i fyned o Mercher i Gwener, yr hon sydd agos o'r un maintioli â'r ddaear, ac yn cyflawni ei chylch o gwmpas yr haul mewn oddeutu dau gant a phump ar hugain o ddiwrnodau. Pedwar diwrnod ar bymtheg fyddem yn myned o Gwener i'r Ddaear; ac yr ydym yn ddigon cyfarwydd â'i maint a hŷd ei blwyddyn hi. I fyned o'r Ddaear i Mawrth, yn ol y cyflymdra a nodwyd, cymerai bum' wythnos a dau ddiwrnod. Hŷd blwyddyn hon yw chwe' chant triugain a saith o ddyddiau. I fyned o Mawrth i Iau, y fwyaf o'r holl blanedau, treuliem tuag wyth mis a phythefnos. Y mae tryfesur Iau yn bedwar ugain a deg o filoedd o filldiroedd. Y mae ganddi bedair o leuadau, ac y mae yn cyflawni ei chylchdro o gwmpas yr haul mewn oddeutu deuddeng mlynedd. I fyned o Iau i Sadwrn, yr ogoneddusaf o'r holl blanédau, cymerai i ni ddeng mis. Y mae Sadwrn yn fawr arswydus, ond yn llai nag Iau, ac yn gwneyd ei chylch oddeutu yr haul mewn tua naw mlynedd ar hugain a hanner. Y nesaf o'r planedau ar ein llwybr yw Uranus. Galwyd hi unwaith yn Georgium Sidus, o barch i George y Trydydd. Ond wedi iddo farw, collwyd y parch iddo, a galwyd hi, gyda mwy o briodoldeb, yn Herschell, o barch i enw y gŵr enwog a'i darganfyddodd. Ond daeth yr un dynghed i'w ran yntau ag i ran Siors wedi iddo farw: galwyd y blaned ar enw duw dychymygol. I fyned o Sadwrn i hon cymerai i ni tua blwyddyn a deng mis. Ac y mae un flwydd iddi yn fwy na phedwar ugain a phedair o'n blynyddau ni. Y mae yn teithio hefyd yn arafach na'r un o'r planedau a enwyd. I fyned o Uranus i Neptune, y bellaf o'r holl blanedau sydd eto wedi ei darganfod, treuliem ddwy flynedd, tri mis, pythefnos, a thros bum' niwrnod! Y mae digon o faint yn hon i wneyd cant a phump ar hugain o fydoedd, a phob un o honynt gymaint â'r ddaear hon. Y mae ei chylchdro yn ddeunaw mil o filiynau o filldiroedd, ac y mae yn treulio cant a thriugain a phedair o flynyddau i'w gyflawni—dyna hŷd ei blwyddyn hi. Ac os yw y trigolion sydd yn byw arni yn cael triugain a deg o'r cyfryw flynyddau o oes i fyw, onid ydynt yn hirhoedlog? Yr ydym yn awr ar derfyn y gyfundrefn heulog, wedi gadael yr haul dair mil o filiynau o filldiroedd o'n hôl; a chymerai tua phum mlynedd a deng mis, wrth y cyflymdra y buom yn teithio yn barod, i ddychwelyd i'r haul. A phe dychwelem gyda chyflymdra goleuni, yr hwn sydd yn teithio ddeuddeng miliwn o filldiroedd bob mynyd, byddem dros bedair awr. Sefwch i fyny ar gefn y blaned fawr bellenig hon, ac edrychwch yn ol; y mae y planedau wedi myned o'r golwg i gyd oddieithr Uranus, ac

nid yw yr haul yn ymddangos ond fel seren fawr. Ond wrth godi ein penau ac edrych o gwmpas, gallwn rifo tua mil o sêr sefydlog yn ein golwg o hyd; a phe cymerem yr yspienddrych i chwilio y ffurfafen, gallem weled pedwar ugain miliwn o'r sêr yma, y rhai ydynt oll yn heuliau mawrion, a chyfundrefnau ëang yn troi o amgylch pob un, ac yn derbyn eu goleuni, eu gwres, a'u bywyd, o honynt.

Os yw eich meddwl yn ymdeimlo â gwibdaith bellach, y mae y ffordd yn agored eto. Y seren sefydlog nesaf atom yw Sirius. Y mae hi fyth o'n blaen, yn ymddangos tua'r un maintioli ag oddiar y ddaear, yn ysmician ei llygad llon, ac fel yn dywedyd nad ydym eto ond yn brin wedi cychwyn y daith ati hi. Dywedasom fod yn rhaid i'r goleuni, yr hwn sydd yn teithio gyda'r cyflymdra anamgyffredadwy o ddeuddeng miliwn o filldiroedd y fynyd, gael pedair awr i deithio o'r haul i Neptune; ond rhaid i'r goleuni ei hun gael llawn deng mlynedd o amser i fyned o'r haul i Sirius! Eto gall y meddwl deithio mewn moment i bellder y treulia goleuni ddeng mlynedd i'w deithio. Cymered y meddwl ei aden trwy y gwagle aruthrol, a disgyned ar gefn Sirius. Codwch eich pen, ac edrychwch o'ch cwmpas, ac yn y fan byddwch mewn profedigaeth i feddwl mai ar ddrws eich bwthyn ar y ddaear yr ydych. Dacw y "Twr Sêr," a'r Seren Ogleddol, a'r "Aradr Gymreig"—y saith seren—yn ei chylchynu; a dacw Orion, neu yr Heiddel Fawr, yn cadw ei ffurf a'i sefyllfa fel arfer. Ymaith â chwi eto ar aden goleuni, ar linell union, am ddeng mlynedd, hyd nes y deloch o hyd i seren sefydlog arall, yr hon sydd mor bell oddiwrth y gyntaf ag yw y gyntaf oddiwrth yr haul. Y mae hono i'w chael, ac i'w chanfod â llygad noeth oddiar y ddaear. Rhifodd Syr William Herschell, trwy gymhorth ei *delescope* mawr, bum' cant o'r rhai hyn, yn gorwedd yn llinell union, y naill o hyd y tu cefn i'r llall, a phob un mor bell oddiwrth y llall ag y cymerai goleuni ddeng mlynedd i'w deithio; a chymaint o bellder rhwng yr haul a'r bellaf o honynt, ag y rhaid i oleuni gael pum' mil o flynyddau i'w deithio. Sefwch eto, ar y bellaf oll o honynt: nid gwiw symio y milldiroedd, oblegid nid oes un meddwl yn abl amgyffred y pellder; ac eto, nid ydych ond ar drothwy crëadigaeth y Duw Mawr. Edrychwch ar eich dehau, ac ar eich aswy, yn ol ac ymlaen, y mae y nefoedd yn ymgodi ac yn ymledu yn ddiderfyn; planed y tu cefn i blaned, byd ar ol byd, cyfundrefn ar ol cyfundrefn, yn ddiddiwedd, a

"Heuliau fyrdd fyrddiynau 'n fflamio,
Ac yn tywallt gwrês a dydd
Ar filiynau maith o fydoedd
Yn grogedig ynddynt sydd,"

A llais y Duw Mawr yn y dystawrwydd brawychus yn dywedyd, "Onid fy llaw i a wnaeth hyn oll?" Ië, "dyma ranau ei ffyrdd ef! ac mor ychydig a wyddom ni am dano!" Yma y teimlwn briodoldeb y gorchymyn,—"Cofia fawrhâu ei waith Ef;" ac yma y gwelwn ychydig o ystyr y frawddeg hono, "Uwch na'r nefoedd ydyw, beth a wyddost ti?" Yr ydym ni wedi gwybod digon, beth bynag, i ddywedyd geiriau Dafydd, "Pan edrychwyf ar dy nefoedd, gwaith dy fysedd, y lloer, a'r sêr, y rhai a ordeiniaist, pa beth yw dyn i ti i feddwl am dano?"

"Beth yw 'r ddaear, dim ond llwchyn—
Llai na dim yw dyn a'i fri;
Eto, rywfodd, dyn a daear,
Demtia i lawr dy sylw Di."

Y mae dyn mewn dyled hen a dofn i natur, fel ei athraw. Y mae yn fwy rhwymedig iddi am ei addysg, ei wybodaeth, a'i gyfleusderau, nag y gall yn hawdd gredu. Y mae ei gysylltiad agos â natur, a'i gyfrinach gyson â hi er cychwyniad ei fodolaeth, yn peri ei fod yn derbyn llawer syniad oddiwrthi, a hyfforddiad ganddi, yn anymwybodol. Ar ei mynwes hi y magwyd ef, ac fe yfodd lawer o'i gwersi gyda llaeth ei fam. Ar hyd ei thwmpathau hi, yn nghymdeithas y glaswellt a'r blodau, trwy y coedydd amrywiol, ar hyd glànau y nentydd clebrog, a than sibrydiad awgrymiadol yr awelon, y bu yn treulio ei ddyddiau plentynaidd, pryd yr oedd ei feddwl ieuanc yn y cyfnod goreu i dderbyn hadau gwybodaeth i mewn iddo, a'i galon dyner ieuanc newn tymher i dderbyn argraff ddofn ac arosol oddiwrth bob dylanwad a ddelai i gyffyrddiad â hi.

Natur yw mam celfyddyd a gwyddoniaeth y byd. Y gorchestion mwyaf y mae dynion wedi eu cyflawni yn y ffordd hon yw darganfod deddfau natur, a'u troi at wasanaeth dyn. "Nid yw yr athronydd," meddai Chalmers, "yn crëu dim, ond yn unig dwyn i'r golwg yr hyn sydd eisoes wedi ei grëu." Y mae chwilio allan a deall deddfau natur, fel chwilio allan egwyddorion a gwirioneddau y Bibl, yn foddion difyrwch, addysg, a dysgyblaeth, i ddyn. Ysgol i'r meddwl yw natur, lle y dysgir ef trwy arwyddluniau a chyfatebiaeth. Ac fe allai nad oes un gwirionedd yn perthyn i ddyn ei wybod, nad yw natur yn cynnwys eglurhâd neu eilun o hono. Y mae dyn i'w chwilio allan a'u deall, a thrwy hyny ddwyn oddiamgylch ddysgyblaeth ei feddwl a'i galon. "Anrhydedd Duw yw dirgelu peth," meddai Solomon, "ond anrhydedd brenin [a deiliad hefyd] yw chwilio peth allan." Y mae ein Crëawdwr wedi cuddio gwybodaeth, fel yr aur a'r perlau, o'n golwg, er mwyn y fantais y mae y meddwl yn ei gael wrth ei chwilio allan. Y mae wedi gwneyd yr un fath âg ef ei hun, o ran hyny. "Ti ydwyt Dduw yn ymguddio;" ac y mae yn ymguddio "fel y ceisient yr Arglwydd, os gallent ymbalfalu am dano ef a'i gael." Canfyddiad yr elfenau a'r egwyddorion sydd ar waith yn mheiriannwaith mawr natur, ennill meistrolaeth arnynt, gallu eu cysylltu a'u dadgysylltu,—dyna yw gwyddoniaeth a chelfyddyd y byd. Meddyliwch, er enghraifft, fod Adda a'i fab yn sefyll ar làn un o afonydd Eden, a hono yn filldir neu ddwy o led; ac wrth edrych drosti, mae y bachgen yn gofyn,—

"Sut le sydd yr ochr arall i'r afon, nhad? A oes crëaduriaid yno, a choedydd ffrwythlawn, fel sydd yma?"

"Wn i ddim, wir, fachgen," meddai'r tad, "ac nid oes fawr argoel y deuwn i wybod byth ychwaith."

"Pam?"

"Pam?—pa fodd y gallwn ni groesi yr afon," atebai'r tad.

"O! dyna bren mawr, nhad, sydd yn dyfod i lawr gyda'r afon, a welwch chwi ef?"

"Gwelaf."

"Wel, sut mae'r dŵr yn cario y pren fel yna ar y wyneb? pam na suddai i'r gwaelod?"

"O! y mae yna ryw wahaniaeth yn nghyfansoddiad y pren sydd yn rhoi cyfrif am hyny."

"Ond oni chariai y dwfr ddim un o honom ni fel yna?"

"Na, choelia i fawr. Ni charwn wneyd y prawf."

"Dewch i lawr at y dwfr i gael gweled, nhad." Myned at y dwfr, a'r

bachgen yn pwyso â'i law ar wyneb y dwfr, ond yn pallu a dal ei phwysau. Yn treio ei droed arni wed'yn, ond suddo yr ydoedd. "Aroswch i weled a ddeil ef y cèryg mân yma." Rhoi y cèryg ar ei gefn, ond suddent bob un. "Dewch i ni gael llusgo pren mawr i lawr yma, nhad, i gael gweled sut mae y dwfr ac yntau yn ymdaro." Dyfod â choeden fawr at y lân, a'i rhoi ar y dwfr. Yr oedd hono yn nofio, ac nid elai i'r gwaelod er pob ymdrech i'w suddo. "Edrychwch, nhad," gwaeddai'r llanc meddylgar, "y mae y dwfr yn cario y cèryg, ond eu rhoi ar gefn y pren!" a gosodai res o gèryg mân ar hyd y pren, tra yr oedd y tad yn syllu ar y dyfroedd gloewon ac araf. "Nhad," ebai y llanc ymhen tipyn, "cydiwch yn fy nwylaw i, ac mi a äf fi ar fy nhraed ar y pren, i weled a ddeil y dwfr fi ar gefn y pren." Aeth arno a'i dad yn ei gynnal gerfydd ei ddwylaw. "Pe buasai y pren yn llydan a gwastad, gallaswn sefyll arno yn ddiberygl heb neb yn fy nghynnal."

"Ië," ebai'r tad, "a phe buasai ffiled o'i gwmpas, ni fuasai y dwfr yn dyfod at dy draed." Dyna natur yn llefaru, dyn yn dysgu, a darganfyddiad syml ond gwerthfawr iawn wedi ei gael. Dyna y *bâd* wedi ei ddysgu i ddyn gan natur. Ond pa fodd y croesant yr afon?

"Nid ydym fawr nês eto i groesi yr afon, fachgen," meddai y tad. "Waith pe anturiem ar gefn hwn i afael llifeiriant yr afon, dygai ni ymaith gyda hi i'r cefnfôr, ac ni welid yr ailolwg arnom." Edrychai y bachgen yn fud a myfyrgar. "Dyna bysgodyn mawr!" ebai'r tad, "a weli di ef? Mor hawdd ac mor brydferth y mae yn nofio! Ac y mae ef yn myned yn erbyn y dwfr hefyd."

"Pa fodd y mae yn gallu, nhad?"

"Rhwyfo gyda'i esgyll a'i gynffon y mae. Dacw'r hwyaid hefyd, fân draw, yn nofio yn gyflym yn erbyn y dwfr wrth yr un egwyddor, ond mai eu traed ydyw eu rhwyfau hwy."

"Garw na buasai esgyll, neu gynffon, neu draed, neu rywbeth, gan y bâd yma, iddo yntau gael rhwyfo ar draws yr afon," dywedai y bachgen.

"Ië, ond nid oes bywyd gan y bâd i'w chwareu pe byddent."

Wedi myfyrio ychydig, dywedodd y tad eilwaith,—"Gallem wneyd asgell bren bob ochr i'r bâd, yn debyg i eiddo y pysgodyn, a ninnau sefyll arno i'w chwareu." Dyna wers eto: ysgogiad y pysgodyn a'r hwyad wedi rhoddi y drychfeddwl am rwyf i ddyn. A dyma yr unig ffordd fu gan y byd am filoedd o flynyddoedd i gludo badau a llongau o un lle i'r llall.

Ryw ddiwrnod, yn hir ar ol hyn, pan oedd y cadben yn ymroi i geisio cael llong i mewn i'r porthladd, a'r dwylaw yn rhwyfo yn galed yn erbyn y gwynt a'r llanw, ac yn methu gwneyd ffordd, edrychai y cadben o gwmpas, a gwelai haid o eleirch yn dyfod allan i'w gyfarfod, gan nofio mor ysgafn, a'u hesgyll wedi eu codi fel *umbrella,* fel y byddant hwy yn arfer, i ddal yr awel; a thrwy gymhorth yr awel yr oeddent yn nofio gyda chyflymdra digyffelyb. Rhoddai y cadben ochenaid, a dywedai, "O na bai esgyll gan y llong yma hefyd, i ddal tipyn o nerth yr awel, i hwyluso ei hynt, ac i arbed peth ar y llafur." Dyma wers eto wedi ei rhoddi gan natur; ac erbyn y fordaith nesaf, yr oedd yr hwyliau gwŷnion llydain wrth y llong, a hithau fel môraderyn mawr yn ehedeg, braidd, o ynys i ynys, ac o gyfandir i gyfandir. Nid ydym yn dyweyd mai fel hyn y cafwyd allan

y dyfeisiau a nodwyd, ond yr ydym yn sicr mai trwy sylwi ar natur yn ei gweithrediadau, yn y naill neu y llall o'i lliaws enghreifftiau, y cawd allan yr holl ddyfeisiau yma. Natur sydd yn rhoi holl egwyddorion gwyddoniaeth a chelfyddyd yn llaw dyn.

Dyfais ogoneddus o eiddo dyn yw yr yspienddrych, yr hwn sydd wedi bod o gymaint gwasanaeth iddo i hyrwyddo ei ymchwiliadau, ac i ddeall deddfau crëadigaeth Duw. Nid oes un grëadigaeth yn yr yspienddrych, dim ond darganfyddiad. Dynwarediad natur ydyw. Y mae ei egwyddor, gyda manylwch, a gogoniant annhraethol fwy, yn y llygad sydd yn edrych trwyddo. Wrth astudio cyfansoddiad a ffurf y llygad, a'r modd y mae pelydrau goleuni yn cydgyfarfod ynddo i ffurfio y gwrthddrychau sydd o'i flaen, y cafwyd y drychfeddwl cyntaf am y *telescope*. (Yr un hefyd yw egwyddor dyfais y "spectol," yr hon sydd yn fendith mor anmhrisiadwy i'r hen i ddarllen eu Biblau.) Pan y mae dyn yn rhoi yr yspienddrych—y spectol fawr hon—ar ei lygad, y mae ei lygad fel llygad angel, ac y mae yn gweled i bellderau anfesurol ac anamgyffredadwy. Trowch eich golwg unwaith eto at y seren sefydlog Sirius y buom yn son am dani, yr hon sydd mor bell oddiwrthym ag y treuliai goleuni, gyda'r cyflymdra o ddeuddeg miliwn o filldiroedd yr awr, ddeng mlynedd i deithio hyd ati. Pe byddai i hono adael ei lle, a rhedeg ymaith ar linell union gyda chyflymdra y goleuni, ni chollem ein golwg arni am dros gan' mlynedd â'r llygad noeth. Pan fyddoch yn colli eich golwg arni â'r llygad noeth, trowch lygad yspienddrych mawr Arglwydd Rosse ati, yr hwn y mae ei bib yn un ar bymtheg a deugain o droedfeddi o hyd, a chwech troedfedd o dryfesur. Cyfeiriwch hwn at Sirius yn ei fföedigaeth, a cheidw hi yn ngolwg yr edrychydd am dros dair miliwn o flynyddau! A'r llygad bychan hwn yw y ffynnonell lle mae egwyddor wreiddiol y *telescope* yn cartefu.

Un o'r darganfyddiadau diweddaraf a phwysicaf yw y trydan, yr hwn sydd yn y *telegraph* yn cludo meddyliau a negeseuon dyn o gyfandir i gyfandir, gyda chyflymdra y fellten ei hun, a'r hwn sydd wedi gwneyd dyn bron yn hollbresennol a hollwybodol, mor bell ag y mae helyntion y blaned hon yn cyrhaedd. Y mae yn cael ei osod yn awr rhwng Prydain ac America, a bydd y ddwy wlad bell wed'yn fel y ddau ddrws nesaf. Fel y dywedodd rhywun yn ddiweddar,—byddant yn gwybod pris y farchnad yn Liverpool yn New York, nid yn unig ar y diwrnod, ac ar yr awr, ond tua phedair awr cyn y cymer y farchnad le! Ond yr oedd y gallu yma mewn natur erioed, ac yn gweithio hefyd, ac y mae yn sŷn iawn na buasai dyn wedi ei weled a'i ddeall yn gynt. Byddai yn gwneyd llawer ystranc yn aml i geisio tynu sylw dyn ato: y fellten lawer tro yn rhoi cernod iddo, a'r crëaduriaid trydanol yn ei ysgwyd nes byddai yn hanner marw; a'r dyn yn cilio ymaith mewn dychryn, yn lle deall yr awgrym a dysgu y wers. Dyn ei hunan yw y cynllun perffeithiaf o *electrifying machine*. Y botel sydd yn cadw yr hylif yw yr ymenydd, ac y mae digon o hono bob amser. Gewynau y cyfansoddiad yw y gwifrau, a dywedir fod yma ddau bâr o ewynau, yn gwneyd i fyny y *positive* a'r *negative*. Y mae dyn yn eithaf *model* o *electric telegraph* hefyd. Y mae pob teimladau trwy yr aelodau yn cael eu trosglwyddo ar unwaith i'r brif swyddfa, y galon. A phe bai y fraich hon yn filldir o hyd, yn lle llathen, ni byddai y teimlad un gronyn hwy cyn cyrhaedd. Felly y mae *electrifying machine*, ac *electric telegraph*, yn hen ddyfeisiau gan Dduw, mewn natur. Ond yn ddiweddar y

gwelodd, y deallodd, ac y trôdd dyn y gallu hwn at ei wasanaeth ei hun. Darganfyddiadau ac nid crëadigaethau yw y cyfan. A chyda golwg ar hyn y gellir dywedyd, "Nid oes dim newydd dan haul; pob peth a fydd a fu, ac nid oes dim y gellir dywedyd am dano, edrych ar hwn, dyma beth newydd."

Ond y mae amcan arall ac uwch gan natur tuag at ddyn: nid yn unig cynnwys cronfa o elfenau iddo i'w chwilio a'u deall, ond llenwi y meddwl â drychfeddyliau am y Duw a'i gwnaeth, a'i arwain ato. Y mae y naturiol yn gysgod o'r ysbrydol. "Yr un fath ag oedd yr Hen Destament yn oruchwyliaeth o gysgodau yn cysgodi y Newydd, ac yn darparu ar ei chyfer, felly y mae y bellen ddaearol yma, a'r bydoedd wybrenol o'i chwmpas, yn oruchwyliaeth o gysgodau yn cysgodi y byd tragywyddol, ac yn darparu ar ei gyfer." Wedi i gysgodau yr hen oruchwyliaeth arwain golwg y byd at oruchwyliaeth ysbrydol cyfryngdod Crist, ciliodd o'r neilldu, gan adael y dyn i edrych "ar Iesu yn unig." Amcan uchaf natur yw cyflawni gwasanaeth tebyg tuag at ddyn—arwain y meddwl at Dduw, a throi o'r neilldu, a gadael yr enaid a Duw gyda'u gilydd. Yr un fath ag oedd mynydd yr Alp yn diflanu o flaen llygaid y bardd enwog Coleridge;—

"O fynydd brawychus a dystaw! 'r wyf wedi syllu arnat,
Nes wyt, er yn bresennol i'm synwyrau corfforol,
Wedi diflanu o'm meddwl, a minnau wedi ymgolli
Mewn gweddi, yn addoli yr anweledig yn unig."

A thebyg mai mewn amgylchiad cyffelyb oedd hen fardd Pantycelyn, yn nghanol swynion a rhyfeddodau natur, a'r rheiny wedi ei arwain gam pellach, nes taro wrth Dduw trwyddynt, ac yna, mewn moment, y mae yn gorchymyn i natur gilio o'r neilldu,—

"Ymneillduwch bethau 'r ddaear,
Pethau natur, pethau 'r byd;
'Rwy 'n dymuno peidio gwrando
Ar eich holl ddeniadau 'nghyd;
Unig Un, uwch na dyn,
Mae fy enaid wrtho 'nglŷn."

Ac os yw y grëadigaeth mor fawr, beth am y Crëawdwr? Os yw gweithredoedd ei ddwylaw yn galw arnoch i'w mawrygu, onid yw y Duw a'i gwnaeth yn deilwng i'w addoli?

Y mae ein hysgrif wedi ei chymeryd i fyny ac yn myned yn o faith gyda natur, heb son dim am y Bibl ar ei ben ei hun. Y mae yn wir fod y fath gysylltiad rhyngddynt, fel yr awgrymwyd eisoes, fel nas gallwn ymdrin nemawr â'r naill heb gymhorth y llall. Y mae y Bibl wedi gwneyd cymaint o ddefnydd o natur, ac wedi taflu cymaint o oleuni arni, fel nad allwn bellach edrych ar natur ond yn ngoleuni y Bibl, na deall y Bibl ond trwy wasanaeth natur.

Er nad yw y Bibl ond cyfrol fechan y gellwch ei chario yn eich llogell, eto y mae ei gynnwys yn fawr, ei faesydd yn llydain, ei olygfëydd yn amrywiol, a'i ogoniant "fel y môr yn chwyddo byth i'r lân." Y mae y meddyliau galluocaf a fuont erioed yn preswylio mewn cnawd wedi bod yn treiddio i'w ryfeddodau, yn tremio i mewn trwyddo i diriogaethau llywodraeth foesol y Duw Mawr, i syllu ar ddadblygiad cyfiawnder, doethineb, a daioni, nes colli eu hunain mewn arswyd addoliadol.

Os yw dyn dan ddyled fawr i natur, y mae dan ddyled fwy i'r Bibl. Nid arferem ormodiaeth wrth ddyweyd nad oes dim wedi dwyn cymaint o fendithion i'r byd erioed, yn naturiol, moesol, a chrefyddol, â'r gyfrol hon. O lyfrau Moses, yn ol tystiolaeth y dynion cymhwysaf i farnu, y mae holl benaethiaid y byd wedi cael egwyddorion eu cyfreithiau gwladol. Y mae gwareiddiad y byd yn fwy dyledus i'r Bibl nag i bobpeth arall gyda'u gilydd. Dyma brif ysgogydd gwelliant moesol a chymdeithasol plant dynion. Edrycher ar gysylltiadau gŵr a gwraig, rhieni a phlant, meistriaid a gweision, brenin a deiliaid, y mae trefn a chysur y cysylltiadau yma yn gynnyrch addysgiadau y Bibl. Dyma brif ffynnonell llênyddiaeth werthfawr y byd. Nid duwinyddiaeth yn unig, ond barddoniaeth a llênyddiaeth gyffredinol. Y mae llawer awdwr nad oedd yn proffesu llawer o barch i'r Bibl wedi myned yn ddwfn i'w ddyled. Pe cymerid pobpeth y Bibl o weithiau Shakspeare, Scott, Southey, a Byron, byddai y darnau goreu a gyfansoddasant erioed wedi eu hanafu.*

Golygfëydd o'r Bibl yw testunau yr arluniau goreu a ddaethant erioed o dan law arlunydd: "Moses yn ei gawell," "Y Baban sanctaidd," "Y swper diweddaf," a'r cyffelyb. Y mae hyn yn gydnabyddiaeth uchel o ragoriaethau y Bibl. Yr oedd Syr W. Jones, tywysog dysgawdwyr ei oes, wedi ysgrifenu ar ddalen wèn yn ei Fibl, "Yr wyf wedi darllen yr Ysgrythyrau sanctaidd gyda chysondeb a manylwch, ac yr wyf yn credu fod y gyfrol hon, yn annibynol ar ei tharddiad Dwyfol, yn cynnwys mwy o symlrwydd a phrydferthwch, moesoldeb mwy pur, hanesiaeth mwy pwysig, barddoniaeth mwy rhagorol, nag a ellir eu casglu o bob llyfrau eraill, ymha oes neu iaith bynag yr ysgrifenwyd hwynt." Ac heblaw hyn oll, dyma ddiwygiwr mawr y byd; dyma yr egwyddorion sydd i unioni dyryswch a gwyrni plant dynion, a dwyn oddiamgylch adferiad pob peth.

Nid oes ond ychydig o ëangder a gogoniant cynnwysiad y Bibl eto wedi eu gweled gan y byd. Nid yw yr astudiwr dyfnaf iddo, a'r mawrygwr mwyaf arno, ond yn brin wedi cael golwg ar ei gynteddoedd nesaf allan. Cynnyrch meddwl yr Anfeidrol ydyw. Llyfr sydd yn gwneyd grisiau o natur ydyw, i esgyn ar hyd-ddynt at y Duw a'i gwnaeth. Ei byncian goruchel ydynt Duwdod a'i gynghor, dyn a'i dynghed, nefoedd ac uffern; a bywyd y pynciau yma oll yw "Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio." Ië, lle mae natur yn sefyll, mae y Bibl yn myned ymlaen. Lle mae natur yn tewi, mae y Bibl yn llefaru. Ychydig o gysur a fedr pechadur sugno oddiwrth natur yn unig. Y mae holl leisiau crëadigaeth yn felus a hyfryd i *ddyn*, ond y maent yn frawychus i *bechadur*. Y mae dychryn i fynwes euog yn y fellten, mae bygythiad yn y daran, mae gwg wedi ei argraffu ar y cwmwl du; y mae y mynydd mawr aruthrol, y clogwyn ysgythrog, y corwynt rhuadwy, y tònau cynddeiriog a'r rhyferthwy—y mae y cyfan yn llefaru drwg i'r meddwl, yn unig oblegid fod drwg *yn* y meddwl. Pan y mae y barnwr yn dyfod i mewn i'r dref, mae y plant yn rhedeg, a'r trigolion yn dyfod i'r drysau, i wrando a mwynhâu cerddoriaeth hyfryd y *band* sydd yn chwareu i'w roesawi i mewn; ond y mae yr un gerddoriaeth yn gwneyd i galonau preswylwyr y carchar grynu. Y mae miwsig natur yn llawn dychryn i galon euog ac ofnus pechadur. Er mor fawreddog yw natur, er mor lliosog ei bydoedd, er mor ëang ei therfynau, ac

* Darllener Breuddwyd Henry Rogers yn yr *Eclipse of Faith*.

er i'r meddwl allu gwibio trwy ei hëangderau o blaned i blaned, ac o fyd i fyd, mesur eu cylchdröadau a deall eu deddfau, ïe, sefyll ar gefn un o'r heuliau mwyaf, a bloeddio,—

"Rwy 'n arglwydd ar welaf i gyd,
'D oes neb a all ammheu fy hawl;"

eto, i feddwl euog, "tir tywyllwch fel y fagddu" yw y cyfan. Gall ofyn eilwaith, gyda chalon drom, enaid dychrynedig, a gruddiau gwlybion, "Pwy a ddengys i mi ddaioni!" "Pa fodd y cyfiawnheir dyn gyda Duw?" "Pa fodd y bydd yr hwn a aned o wraig yn lân?" Nid oes un ateb yn dychwelyd o blaned, na seren, na haul; dim ond adsain yr ateb yn taro yr enaid yn ol, "Pwy!" Ond tröed ei olwg i'r Bibl—dyma atebiad i'w gwestiynau. Llythyr ydyw a ddygodd trugaredd yn ei llaw o fynwes Duw, ac y mae yn ei estyn i'r truan ar ddarfod am dano, gan ddywedyd, "Darllen, cred, a bydd fyw."

Os yw natur yn dangos sgil peiriannwaith a deddfau yn ei chyfansoddiad, y mae y Bibl yn dangos hyny mewn cylch uwch yn nhrefn prynedigaeth dyn. Os yw natur yn egluro gogoniant perffeithiau y Crëawdwr, y mae y Bibl yn eu hegluro yn fwy. Yma y mae ei holl *garacter* gogoneddus yn dysgleirio dan belydrau "rhagorol olud ei ras." Yma y mae goleuni gwybodaeth gogoniant Duw yn ymagor fwy fwy; yma y mae gweledigaeth fawr yr ymgnawdoliad yn cael ei harddangos—tragywyddol Fab Duw yn suddo i angeu dan gronfa pechodau y byd. Os yw natur yn agor o'n blaen *universe* yn llawn o weithredoedd dwylaw Duw, y mae y Bibl yn agor o'n blaen *universe* o gariad cyfled â Duwdod, nad oes un angel na seraph a fedr chwilio allan ei derfynau, na mesur y llêd, na'r hŷd, na'r uchder, na'r dyfnder; oblegid "Duw cariad yw." Nid rhyfedd i hen gristion anfarwol Pantycelyn yn yr olwg ar hyn droi ei gefn ar natur, a dywedyd,—

"O fydoedd mawr anfeidrol sy 'n rholian 'r hyd y ne',
Rhyfeddais eich maintioli, a'ch gwaith yn cadw 'ch lle;
Ond darfod 'r wyf a synu, yr wyf yn synu mwy
Wrth weled eich Crëawdwr yn dyoddef marwol glwy.

"Ti awyr, gwaith ei ddwylaw, sy 'n plygu d' ochrau i lawr,
Yn estyn dy ymyloedd i ryw bellderau mawr,
Dwg y newyddion allan i'r bydoedd sy 'n dy groth,
Mai 'r Iesu yw 'th Grëawdwr, fod e'n Grëawdwr doeth.

"Dwêd wrth yr haul ac Orion, a'r Tewdws mân i gyd,
Dwêd, Hwn fu yn y preseb, lawr yma yn y byd.

"Rho waedd trwy droion Saturn, dwêd wrth yr Heiddel fawr,
Pan fry ar furiau 'r dehau, am edrych tua 'r llawr;
A meddwl mai 'r Hwn anwyd, fu farw ar y pren,
A'u rhoddodd yn eu troion i gerdded yn y nen."

Ac os cyduni, ddarllenydd hoff, anadlwn ninnau ein cyffes, ein penderfyniad, a'n mawl iddo, mewn pennill arall,—

"Fy Nuw, uwchlaw fy neall yw gwaith dy ddwylaw gyd,
Rhyfeddod annherfynol sydd ynddynt oll ynghyd;
Wrth weled dy ddoethineb, dy allu mawr, a'th fri,
Mi *drusta* 'm iachawdwriaeth am byth i'th ddwylaw di."

# LLOFFION HENAFIAETHOL.

RHODDWYD yn y TRAETHODYDD flynyddoedd yn ol rai lloffion o henafiaethau, barddonol yn benaf, wedi eu casglu o'r hen gylchgyhoeddiadau Cymreig nad ydynt yn nwylaw ond ychydig iawn o'r genedlaeth bresennol o ddarllenwyr Cymru. Cymhellir ni eto i gyflwyno rhai "Lloffion Henafiaethol" yn awr ac eilwaith i'n darllenwyr; a dechreuwn y tro hwn gyda swrn a anfonodd cyfaill i ni o'r "Greal," cyhoeddedig yn 1805—7.

### BEDDARGRAFF MORGAN HERBERT, YN EGLWYS NEWYDD CWMYSTWYTH.

Pwy bynag ydwyt, ymdeithydd, aros ennyd fechan: os cynefin, er cariad; os dyeithr, er gwybodaeth.

Gweddillion Morgan Herbert, yn ddiweddar o Hafod Uchdryd, *Ysgwïer*, y rhai mewn gobaith dedwyddol adgyfodiad, a osodwyd dan y maen hwn, sydd i'th gymhell.

Efe a drefnodd ei fywyd, tra bu yn ein plith, yn gwbl addas o'i welygordd a'i enw; a thrwy ymarweddiad calon rwydd wir hoffaidd i'w wlad a'i gymydogion, a diwydrwydd rhagorol ymhob swydd o gymdeithas, a ennillodd iddo ei hun barch, ynghyd â chariad y wlad i'w enw hiroesog.

Nid ydyw, ac ni bu y traws hwnw â'i gorchfygodd, na'r truan a ddichon ddwyn cyfiawn achwyn er gogan i'w goffadwriaeth. Bu fyw, bu farw, fel gŵr cristionogol; ac er mwyn hyn, ei Dad nefol, o'i anfeidrol drugaredd, a roddes iddo amser cyfaddas i'w ddiddyfnu ei hun oddiwrth y byd hwn; a thrwy glefyd esmwyth ac ymddattodiad naturiol, a gymerodd ei ran oreu ato ei hun, ar y 23ain o Ionawr, ac yn y 53 flwyddyn o'i oedran, ac o oedran yr Arglwydd, 1687.

Dyma ran fèr o'i hanes: dilyn yr ensampl hwn i'r goreu o'th radd a'th alw; a bydd iach!

---

### ENGLYNION O WAITH MORGAN HERBERT, O HAFOD UCHDRYD, I'W FAB EDWARD, PAN OEDD AR FEDR MYNED GYDA MR. VYCHAN O GWM GWILI I HOLLAND; I'W GYNGHORI EF.

Fy mab, o myni fy môdd—i fyned
  O'r faenor a'th fagodd,
Clyw gynghor tad cariadfodd,
Wr hên, a chanlyn e 'n rhodd.

Y bore bydd di barod—i'th wiw-Dduw
  A'th weddi yn wastod,
Er dy arwain drwy 'r diwrnod,
Iawn lwybr Naf gloewaf glod,

A'th gadw 'n ddi lŵ, dda les—ac eilwaith
Rhag gelyn y rhodres;
Rhag pob drwg golwg gaules,
A llwyr yspeiliwr y llês.

Er lles na ollwng o'th llaw—dy gyfraid,
Digyfrif bod hebddaw;
Rheidus a fydd yn rhodiaw
Fel fleirgi fai 'n drewi draw.

Na fydd gwerylydd;—gwrolwr nid yw
Dyn a fo gwerylwr;
Clyw f' arch, na fydd anmharchwr
Na dyoddefydd, g'wilydd gŵr.

Ffarwel! bydd ffel ac ni ffaelia cènyd;
Rhag cynhen ymswyna:
Fe ddaw gwall ar y calla'—
It bid Amen, dyben da!

---

HANES YR YMRYSONGERDD RHWNG EDMWNT PRYS, ARCHDDIACON MEIRIONYDD, A WILLIAM CYNWAL, PRYDYDD AC ARWYDDFARDD.

Rhys Wyn, hen ŵr boneddig, a ddaeth efo William Cynwal at yr Archddiacon, lle yr oedd ef yn saethu deg ar hugain ei hun; ac wedi ei gyfarch, a ddywedodd fel hyn, "Pettai genyf fŵa digon gwan, er fy hyned i, ni chaech chwi mor saethu eich hunan." Yno dywedodd William fod ganddo fo fŵa a dynai Rys a'i fys bach a gyrhaeddai ddeg ar hugain. A Rhys a eiliodd ymadrodd wrtho, "Mi a baraf i'r gŵr yma wneuthur i chwi gywydd i'w ofyn, os rhowch chwi genad." Yno y rhoes ef genad, ond gadael iddo fo yru y destun i'w ofyn; oblegid rhodd oedd y bŵa iddo yntau gan Mr. William Clwch a ddaethai gydag ef o Antwerp. Ond ni welai Rys Wyn mo William yn gyru mo'r destun mewn amser; yna dymunodd ar yr Archddiacon ganu cywydd ar ei amcan; ac efe a ganodd. Ac ateb William drwy lythyr oedd, fod y bŵa yn menthyg gyda Mr. Thomas Prys, ac y ceid ef pan ddoäi adref; neu fe brynai y bŵa goreu a gaffai yn Nghaerlleon.

Wedi aros dwy flwydd a mwy wrth addewid William, fo ddaeth lle yr oedd yr Archddiacon, yr hwn a roes sen i'r prydydd, am na roai fo er cerdd fal y mynai gael er cerdd. Yno y gyrodd William gywydd a llythyr i ddangos ei achau ei hun, a bod yn arfer dwyn achau os gofynid dim; ac am i'r Archddiacon, meddai fo, *raelio* arno fo, pan gyfarfu ag ef, vo yrodd fwa cerdd i foddloni Rhys Wyn, ac esgus na cheid adref mo'r bwa i'w roi gan y Dr. Ellis.

Yno y gyrodd E. Prys ateb i'r cywydd a'r llythyr; a William a'i hatebodd yntau; a bu deuddeg cywydd o ateb a gwrthateb rhyngddynt. Yno y canodd E. Prys dri chywydd am un i William; ond William a ganodd iddo yntau dri chywydd am danynt. Yna yr Archddiacon a ganodd i

William naw am ei dri; ond yntau a ganodd naw am danynt. Yna y gyrodd yr Archddiacon y llythyr hwn at William:—

"Fy ngorchymyn atoch—Bid hysbys i chwi dderbyn o honof eich naw cywydd chwi, lle gwelaf eich naws a'ch cerdd yn myned waethwaeth; er hyny ni ddigiaf fi ddim; eithr nid oes yn fy mryd fod cyhyd yn gyru i chwi dri naw ag y buoch chwi yn potysu eich naw; oblegid mae fy nefnyddiau i wedi sychu er cyn fy ngeni, ac nid rhaid i mi ond egori llyfrau er cael digon o ddefnydd, hanes, a naws pob peth. Chwi a allasech feddwl am gerdd Dafydd ab Gwilym wrth Gruffydd Grug, mai haws cael saer na defnydd. Ni byddai fôst yn y byd i mi pei canwn ddeg am eich un chwi; ac am na ddowch i lle bwyf, rhaid i mi yru atoch i ddangos i chwi eich beïau; ac os oes un o'ch gradd a'u hamddiffyna, dangosed ei reswm. Dau ragor cyflwr yr ych chwi yn ei holi, bod yn Brydydd ac yn Arwyddfardd. Yn y ddau radd hyn rhaid i mi eich gostwng chwi. Am eich cerdd chwi, nid oes yr un o'r pymtheg bai na bo ynddi, a rhai yn fynych: *Nid adwaenost byr mewn daunod, yn ceisio 'nghywilyddio ynghaw*, yn eich 10fed cywydd. Yn ail, rhoi yr Iaith allan o'i thadogaeth: y gair *anodd* yn lle *anhawdd*, *dallt* yn lle *deall*, a llawer o eiriau o'r fath; er bod awdurdod i rai, nid yw camarfer yn warant i neb. Yn drydydd, drwgystyr, lle galwasoch fi yn *Baun* chwe gwaith—'Paun gloewsyth pen eglwyswr;' ac yn Ferddin yr hwn oedd gonsuriwr, a mab ordderch, a gelyn Crist, a mil o'r ystyriaeth anmherthynol. Yn bedwerydd, bai am y Beirdd, lle methodd genych ddwyn eu hachau, na'u lle, na'u hamser; ond canu mai ysbryd oedd dad i Ferddin; fe losged rhai am yr *opiniwn* hwn. Ceisio tywyllu onawdoliaeth Crist Iesu; os genid un arall o'r ysbryd, pa ragoriaeth fyddai i'n Prynwr? Hefyd am Dduw y canasoch yn eich pummed cywydd—

'Un Duw lân nid amcanodd
Unwaith fardd o ddyn o'th fodd,
Yn *ddoctor*, blaenor heb lai,
Cyn oes eich amcanasai,
Costio wrthyd ynfyd oedd'—

A llawer o gamddysgeidiaeth berygl i'r enaid a'r corff, ac i minnau, ond ateb i'ch gorchfygu. Yn bummed, camddeall: lle canwyf fi ffawd, sef tyciant, anffawd, annhyciant—'Cynwynol poeth ffawt,' meddwch chwi, fel petwn i yn bwrw bai ar eich cerdd. Eisieu gwybod o honoch beth sydd Saesoneg, beth sydd Gymraeg, yr ydych chwi yn canu Saesoneg—

'O bai at fael na *sparryt* fi'—
'Er *taring* hir i troi ynghyd,'—
'A phwyso yn iaith *ffasio* yn wych'—
'Yn ddi *wast* wedd,'—
'*Scorn* a chornio'—

Mae cant o'r fath yma yn eich cerdd. Yn chweched, twyll-gynghanedd—

'Yn ei amser *clander* clod.'

Mae yn yr odl yma ddau fai neu dri: un eisieu adnabod tadogaeth o *Galan;* ni thywysa hi yn y blaen; sef, *Calandr;* yn ail, a'i chanlyn hi yn y sain wrth ei threiglo o *Galan*, *calandr*, *calandrio*, nid *calanderau*.

'Yr awen o'r dechreuad.' 5 o 9. 9.

Blin! blin! Ond gwaeth na hyn i gyd yw y geiriau llanw, a'r clytiau anrhesymol, fel yn eich cywydd cyntaf i Rys Wyn—

'*Graens* iaith a garwn saethu.'

Beth yw *graens iaith?* ai llysiau siopau ai soeg? Ac yn yr un cywydd—

'Ni thynais o'n iaith unoed
Fwa cryf acw erioed.'

Beth yw *iaith unoed* at *fwa cryf* ond eisieu iaith ac eisieu awenydd? Yn eich ail cywydd, 'Rhoes win Sieb'—'Pair yw 'r pen'—'Dwys bîbl od oes heb wybod'—'Siciwyd gwawd sioed gadarn'—mi a rifais yn eich gwawd chwi o'r beïau hyn uwchlaw cant at yr un synwyr; a rhâd Duw ar eich gwaith! Hwylbren llong!- Am

eich ail galwedigaeth chwi yn Arwyddfardd, lle yr ych chwi yn dywedyd gwir fod pawb yn dyfod o Noe hen, fo allai na ddoi sydd yn Ewrop o Siapheth; oblegid fod rhai o hil Cam yn planta o hil Sem; bod rhai o'r cawri yn dyfod o Gam, ac na orchfygodd Brutus ddim o honynt; a bod gyda Brutus rai o Asia, er nad oedd fawr. Pe rhoem i chwi fod pawb yn dyfod o Siapheth, nid allai pawb ddyfod o Frutus, a deugain mil yn hilio o ferched yr ynys; ac nid oes un Cymro, nag yn aurog nag yn gardotyn (os gwir eich achau chwi) na ddaw fo i Frutus.—Os byddwn ni byw, mi a chwi, fo chwilir hefyd am na ddowch chwi o flaen gwŷr lle caffom ni ymresymu; rhaid i mi roi dros fy ngherdd, lle yr ydych chwi yn ceisio beiau. Yn fy nhrydydd cywydd mi a genais hyn,—

'Hoff lawndrefn bren yw *Fflandrys.*'

Meddwch chwi mai *Fflandrs.* Mi a'i hamddiffynaf: *Flandria* yw y gwreiddiol: nid all *ndrs* dreiglo heb fogail rhyngddynt—

'Tithau 'r albrysiwr tuthia
Drosodd at y Fflandrysiaid.' *D. ab Gwilym.*

Yn fy seithfed cywydd, chwi a fynech fod bai ar y pennill am baintio 'r grawnwin i'r adar—

'Ar y pared yr heden,
Fo gerllaw a phigo 'r llên.'

*Potentiali modo,* temp. plusq. perfecto, plur. 3 person: Heden—dent; hedyn—dynt. Onid yw eich Dwned chwi fel hyn mae fo allan o'i le. Nid oes un bardd nas canodd felly. Am y gair *clwm,* mi a'i hamddiffynais drwy dreigliad yn fy ngherdd.—A'r gair *ffurvaven,* lle yr oedd un o'r ddwy v yn toddi—

'Pant rhyvedd paentiwr awen.'
*H. Cydweli.*

'Ysgavn y eawn weisgion cerdd.'
*S. Phylip.*

A mil o'r fath. Ymhob un o'r rhai hyn mae v yn colli bod yn gydsain. O achos hyn yr wyf yn deall mai am na fedrwch nac adnabod bai, na rhoi drosoch, yr ych heb ddyfod yn fy wyneb. Da gwna mab beidio dyfod i'r maes, hwn ni fedro na tharo na derbyn. Ewch yn iach! Eich cydfrawd mewn cerdd dafod,

"EDMWNT PRYS."

Wedi hyny y dechreuodd yr Archddiacon wneuthur y tri naw cywydd i William, am ei naw, fel y dywedodd yn ei lythyr; ond ar ddiweddu un ar bymtheg o honynt, daeth Rhydderch â gair iddo farw o W. Cynwal. Yna y canodd yr Archddiacon gywydd marwnad ar ddull ymddyddan rhyngddo â'r genad, yn cwyno colled y fath fardd godidog, &c.

*Rhif y Cywyddau Ymryson.*

19 gan E. Prys.
19 gan W. Cynwal yn ateb iddynt.
16 gan E. Prys o'r 27 a addawsai.
1 marwnad i W. Cynwal.

Rhif 55 i gyd.*

* Yr oedd Edmund Prys yn un o'r gwŷr mwyaf dysgedig, a'r prydydd hynotaf yn ei oes; ac y mae amryw o'i gyfansoddiadau ar gael eto; y mwyaf hynod o honynt yw ei ddadleuaeth brydyddol efo William Cynwal. Ond nid yw ei ymryson prydyddol hwn ddim mor addas i gyfieithydd ardderchog y Salmau ag y byddai dymunol er adeiladaeth.—*Y diweddar Barch. Thomas Charles, Bala.*

### MAN-GOFION.

Tudyr Hen ab Gronw ab Ednyfed Fychan, a wnaeth Brïordŷ Bangor yn y flwyddyn 1299, ac a fu farw 1311. Iolo Goch a ganodd ei farwnad, 89 blwydd cyn rhyfel Owain ab Gruffydd o Lân Dyfrdwy, yn 1400; ac y mae yn debyg fod Iolo o leiaf 110 mlwydd oed y pryd hyny. Naw mlynedd wedi hyny y mae Iolo yn cwyno fyned Owain dan gudd, neu ar ddifancoll, yn y cywydd yn dechre, "Y gŵr hir, ni'th gâr Harri."

Maelgwn Gwynedd brenin y Prydeiniaid y sydd yn gorwedd yn Ynys Eiriol (Seiriol); ac ef a wnaeth Brïordŷ Penmon, a Chlawswrdŷ Caer Gybi.

Llewelyn ab Iorwerth Drwyndwn, tywysog Gwynedd, a wnaeth Fynachlog Aber Conwy, a Phrïordŷ Llanfaes.

Plant Macsen Wledig: Cwstenyn, Peblic, ac Owain Finddu, yr hwn y claddwyd ei ben a'i gorff o fewn Nanhwynyn, yn nghoed Ffaräon; yr hwn Owain a laddodd Eurnach Gawr; yn yr unrhyw goed Eurnach a'i lladdodd yntau.

Ieuan Trefor Esgob Llanelwy a wnaeth Llan Gollen yn amser Owain Glyn Dyfrdwy. 1260 y gwnaed monachdŷ Rhuddlan. 1462 y llosgwyd Gwrecsam. 1507 y dechreuwyd adeiladu clochdŷ Gwrecsam.

---

### RHYS GAIN YN MHLAID EI GELFYDDYD.

Rhys Gain y bardd a anwyd yn mhlwyf Trawsfynydd, ar lan afon Gain. Y rhan fwyaf o'i oes bu yn trigo yn nhref Croesoswallt. Ef oedd yn lluniedydd cywrain; ac o herwydd iddo ddarlunio Croes Crist, neu y Dyoddefaint, un o ddilynwyr Calvin a haerodd ei fod yn eilunaddolwr; am hyny y canodd yntau yr englyn hwn,—

Yr annuwiol ffol a ffy—poen alaeth
Pan welo lun Iesu:
Llunied ef, os gwell hyny,
Llun diawl ymhob lle 'n ei dŷ.

---

### DAMMEGION.

*Allan o Gasgliad o Ddammegion a ysgrifenwyd o gylch y flwyddyn* 1300.

Rhyw ŵr a oedd gynt ac a welai ôl ormes o lygoden yn bwyta ac yn dinystyr ei gaws yn ei gîst; sef a orug yntau cymeryd cwrcath mawr a oedd iddo, a'i osawd yn y gist, ar feddwl cadw y caws; sef a wnaeth y cath lladd y llygoden, a bwyta y caws yn llwyr. Yr un ffunud â hyny y gwna yr esgyb, rhoi cadwedigaeth eneidiau ac ysbrydawl feddiant i amryfeilion offeiriaid, a gosawd archddiacon creulawn cyfoethawg arnynt hwyntau, i ddinystyr yr offeiriaid a'r plwyfau o gwbl.

Y llygoden gynt a fynai fyned tros afon; a phan ydoedd hi ar lân yr afon, hi a welai ryw ffrogi bychan rhwng y dwfyr a'r lân; a chyfarch a orug hi iddo, ac adolwyn iddo ei chynnorthwyaw os gallai. A'r ffrogi a ddywawd, Dyred rhagot, a rhwym di wrth un o'm traed i, a mi a nofiaf â thi drwodd. A hyny a orug hi; a phan ytoeddynt am hanner yr afon, eu harganfod a orug y barcud, a dwyn hwyl a'u hysglyfied eill dau, a myned â hwy ganto. Felly yr un ffunyd, pan rodder persondodau a meddiant mawr, a chadwed-

igaeth eneidiau, i ynfyd diwybod annheilwng, y daw y cythraul i eu hysglyf ill dau; nid amgen y ceidwad a'r plwyf, onid Duw a'u gweryd ac a'u hamddiffyn.

Anian yr eryr yw pan fyddo iddo feibion adar, pan fyddant yn ddigon oedranus, efe a'i derchaif hwynt uwch ei nyth yn erbyn yr haul, a'r aderyn a allo o'i gadernid edrych yn erbyn yr haul, ef a geidw hwnw ac a'i mâg; a'r un nis gallo, ef a'i bwrw dros y nyth allan i'w golli. Felly yr Arglwydd Dduw fydd iddo feibion adar yn yr eglwys gatholic ymwan; y rhai a welo ef eu bod yn deilwng mewn dwywawl wasanaeth a daioni ysbrydol, y rhai hyny a fâg ef, ac a gedwir gantho; a rhai eraill annheilwng, yn ymroddi i ddaiarolion bethau, a fwrw ef yn y tywyllwch eithaf, yno lle y mae wylofain a deintgrud.

Anian y gethlydd yw, dodwy a wna yn nyth y bwrnet, ac eistedd a wna yr ederyn hwnw ar ŵy y gethlydd, megys yr eiddo ei hun, a chreu ederyn o hono, a'i fagu a wna oni fo mawr a chryf; a phan fo ef addfed a chryf, llyncu ei fagiawdwr a wna, ac felly y dieilch ef ei feithrin. Felly y mae llawer ar bobl; yn erbyn ac yn annhirion y gwnânt ddrwg ac annhirionrwydd i'r rhai a'u magasant ac a wnaethant iddynt dda yn eu gwendid a'u tylodi; a'r rhai hyny a ellir eu cyffelybu i ederyn y gethlydd.

---

DAU ENGLYN SYR LEWYS O LAN CYNDEYRN I HITYN GRYDD, A GEISIAI RADD WRTH GERDD YN EISTEDDFOD CAERWYS.

Crydd oeddud ŵr mud, er 'mado—a'th ddysg,
A thâsg it' ar wnïo;
Pam y bydd, lleferydd llo,
Gradd it', ond yn grydd eto?

Da y troit bellen, ddyn trwch,—a llinyn,
Llyna waith a'i meddwch:
Da gwyddost, fawrfost fyrfwch,
Blaeniaw hwn â blewyn hwch.

---

ENGLYN SION TUDYR I LUNDAIN.

Da yw Llundain gain am giniaw—a bwyd,
Drwy na baid yn waglaw;
A lle drwg oll i drigaw
I ddyn llwyd heb dda yn llaw.

# Hanesion Llenyddol.

Y MAE y fasnach mewn llyfrau yn parhâu yn dra marwaidd, ac er aml ymgais yn methu rywfodd ag ymadnewyddu i'r ynni oedd yn eiddo iddi cyn y rhyfel â Rwssia, y cyfyngder mawr arianol fu yn gwasgu ar Ewrop ac America, a'r gwrthryfel ofnadwy yn India y Dwyrain. Y mae ein cyhoeddwyr mwyaf yn hynod o hwyrfrydig i ymgymeryd âg anturiaethau pwysig, a meddwl y wlad yn cael ei dynu i'r fath raddau ar ein helyntion gwladwriaethol, fel na byddai y cyfryw anturiaethau, oddieithr fod rhywbeth tra anghyffredin yn y testyn, megys Teithiau a Darganfyddiadau Dr. Livingstone yn Affrica, mewn un modd, mewn ystyr fasnachol, yn ddiberygl. Yr un pryd, y mae rhai arwyddion adfywiad yn dechreu ymddangos. Y mae rhai llyfrau diweddar, go ddrudfawr, ar destynau cwbl anghysylltiedig â helyntion yr amseroedd presennol, wedi cyrhaedd ail a thrydydd argraffiad, ac y mae galwad parhâus, cyson, a chynnyddol, am yr hen awdwyr da mewn duwinyddiaeth ac athroniaeth, barddoniaeth a hanesyddiaeth, ar y rhai y mae cymeriad llênyddol y deyrnas hon yn benaf yn gorphwys.

Y mae bedwaredd gyfrol o'r argaffiad newydd o holl waith Arglwydd Bacon wedi ei chyhoeddi. Y mae hon yn cynnwys cyfieithiad i'r Saesonaeg o'r prif gyfansoddiadau athronyddol a roddasid, yn y cyfrolau blaenorol, yn y Lladin gwreiddiol. Gwneir y bummed gyfrol i fyny o ddefnyddiau cyffelyb: ac â hono fe orphenir y dosbarthiad athronyddol o'i ysgrifeniadau yn ol trefn yr argraffiad hwn.

Y mae y ddegfed gyfrol o holl waith Dugald Stewart, a gyhoeddwyd dan olygiad Sir William Hamilton, wedi ei dwyn allan o'r wasg. Y mae yn cynnwys Bywgraffiadau Stewart i Dr. Adam Smith, Dr. Robertson (yr Hanesydd), a Dr. Reid, gyda Chofiant am Stewart a detholion o'i lythyrau gan John Veitch, M.A. Argraffwyd y Bywgraffiadau sydd yn y gyfrol dan olygiad Sir William Hamilton, a bwriadai ysgrifenu y cofiant ei hunan: ond bu farw cyn dwyn ei fwriad i ben, na gwneyd, dybygid, ond ychydig neu ddim parotôadau at hyny. Pa fodd bynag, y mae Mr. Veitch wedi cyflenwi y diffyg yn y fath fodd ag nas gall lai, dybygem, na rhoddi boddlonrwydd cyffredinol. Y mae yn ein hadgofio tu hwnt i ddim a welsom o ddull manwl, esmwyth, ac eglur, Stewart ei hunan. Bwriedir dwyn allan eto Gyfrol Adgyflenwol, yn cynnwys cyfieithiadau i'r Saesoneg o'r dyfyniadau gan Mr. Stewart o'r awdwyr yn y Groeg a'r Lladin ac ieithoedd eraill a wneir ganddo yn ei wahanol gyfansoddiadau, gyda Mynegai cyflawn cyffredinol i'r holl gyfrolau.

Y mae holl waith y *Professor* Wilson o Edinburgh wedi ei ddwyn allan mewn deuddeg cyfrol, dan olygiad ei fab yn nghyfraith, Dr. Ferrier. Nid ydym yn clywed dim son am y Detholion o Ddarlithiau Wilson yn y *Moral Philosophy Class* a addewid yn gysylltiedig â'r argraffiad hwn. Yr ydym yn gobeithio, pa fodd bynag, na chodwyd mo'r dysgwyliad am danynt i'w siomi.

Y mae holl waith *Lord* Brougham, neu yn hytrach yr hyn a berthyn i'r

dosbarth cyntaf o honynt, wedi ei ddwyn allan mewn deg cyfrol. Nid yw y cyfrolau hyn yn cynnwys ond rhan fechan, mewn cymhariaeth, o'i ysgrifeniadau, er yn ddiammheu eu bod yn cynnwys y nifer fwyaf o'r rhai y teimla y darllenydd cyffredin unrhyw ddyddordeb ynddynt.

Yn araf iawn y mae De Quincey yn dwyn allan, dan ei olygiad ei hunan, ddetholiad o'i brif ysgrifeniadau. Y mae wedi cyhoeddi wyth cyfrol. Yr ydym yn ystyried y cyfansoddiadau hyn, yn yr hyn sydd yn cyfansoddi gwir hyawdledd, ymhlith cynnyrchion uchaf y meddwl dynol mewn unrhyw oes neu wlad.

Y mae *History of Greece, by* George Grote, *Esq.*, yn awr wedi ei orphen, mewn deuddeg o gyfrolau trwchus. Y mae y gwaith hwn yn cael ei gydnabod yn gyffredinol, yn y deyrnas hon ac ar Gyfandir Ewrop, fel y rhagoraf a ymddangosodd erioed ar y testyn. Y mae y fath ymdeimlad calon rhwng yr hanesydd â'r bobl hynod a ddarlunir ganddo, a'r fath fywiogrwydd a neillduolrwydd ac effeithiolrwydd yn ei ddysgrifiadau, ag sydd yn gadael argraff arosol ar feddwl y darllenydd o gynnwys yr ysdori ac o'r gwersi mawr cymdeithasol a ddysgir ynddi. Dyma y llyfr, bellach, am hanes Groeg. Y mae yr awdwr yn lled-addaw llyfr eto, rywbryd, ar Athroniaeth Groeg yn y bedwaredd ganrif cyn Crist. Nid oes genym un wybodaeth a yw yn myned rhagddo â'r gwaith hwnw, na pha bryd y gellir gobeithio am ei ymddangosiad.

Llyfr arall ar hanesyddiaeth Groeg sydd, trwy ei ymddangosiad, wedi crëu cyfnod newydd yn nghydnabyddiaeth Ewrop â'r wlad hono, yn neillduol â'r hen ddinas y mae yn arbenig yn dal cysylltiad â hi, ydyw, *The Public Economy of the Athenians; with Notes and a Copious Index. By* Augustus Boeckh. *Translated from the Second German Edition, by* Anthony Lamb. Cyhoeddwyd y gwaith hwn gyntaf yn y flwyddyn 1817. Daeth cyfieithiad o hono yn y ffurf oedd iddo y pryd hwnw allan, er ys blynyddoedd lawer bellach, wedi ei wneyd gan Syr George Cornewall Lewis. Y mae y cyfieithiad presennol wedi ei wneyd yn yr America, allan o'r ail argraffiad a gyhoeddwyd gan yr awdwr yn 1851, ac yn cynnwys ffrwyth ei ymchwiliadau am dros ddeng mlynedd ar hugain i'r amrywiol faterion yr ymdrinir ganddo â hwynt, yn ychwanegol at yr hyn a gyhoeddasid ganddo yn yr argraffiad cyntaf. Anaml, os erioed, y cafwyd prawf cryfach o'r hyn a all dyn, trwy ddysgeidiaeth, ac ymröad, a manylder, a phwyll, effeithio, gyda golwg ar yr hyn a allasai ymddangos yn ddyrys a thywyll ac anmhenderfynol, nag a geir yn y llyfr hwn. Y mae yn gynllun perffaith agos o'r ysbryd llênyddol a ddylai lywodraethu dyn yn ei ymchwiliadau henafiaethol.

Er rhoddi rhyw ddirnadaeth am iaith, cynnwys, tuedd, ysbryd, ac amcan, ysgrifeniadau yr hen Roegiaid gynt, y mae *A Critical History of the Language and Literature of Antient Greece, by* William Mure, *of* Caldwell, yn llyfr tra rhagorol. Y mae pum' cyfrol o'r gwaith wedi eu dwyn allan. Ni roddir un awgrymiad i ni pa sawl cyfrol eto sydd i'w dysgwyl. Y mae, yn y cyfrolau hyn, wedi dwyn hanes llênyddiaeth Groeg i lawr o'r oesoedd cyntaf hyd at yr haneswyr Thucydides a Xenophon. Os amcana fyned rhagddo gyda'r un helaethrwydd, y mae yn sicr y bydd yn gadael ei waith ar yr hanner. Y mae y cyfrolau a gyhoeddwyd ganddo yn arwyddo cydnabyddiaeth fanwl âg iaith, astudiaeth fanwl ar gynnwys, ac ymdeimlad dwfn âg ysbryd, yr ysgrifeniadau sydd wedi bod trwy yr oesoedd, ac a fyddant i barhâu, yn cael eu cydnabod nid yn unig yn brif gyfryngau ein cyd-

nabyddiaeth â helyntion yr hen amse[illegible]mru, yn enwedig y [illegible] athrylith goethaf y byd.

Y mae cyfrol newydd drwchus wedi dyfod alla[illegible] gyda golwg ar fyn[illegible] *tical Commentary on the Old Testament, with a* [illegible]dechreu ar orchwylio[illegible] M. M. Kalisch, *Phil. Doc.*, M.A. Llyfr Genesis ydyw tes[illegible]'r dyledswyddau a Galwasom sylw rywbryd yn ol at gyfrol gyffelyb o eiddo yr [illegible]edd neu dair Exodus. Y mae yn dda genym ddeall fod defnydd go gyffredin [illegible]ymroddi ei wneyd o hono, yn astudiaeth y testyn gwreiddiol, mewn un o le[illegible]eg-Athrofëydd Cymru. Y mae hon wedi ei chyfansoddi ar yr un egwyddorion â, ac yn arddangos holl ragoriaethau, y gyfrol flaenorol. Y mae yn neillduol wedi gwneyd defnydd rhagorol o'r darganfyddiadau diweddar yn Assyria, a Babilon, a'r Aipht, er egluro rhai rhanau o'r llyfr: ac y mae rhyw beth hynod o hapus yn y dull y dangosir ganddo ragoriaeth hanesyddol llyfrau yr Hebrëaid ar gofion goreu y cenedloedd cymydogaethol iddynt. Iuddew ydyw yr awdwr o ran crefydd ac o ran cenedl; ac fel y cyfryw y mae yn esbonio llawer adnod yn dra gwahanol i'r hyn a olygir genym ni ei gwir ystyr; ond, ar y cyfan, nis gallwn lai na theimlo ei fod o fewn ychydig i fod yn gristion, ac nid ydym heb radd o hyder, os ca fyw i fyned trwy yr Hen Destament fel y mae wedi cychwyn, na bydd braidd yn barod i droi at y Newydd, wedi cael ynddo yr Hwn yr ysgrifenodd Moses yn y gyfraith a'r prophwydi am dano.

Y mae Clark yn ei *Foreign Theological Library*, yn awr wedi dwyn allan yr oll o *The Words of the Lord Jesus, by* Rudolph Stier, *Doctor of Theology, Chief Pastor and Superintendent of Schkeuditz.* Y mae y gwaith wedi ei orphen mewn wyth o gyfrolau prydferth, ac, ymhob modd, yn ateb i'r dysgwyliadau uchel a goleddasid am dano cyn ei ymddangosiad. Nid ydym wedi rhoddi i fyny y gobaith o allu galw sylw ein darllenwyr ato mewn erthygl led gyflawn arno.

Y mae Mr. Ellicott wedi dwyn allan gyfrol arall o'i waith ar Epistolau Paul. Yr Epistolau at y Philippiaid, y Colossiaid, ac at Philemon, sydd ganddo yn hon. Y mae y gyfrol hon eto yn cadw i fyny yn gwbl y cymeriad uchel y mae yr awdwr wedi ennill fel beirniad a deonglydd ysgrythyrol. Nid oes yn yr iaith Seisonig ddim tebyg iddynt. Y mae rhywbeth mwy trwyadl a gorphenedig ac ysgoleigaidd, gyda llawer iawn llai o rywbeth tebyg i rodres ynddynt, nag sydd yn Alford, tra ar yr un pryd nad yw yn cilio dim oddiwrth symledd yr efengyl, a ffydd ddiffuant ynddi.

Y mae Clark, Edinburgh, newydd gyhoeddi *Evangelical Meditations, by the late Rev.* Alexander Vinet, D.D., *Professor of Theology in Lausanne, Switzerland. Translated from the French, by Professor* Edward Masson. Nid oes eisieu, yr ydym yn hyderu, ond gwneyd yn hysbys i'n darllenwyr fod cyfrol fel hon wedi ei chyhoeddi, na bydd ar unwaith yn ddigon er penderfynu eu meddyliau i'w chael iddynt eu hunain. Y mae enw Vinet uwchlaw pob canmoliaeth i'r rhai adnabyddus o hono, ac i'r rhai dyeithr iddo y peth goreu ydyw eu gwahodd i weled a barnu drostynt eu hunain.

Ond y gyfrol hynotaf o bregethau a gyhoeddwyd yn ddiweddar, ac un o'r rhai goreu, yn ein bryd ni, a gyhoeddwyd erioed ydyw, *Sermons by the* Rev. John Caird, M.A., *Minister of the Park Church, Glasgow, Author of "Religion in Common Life."* Y mae enw Mr. Caird yn adnabyddus i liaws o'n darllenwyr, mewn cysylltiad â'r bregeth a draddodwyd ganddo ger bron ein

Brenines, "Religion in Common Life," yr hon hefyd a argraffwyd trwy ei gorchymyn hi, ac sydd wedi chyfieithu a'i chyhoeddi yn yr iaith Gymraeg. Rywfodd ni ddygwyddodd i ni weled y bregeth hòno: ac yr oeddem wedi ein harwain i feddwl, er y gallai fod yn gyfansoddiad gweddol, eto nad oedd un rhagoriaeth neillduol yn perthynu iddi, ond yn unig ei bod wedi dygwydd tynu sylw ei Mawrhydi. Y mae y gyfrol hon, pa fodd bynag, wedi peri i ni feddwl ddarfod i ni ffurfio barn annhraethol ry isel am yr awdwr, a bod yn dra thebyg fod yr holl ragoriaethau sydd yn hynodi y pregethau hyn yn perthyn hefyd i'r bregeth hono. Anfynych iawn y cyfarfyddir â'r fath bregethau a'r rhai hyn. Nid ydynt yn arddangos y fath wreiddiolder a phwysau meddwl a phregethau Robertson, y fath ymdeimlad â dirgel ddyn y galon a phregethau Vinet, y fath dreiddgarwch sylw a'r fath allu awgrymiadol a phregethau Foster, y fath deimlad tyner a phregethau Archer Butler, y fath ryferthwy areithyddol a phregethau Chalmers, na'r fath gyfuniad rhagoriaethau ag a geir yn mhregethau goreu Robert Hall, eto ni phetruswn ddywedyd nad ydynt mewn rhyw bethau yn rhagori ar eiddo y naill a'r lleill o'r rhai a enwyd, ac yn ymddyrchafu yn agos iawn i ben uchaf y rhestr ymhlith cyfansoddiadau o'r fath. Y mae y gyfrol yn cynnwys un ar ddeg o bregethau, oll, y mae yn amlwg, wedi eu gorphen mor berffaith braidd ag y gallai yr awdwr. Y mae yn hawdd gweled ei fod wedi ymdrafferthu llawer—lawer, nid yn unig gyda'r meddwl, ond gyda'r geiriau; ac yn hyny, dybygem ni, y mae eu diffyg mwyaf. Y mae rhyw fath o gywiriad nad yw berffeithiad. Collir mwy mewn nerth nag a ennillir mewn tlysni. Nid oes posibl peidio teimlo hyny wrth ddarllen Dr. Harris, ac felly Robert Hall, i ryw fesur; a'r un peth sydd, yn achlysurol, yn ein taro ni yn y pregethau hyn. Yr un pryd, y mae yn gyfrol na chyfarfyddir ond yn anfynyc hâ'i chyffelyb, ac yr ydym o'n calon yn ei chymhell i sylw holl bregethwyr y Dywysogaeth. Ei phris ydyw saith a chwech.

Y mae llyfr nodedig o werthfawr i fyfyrwyr ysgrythyrol, yn enwedig y rhai a fyddont yn nghyrhaedd Llyfrgelloedd da, yn awr yn cael ei gyhoeddi yn rhanau, hanner coron yr un:—*Cyclopaedia Bibliographica: a Library Manual of Theological and General Literature, and Guide to Books for Authors, Preachers, Students, and Literary Men. Analytical, Bibliographical, and Biographical. By* James Darling. Y mae Mr. Darling wedi cyhoeddi o'r blaen y dosbarth cyntaf o'r gwaith, yn cynnwys enwau yr awdwyr a'u hysgrifeniadau—y gwahanol bynciau a drinir ganddynt—rhestrau manwl o'r testynau a'r gwahanol bregethau yn y cyfrolau, &c. Y mae y gwaith presennol yn wrthgyferbyniol megys i'r blaenorol. Yn hwnw yr oedd yr awdwr genych i chwilio am yr hyn yr ysgrifenasai arno—yn hwn y mae y pwnc, y llyfr ysgrythyrol, neu ryw adnod neillduol genych i gael allan pwy sydd wedi ysgrifenu ar hyny. Er esiampl: tybier fod ar un eisieu astudio Llyfr yr Actau, fe'i cyfeirir yma at dros gant o awdwyr wedi ysgrifenu ar y llyfr hwnw—heblaw at ryw awdwr neu arall a ddichon fod wedi pregethu ar braidd bob adnod yn y llyfr, ac ar ambell adnod dros ddeg ar hugain o awdwyr. Tybier fod Ioan xiv. 6 ar feddwl y pregethwr yn destyn. Ond troi at yr adnod hono yma, fe'i cyfeirir at 35 o wahanol awdwyr sydd wedi pregethu ar y geiriau. Fe welir ar unwaith y dichon y llyfr fod yn nodedig o fuddiol i bregethwr i'w gyfarwyddo at yr hyn eill fod yn gymhorth iddo mewn llawer o amgylchiadau. Ac hyd yn nod pe na byddai yn nghyraedd y llyfrau, y mae yr hyn a nodir yma fel mater neu bwnc

pregeth oddiwrth ryw adnod, yn fynych yn ddigon awgrymiadol i arwain y meddylgar at bregeth werthfawr iddo ei hun. Gorphenir y rhan yma o'r dosbarth presennol mewn tua deg neu ddeuddeg o rifynau. Yr ydym yn gobeithio y ca y casglydd llafurus y fath gefnogaeth ag a'i galluoga i'w gyhoeddi yn ddigolled iddo ei hun. Yr ydym yn addaw i ni ein hunain, os byddwn byw i'w weled wedi ei orphen, yr erbyd i ni lawer o goll amser i chwilio am yr hyn a allai fod yn ein hymyl. Y mae yr wythfed rhifyn eisoes wedi ei gyhoeddi. Daw y nawfed allan yn mis Medi.

*Pregethwr y Bobl, neu Fyfyrdodau a achlysurwyd gan Farwolaeth y Parch.* John Jones, *Tal-y-sarn. Gan* Glan Alun, *awdwr "Fy Chwaer,"* &c., sydd gyfansoddiad a ddarllenir gyda theimladau cymysglyd, yn ol yr hyn a fyddo uchaf yn y meddwl am y Gwron Cristionogol a ddygir ger bron y darllenydd ynddo. Ffrwyth teimlad tyner, dwys, a diragrith ydyw, un âg elfenau prif-fardd ynddo, mewn adgof am y cyfaill a hoffai, y cristion a barchai, a'r pregethwr a ryfeddai. Mae y darluniadau yn hynod o naturiol, ac yn gyfryw ag nas gall y rhai ag a glywsant ein hen gyfaill ar adegau o'r fath ag a ddygir yma ger ein bron, lai na theimlo eu gwirionedd, hiraethu ar ol yr amser y mwynheid hyfrydwch mor gryf ac eto mor annaearol, mawrhâu y Nefoedd am danynt ar y pryd, a dymuno am gael rhywbeth cyffelyb eto. Nid oes eisieu ond gwneyd yn hysbys fod y fath gyfansoddiad yn bod, a'i osod yn nghyrhaedd y lliaws, na bydd miloedd yn foddlawn i ymadael â'u pedair ceiniog er mwyn ei gael.

Mae y gyfrol o'r *Oxford Essays* am y flwyddyn 1858 newydd ddyfod allan. Mae yn cynnwys saith o draethodau o nodwedd cyffelyb i'r rhai a ymddangosasant yn y cyfrolau blaenorol. Mae yma un traethawd galluog iawn ar yr hen Stoiciaid, gan Syr Alexander Grant; un tra dyddorol ar Hymnau ac Ysgrifenwyr Hymnau, gan Charles Buchanan Pearson, M.A., *Oriel College;* ac un tra rhagorol ar destyn nad oes ond ychydig yn y deyrnas hon wedi bod yn ysgrifenu arno, nac yn gwybod ond ychydig yn ei gylch, *The Norsemen in Iceland,* gan George Webb Dasent, D.C.L., *Magdalen Hall.* Mae y gyfrol o'r *Cambridge Essays* am y flwyddyn 1858 yn cael ei dysgwyl yn fuan, a chyda hono, fe ddywedir, y rhoddir terfyn ar y cyhoeddiad o honynt yn y dull presennol, am nad yw y derbyniad yn ateb i'r draul.

Ychydig amser yn ol fe gyhoeddwyd *The Life of* Martin Luther. *By* Henry Worsley, M.A., *Rector of Easton, Suffolk, late Michel Scholar of Queen's College, Oxford;* mewn dwy gyfrol wythplyg. Dylasem alw sylw ein darllenwyr yn gynt at y gwaith hwn. Y mae yn cynnwys adroddiad syml ac anmhleidgar o hanes bywyd a gweithrediadau ac ysgrifeniadau Diwygiwr mawr Germany, heb un amcan i'w organmawl ar y naill law, na gwrthwynebiad i'w feirniadu yn dêg ar y llaw arall. Yr ydym yn teimlo fod y gwir Luther yn dyfod ger ein bron yn yr hanes hwn. Ac y mae hyny nid yn unig yn iawn, ond mewn cysylltiad âg ef yn ddigon i wneyd ei fywyd, heb un gorliwiad, yn un o'r rhai mwyaf effeithiol a roddir i ni yn holl hanes y byd.

Y mae Clark, Edinburgh, newydd gyhoeddi *Zwingli; or, the Rise of the Reformation in Switzerland. A Life of the Reformer, with some Notices of his Time and Contemporaries, by* R. Christoffel, *Pastor of the Reformed Church, Wintersingen, Switzerland. Translated from the German, by* John Cochran, Esq. Mae Diwygiwr mawr Switzerland wedi

ei esgeuluso yn ormodol gan Brotestaniaid. Mae yn dda genym weled fod pob tebygolrwydd yn awr y gwneir cyfiawnder âg ef. Y mae amryw gofiaint iddo wedi ymddangos yn ddiweddar ar gyfandir Ewrop. Mae rhai o'r rhai hyny, heblaw hwn, wedi eu cyfieithu i'r iaith Saesoneg. Mae ei hanes yn werth ei astudio yn fanwl. Mae y llyfr presennol y cymhorth goreu a ellid ddymuno tuag at hyny. Y mae yr awdwr, cân belled ag y gallai, wedi gwneyd y Diwygiwr yn Fywgraffiedydd iddo ei hun. Ac y mae y cymeriad sydd yn dyfod ger ein bron yn un tra dymunol. Gweithiodd ei ffordd mewn unigedd, ac yn hollol annibynol, i gydnabyddiaeth â dirgelwch efengyl Crist: ac wedi ei derbyn ei hunan ymroddodd gyda gwroldeb didroi yn ol i'w chymhell yn ei symledd ar ei gydwladwyr. Ac fe'i hanrhydeddwyd â llwyddiant mawr. Y mae ei enw wedi ei gymhlethu yn dragywydd â hanes eglwys Crist, ac nid llawer sydd yn yr hanes hwnw â mwy o urddas yn perthyn iddo.

Mae yn hyfryd dros ben genym allu galw sylw ein darllenwyr, yn neillduol y rhan feddygol o honynt, at *An Essay on Wasting Palsy* (Cruveilhier's *Atrophy*). *By* William Roberts, B.A., M.D., *Lon., Scholar of the University of London; Physician to the Manchester Royal Infirmary, Fever Wards, and Lunatic Hospital; Lecturer on General and Morbid Anatomy and Physiology, at the Manchester Royal School of Medicine. With four Lithographic Plates.* Mae y traethawd, y mae yn amlwg, ar destyn sydd allan o'n cylch ni i ddywedyd dim gydag awdurdod yn mherthynas i natur yr afiechyd y mae yn traethu arno, yr arwyddion o hono er ei wahaniaethu oddiwrth y ffurfiau eraill ar y parlys sydd yn tebygu iddo, a phriodoldeb y moddion a gynnygir gan yr awdwr fel y tebycaf i'w wellâu, o leiaf i liniaru i ryw fesur ei rwysg, ac attal anrhaith mwy oddiwrtho ar y cyfansoddiad. Digon i ni ar hyn ydyw dywedyd fod holl sylwadau yr awdwr yn ymddangos i ni yn gyfryw ag nas gallant lai na'u canmawl eu hunain i bob synwyr cyffredin, ac yn cael eu cadarnhâu yn gwbl gan y ffeithiau hynod a gyflwynir ganddo ger ein bron yn y gwaith. Ond gyda golwg ar y pethau sydd yn dyfod yn briodol o fewn cylch ein beirniadaeth ni,—ysbryd yr ymchwiliad; y dull a gymerir ganddo i drin y pwnc; y llafur a gymerwyd ganddo i gasglu ffeithiau, ac ymgynghori âg awdwyr, cân belled ag yr oedd rhai i'w cael a allent weini unrhyw gymhorth iddo; y craffder, y pwyll, a'r gochelgarwch a arddengys uwch ben y ffeithiau hyn, er gwahaniaethu y naill oddiwrth y llall, canfod eu priodoliaethau cyffredin, ac felly ffurfio penderfyniadau cywir; ei symudiad graddol o'r naill ran o'r ymdriniaeth i'r llall, o'r rhagarweiniad hanesyddol i'r driniaeth a gynnygir ganddo er iachâd; cywirdeb, priodoldeb, a grym yr iaith; a bywiogrwydd ac yni yr holl gyfansoddiad;—gyda golwg ar y pethau hyn, y mae y traethawd yn teilyngu lle uchel ymhlith cyfansoddiadau cyffelyb, ac nid ydym yn ammheu dim nad ennilla yn raddol sylw gwŷr mwyaf y deyrnas yn nghylch yr alwedigaeth y perthyna yr awdwr iddi. Y mae yn llawenydd mawr i'n calon weled gwŷr ieuainc Cymru yn eu henwogi eu hunain yn ngwahanol gangenau dysgeidiaeth a chelfyddyd, ac yn ennill mewn cydymgais a chystadleuaeth dêg wobrwyon uchaf ein prifysgolion. Y mae gyrfa ein cyfaill Dr. Roberts wedi bod hyd yn hyn yn hynod o lwyddiannus, ac y mae y llyfr hwn yn argoeli nad yw fel ambell un am eistedd i lawr ar ol myned trwy ei arholiadau, i adael i'r byd fyned yn ol neu ymlaen fel y dygwyddo, heb wneyd dim ei hunan er ei arwain rhagddo. Y mae ei esiampl yn

deilwng o sylw ac efelychiad ieuenctyd Cymru, yn enwedig y rhai o honynt sydd yn myned i Lundain a lleoedd eraill gyda golwg ar fyned yn feddygon. Ni ddangoswyd ganddo ormod brys i ddechreu ar orchwylion ei alwedigaeth. Cymerodd amser da i'w barotôi ei hun i'r dyledswyddau a ddisgynent arno. Dechreuodd yn Dublin. Bu yno ddwy flynedd neu dair yn dilyn y dosbarthiadau yn y *Royal College of Surgeons*, ac yn ymroddi yn ddyfal i'w efrydiau, ond heb wneyd un ymgais i ennill anrhydedd colegawl iddo ei hun. Bu wedi hyny un tymmor yn Mhrifysgol Edinburgh yn llafurio yr un modd, ac yn ei barotôi ei hunan i ymuno â Phrifysgol Llundain. Yn Hydref, 1849, os nad ydym yn camgymeryd, y daeth i Lundain, wedi *matriculatio* yn y Mehefin blaenorol. Yn yr arholiad a gymerodd le y flwyddyn ganlynol dyfarnwyd iddo y wobr gyntaf mewn Athroniaeth Naturiol, a'r gyntaf yn yr Ellmynaeg—y tlws aur yn *Materia Medica*, a'r ail mewn Llysieuaeth. Yr oeddem ni yn dygwydd bod yn bresennol ar ddosbarthiad y gwobrwyon y flwyddyn hòno, pryd yr oedd Iarll Granville yn y gadair, ac nis gallwn yn hir anghofio yr arwyddion teimlad da tuag at ein cyfaill oddiwrth ei gydefrydwyr, a'u banllefau, *Bravo! Roberts!* o orfoledd gyda'i enw, ac fel yr oedd y pendefig urddasol yn cyflwyno y gwobrwyon i'w law. Wedi treulio rhai misoedd yn Bonn, Germany, ac astudio yn Llundain y gauaf canlynol a'r haf, derbyniodd yn 1851, yn ei goleg ei hunan, y tlws arian cyntaf mewn Fferylliaeth, a'r ail dlws mewn *Anatomy*. Y flwyddyn hòno hefyd yr aeth trwy yr Arholiad cyntaf, yn y Brifysgol, am M.B., pryd yr ennillodd y tlws aur mewn Fferylliaeth, a'r *Exhibition*, gwobr o driugain punt am ragoriaeth cyffredinol. Yr un flwyddyn fe gymerodd ei radd o B.A. yn y Brifysgol, ac ennillodd, yn yr *honours*, y gwobrwyon cyntaf mewn *Physiology, Chemistry*, a *Botany*. Ond nid yw hyn oll yn ei foddloni. Y mae yn parhâu i lafurio; a'r flwyddyn ganlynol yr ydym yn ei gael yn derbyn tlysau aur mewn *Surgery*, *Midwifery*, a *Pathology*, y wobr gyntaf mewn *Medical Jurisprudence*, a'r *Longridge General Proficiency Prize* o ddeugain punt. Bu am ryw gymaint o amser y pryd hwn yn feddyg-cynnorthwyol yn yr *Hospital* sydd mewn cysylltiad â'r *University College*. Collasom ef ar ol hyn am yspaid. Yr oedd wedi myned trosodd i Paris, lle y bu trwy yr haf 1853 yn astudio yn *Hospitals* y dref hòno. Yn niwedd y flwyddyn dychwelodd i Lundain, a chymerodd ei radd o M.B. Yn yr arholiad am *honours* ennillodd *scholarship* yr *University*, a thlws aur mewn *Physiology*, a'r tlws aur mewn *Medicine*. Pasiodd tua'r un pryd y *College of Surgeons* a'r *Apothecaries Hall*. Y mae y *scholarship* yr anrhydedd uchaf a allasai gyrhaedd, ac yn dyfod i'r sawl a'i hennillo hanner cant o bunnau am ddwy flynedd. Treuliodd y rhan fwyaf o'r flwyddyn ganlynol ar y Cyfandir, yn Paris ac yn Berlin, yn dilyn arferiad y gwledydd hyny yn eu *Hospitals*, ac yn perffeithio ei hunan yn yr ieithoedd Ffrancaeg a Germanaeg—ac yn niwedd y flwyddyn dychwelodd i Lundain a chymerodd ei radd o M.D. Y mae y ffeithiau hyn, gan mwyaf, wedi eu cyhoeddi yn adroddiadau y Coleg y perthynai iddo, ac yn Mlwyddiadnron Prifysgol Llundain. Buasai yn dda genym ped arosasai yn Llundain, am ein bod braidd yn sicr y cawsai yno well mantais i ddyfod i'r golwg, neu, yn hytrach, i droi y galluoedd a brofasid eisoes, ac a ennillasent y fath sylw, i well mantais iddo ei hun ac i'r byd. Ond dewisodd yn hytrach fyned i Manchester; ac y mae yn dda genym weled ei fod yn dyfod rhagddo mor rhagorol yno. Y mae yno, fel y

gwelwn, yn Feddyg i'r *Royal Infirmary*, ac yn llanw dwy gadair yn y *School of Medicine, Physiology a Pathology*. Anaml iawn y clywsom am neb wedi bod yn fwy llwyddiannus. Ennillodd saith o dlysau aur; tri o dlysau arian; chwech o wobrwyon eraill, mewn llyfrau, &c.; heblaw *scholarship* gyda chan' punt, *Exhibition* gyda thriugain punt, a gwobr arall o ddeugain punt am ragoriaeth cyffredinol. Y mae yn rhaid cofio fod y rhai hyn hefyd, gan mwyaf, wedi eu hennill pan oedd pigion y deyrnas, o'i gwahanol athrofëydd, yn gydymgeiswyr. Yr ydym yn ei longyfarch yn ei lwyddiant; yn ddymuno iddo hir oes i wasanaethu ei genedlaeth a chenedlaethau i ddyfod; ac, yn enwedig, rhaid iddo faddeu i ni am ddymuno nad anghofia Dduw ei dadau, Duw ei deulu, Duw ei dad a Duw ei fam, a'r addysg dda a gafodd yn Mynydd-y-gof, a'r hen efengyl y magwyd ef mor ofalus yn ei hegwyddorion. Y mae yn dda genym ddeall fod hòno yn parhâu yn anwyl ganddo, a byddai yn dda genym ei weled yn ymgymeryd o ddifrif, fel rhan o orchwyl ei oes, â rhyw waith galluog cysylltiedig â'r cangenau y mae mor gydnabyddus â hwynt er amddiffyniad i'w hawliau.

Y mae argraffiad newydd hardd anghyffredin wedi ei ddwyn allan gan Mr. Rees, Llanymddyfri, o'r *Seren Foreu neu Ganwyll y Cymry; sef gwaith Prydyddol y Parch.* Rhys Prichard, M.A., *gynt Ficer Llanymddyfri; ynghyda Nodau Eglurhaol, a Bywgraffiad yr Awdwr, gan y diweddar Barch.* Rice Rees, B.D. *o Goleg Dewi Sant, Llanbedr, ac Aelod o Gymdeithas Coleg yr Iesu, Rhydychain.* Ail Argraffiad. Nid rhaid ar "Lyfr y Ficer" wrth ganmoliaeth at genedl y Cymry. Mae wedi ei ganmawl ei hunan yn ein mysg bellach er ys yn agos i ddau can' mlynedd. Gwnaeth fwy, y mae yn ddiammheu, yn enwedig yn y blynyddoedd cyntaf wedi ei gyhoeddiad, tuag at gyflenwi meddwl y genedl â gwybodaeth am bethau yr efengyl, ac er dwyn y wybodaeth hòno i gyfarfyddiad â'r galon a'r gydwybod, nag yr un llyfr arall a gyhoeddwyd yn ein hiaith. Y mae y ffurf rigymaidd sydd arno y fath ag oedd yn gwâsanaethu yn rhagorol, yn enwedig y pryd hyny, i'r amcan daionus oedd gan yr awdwr ynddo; ac yr oedd hyd yn nôd y gwallau iaith a'r geiriau basdarddaidd sydd mor gyffredin ynddo, oll yn gymhwys i gyfarfod cyfnod ar gyflwr y wlad ag y buasai cyfansoddiadau cywirach, mewn iaith goethach, a ffurf mwy celfyddgar, yn gwbl anghyfaddas. Yr oedd yr "hen Ficer" yn adwaen yr amserau, ac yn ddigon mawr i ymostwng at y genedl yn ei hiselder. Daeth ei gyfansoddiadau mor gyffredin yn y wlad a'i diarebion, ac ystyrid hwynt o gymaint awdurdod a'r Ysgrythyr Lân. Clywsom ni fwy nag unwaith hen bobl yn dyfynu llinell neu ddwy o honynt, gan eu galw yn air yr Arglwydd. Yr ydym yn ofni nad ydynt yn cael y croesaw a ddylent ymhob man y dyddiau hyn. Un peth, hwyrach, a barai hyny oedd diffyg argraffiad o honynt darllenadwy i'r llïaws. Gwnaed sylw yn NHRAETHODYDD 1846 ar argraffiad Mr. Rees a ddaethai allan yn 1841; gydag adolygiad lled helaeth ar yr hen lyfr rhagorol. Yn awr wele ail argraffiad o hòno allan mewn ffurf a diwyg teilwng o'r gwaith. Y mae yn bob peth a ellir ddymuno er gwneyd y cyfansoddiadau drwyddynt yn ddealladwy ymhob parth o Gymru. Y mae ymddangosiad y llyfr, a'r gwaith argraffyddol sydd arno, yn gyfryw ag a allesid ddysgwyl oddiwrth wasg na fèdd y deyrnas, tu allan i Lundain, nemawr ag sydd yn bwrw allan lyfrau prydferthach.

---

P. M. EVANS, ARGRAFFYDD, TREFFYNNON.

# Y TRAETHODYDD.

---

## MYNACHAETH.

RYWFODD neu gilydd, nis gwyddom pa fodd yn iawn, ac nid ymholwn mwyach ychwaith, yr ydym wedi bod dipyn yn hir cyn cyflëu un math o draethawd ar Fynachaeth yn y TRAETHODYDD. Mae yn eithaf eglur a sicr nad ydyw nac yn llai perthynasol, na llai amddifad o ddyddordeb, na "Jesuitiaeth;" "Yr Olyniaeth;" "Dolenau y Gadwen;" "Perthynas Pabyddiaeth a Phaganiaeth,"&c.; pa rai sydd wedi cael eu cymeryd i fyny genym o bryd i bryd, ac yr ydym yn synio ei fod yn ymddangosiad mwy anghyffredin, llawnach o ddyddordeb, ac yn dwyn perthynas agosach â ni, fel y ceisiwn ddangos yn union deg, na'r un o'r rhai hyn, ac na'r un cwestiwn arall cysylltiedig â hanes yr Eglwys Gristionogol, os nad hefyd âg Eglwys Rhufain. Nid o herwydd ei fod yn ddibwys a difudd mewn cymhariaeth, gan hyny, yr ydys wedi ei adael heibio hyd yn bresennol; eithr ei amser, mae yn debyg, oedd heb ddyfod. Y mae ei dro yntau, pa fodd bynag, fel y "Chwil-lys," wedi dyfod o'r diwedd.

Gadawer i ni, wrth daro allan, er mwyn y dosbarth hwnw o'n darllenwyr sydd yn dygwydd bod yn fwyaf anghynefin â'n mater, roddi darnodiad, neu yn hytrach ddesgrifiad rhydd o hono; canys y mae anhawsder addefedig, diarebol, onid oes? i roddi darnodiad manwl o unrhyw beth braidd. Mynachaeth y gelwir ffurf benodol o benboethni crefyddol. *Penboethni,* cofier, yw yr enw a roddir i gydgynnyrch mympwy a theimlad, mewn undeb, cyfathrach, a chydweithrediad â'u gilydd, heb fod o dan lywodraeth a hyfforddiad na rheswm, barn, nac egwyddor. Gellir yn ddigon cywir, a phriodol hefyd, ei ddynodi yn wallgofrwydd crefyddol; duwiolfrydedd gwneuthuredig, celfyddol, basdarddaidd; ac yn ol iaith fynegiadol neillduol a thra chynnwysfawr Dwyfol ysbrydoliaeth "ewyllys grefydd" y dyn—cynnwysedig yn ei egwyddorion symlaf, mewn ymneillduad i radd fwy neu lai allan o'r byd i ddybenion crefyddol; llwyr ymgysegriad—mewn proffes, beth bynag—i feithrinaeth diwyd a hollol duwioldeb dillynwiw. Gwedd-nodir ef ymhellach gan weddwdod diwair, "cosbi y corff a'i ddwyn yn gaeth" trwy ymprydiau meithion, gwastadol; ymattaliad mawr, treisiol, oddiwrth foddion cynnaliaeth naturiol, ac ymattaliad llwyr oddiwrth bob mwyniannau a boddhâd cnawdol; ymfarweiddiad penydiol llymdost, trwy ymgystuddiad corfforol poenus mewn gwahanol ffyrdd adgas a nychlyd i'r eithaf, ar y cyntaf o leiaf, ac wedi hyny hefyd mewn lliaws o amgylchiad-

au; gwyliadwriaethau gohiriedig, myfyrdod dansoddedig a chyfriniol; ymdrech calon ddifrifol o ryw fath, pa mor gamsyniol ac anghyfaddas bynag, yn erbyn pechod preswyliedig; ynghyd â gweddi ddyfalbarhäol a dibaid. Cymysgid â hyn oll ryfel egnïol â diafliaid (dychymygol, bid sicr) gan yr ymwrthodwyr dëoledig—y perffeitholion cristionogol boreuol.

Y mae Mynachaeth nid yn unig yn *ffaith* ynglŷn â hanes Cristionogaeth er yr oesoedd boreuaf, ond yn "*ffaith fawr,*" nodedig iawn, orbwysig, a llawn dirgelwch; ïe, rhaid addef yn un o'r ffeithiau hynotaf, a phwysicaf, a mwyaf pruddaidd cysylltiedig â'i hanfodaeth a'i hymddadblygiad allanol yn mywyd ei phroffeswyr—ei hymgnawdoliad gweithredol, a'i hymdaith ymhlith dynolryw. Heblaw hyn, y mae yn deg i ni edrych arno, canys y mae wedi ennill iddo ei hun, a hyny yn eithaf cyfiawn, y cymeriad o fod ar unwaith yn un o gyfeiliornadau mwyaf ynfyd a thrychinebus y meddwl dynol, yn gystal ag yn un o amryfuseddau penaf, a mwyaf dinystriol a gresynol, crefydd. Gellir dywedyd yn lled ddibetrus, oddiar seiliau digonol, mai Mynachaeth yw y mwyaf amryddull a digrifluniol o'r holl arddangosiadau dyeithrol y mae y natur ddynol erioed wedi ei gyflwyno i'r byd. Meddylier am ei orchestion canlynol a'r cyffelyb:—Simon Stylites yn sefyll ar ben colofn unig, tri ugain troedfedd o uchder, yn yr awyr agored ddydd a nos; Sant Antwn wedi ei gau i fewn yn ei lechfa gudd, heb ei weled gan ddyn am ugain mlynedd, a'i ffroenau yn meddu craffder gwyrthiol, meddir, i arogli presennoldeb ysbrydion drwg, ac yn treulio ei amser mewn ymladdfeydd dychymygol â theulu y fall; Sant Benedict yn ymrolio yn noethlymyn ymhlith y drain i ddarostwng ei ddychymyg trythyll; Suso yn gwisgo crys yn *ffitio* yn glòs ddydd a nos, a chant a hanner o hoelion llymion ynddo, â'u blaenau wedi eu troi i fewn tuag at ei gnawd, yn yr hwn y gorweddai gan nydd-droi ei hunan fel pryfyn yn cael ei gigyddio, am un mlynedd ar bymtheg, nes i weledigaeth beri iddo ymattal. O herwydd hyn, y mae Mynachaeth yn hollol naturiol wedi bod yn wrthddrychg wawd a dirmyg y byd Protestanaidd. Dyma un olwg ar y peth; ond y mae iddo olwg arall, ac un sydd ymhell o fod mor ddiystyrllyd.

O'r holl sefydliadau niweidiol sydd wedi ysgwyd y byd, ac effeithio ar Gristionogaeth, y mae Mynachaeth yn ei ddylanwad dichellgar ac olldreiddiol, wedi bod yn un o'r rhai mwyaf arswydus, yn gystal a dirgeledig. Nid oedd gallu Alexander Fawr i foldio tynghedfen dynion ond megys dim o'i gymharu âg eiddo hen feudwy y diffeithwch ydym eisoes wedi ei enwi—Sant Antwn—tad cyntaf y sefydliadau mynachaidd. Os nad ffrilion yw y "rhyfeddodau gau"—gwyrthiau ffugiol—trwy y rhai y twyllwyd yr holl fyd Cristionogol am uwchlaw deuddeg canrif, ac y mae y rhan fwyaf o hono hyd heddyw yn cael ei ddal yn gaeth wrth ewyllys y Babaeth, yna nid yw Mynachaeth yn wrthddrych dirmyg digymysg. Ac os yw y dyn pechod ei hunan yn gymaint i'w arswydo ag ydyw i'w gasâu, felly yr un modd y mae y brif ffynnonell o'r dylanwad anweledig a threiddgar hwnw, pa un a barotôdd y cenedloedd yn raddol i ostwng eu gwarau, ac hyd yn nôd eu cydwybodau, i'w rwysg melldigedig. O herwydd y mae yn ffaith hysbys iawn, a digon diammheuol, mai y grediniaeth yn mharhâd gwyrthiau yn cael eu gwneuthur gan fynachod, ynghyd a'r ysbryd yr oedd hyn yn ei fagu, a arweiniodd i drawsfeddiant offeiriadol, ac a'i cynnorthwyodd i gyflawni y gwrhydri a wnaeth. Dyna a roddodd y gwasanaeth goreu i gadarnhâd, derchafiad, a chynnydd y Babaeth, ac a gynnaliodd ei honiadau

trahâus yn y modd helaethaf a mwyaf effeithiol.* Oddiar hyn, mae yn amlwg fod Mynachaeth, ni a ail ddywedwn, yn destun llawn dyddordeb dwys, er yn athrist ei wala, yn enwedig i'r cristion meddylgar a goleuedig.

Peth dyeithr i'w ryfeddu, onidê, ydoedd i'r fath afiechyd adwythig, gwrthnysig, a diried, ymaflyd yn nghrefydd yr efengyl mor fuan, a thyfu arni yn orthwf mor hagr ac mor fawr, yr hyn a fwytäodd ei chryfder, a anurddodd ei thegwch yn anferthol a thruenus, a ddinystriodd gymesuredd godidog ei harddlun, a fygythiodd ei bywyd yn ddifrifol, ac a'i peryglodd yn galed am amser hir; ac oni buasai fod ei chyfansoddiad yn dda odiaeth, a chryf rhagorol, ïe, yn wir, yn ddwyfol, profasai yn angeuol iddi yn sicr. I newid y gymhariaeth, onid yw yn beth i synu yn aruthrol ato, iddi wneyd y fath gamgymeriad dybryd, a gadael i'r fath anghenfil ofnadwy o hyll a gwrthwynebus ennill ei serch, iddi ei wahodd mor ebud a chroesawgar i'w mynwes, ei gofleidio mor gu a difeddwl drwg, yr hwn a bwysodd arni fel hunllef cyhyd ac mor drwm, a barodd iddi benwanu mor ysgafn, anghyson, afresymol, a gorphwyllog am dymmor maith, ac agos a wasgodd allan ei hanadl yn lân, nes terfynu ei hoedl a ddechreuasai mor ogoneddus mewn diraddiad a gwarth? a dyna yn ddiammheuol y dynghed alarus a ddygwyddasai iddi, oni buasai ei bod wedi ei gewynu â gwrthneidrwydd digyffelyb "nerth bywyd annherfynol." Er hyn oll, yr ydym yn awyddus i ychwanegu yn y fan yma, i ragflaenu unrhyw argraff a allem dderbyn yn tueddu i anesmwytho yn hytrach na chadarnhâu ein ffydd yn y grefydd Gristionogol, gyda golwg ar beth bynag sydd ddyrys a dirgeledig yn cyffroi ein syndod yn hyn, mai rhywbeth *yn nghyflwr y ddynoliaeth* sydd yn rhoddi lle, ac yn arwain yn anocheladwy i lygriadau o'r fath hyn. Anhawsder naturiol ydyw yn briodol, ac nid un Cristionogol. Nid yn yr efengyl y mae ei achos, ond yn ngwreiddyn drwg moesol.† Ac fe ddywedir wrthym mai rhaid ydoedd dyfod Mynachaeth, oddiwrth yr hyn yw dyn, ac oddiwrth lywodraeth foesol Duw ar y ddaear, lle y gadewir i ddyn lunio pob dyfais a all i ddyhysbyddu adnoddau drygioni;—anghenrhaid ydoedd, meddir, i Fynachaeth dori allan rywbryd, a phe na thorasai allan pryd y gwnaeth, gallasem ni yn awr fod yn nghwsg yn nghanol tywyllwch caddugol nos Mynachaeth, yn breuddwydio yn ynfyd o dan ei orthrymder, neu gallasem fod yn awr yn orphwyllog gan ei syfrdandod, yn lle gwneyd sylwadau oddi draw arno er ein hadeiladaeth â'n llesâd.

Ymddengys i athrawiaeth eglur ac iachus yr efengyl, gyda golwg ar wir natur crefydd ysbrydol "bur a dihalogedig," gael ei chamddeall a'i chamgymhwyso yn fawr. Yr oedd hyn mewn anwybod, mae yn lled debyg, yn amgylchiad rhai; eithr yn amgylchiad y nifer amlaf o lawer yn yr eglwys Gristionogol, cafodd yr athrawiaeth ei gŵyrdröi yn fwriadol a beius, er dinystr dychrynllyd, yn foreu iawn. Darfu i'r fuchedd Gristionogol ymddirywio yn ganlynol, ac yn flaenorol yn wir, i'r fath radd, fel yr ymgymerwyd yn chwannog, dibetrus, a brwdfrydig iawn yn gyffredinol â'r dull gwael, gwrthun, a gwahanddedig hwn o fyw, yn yr eglwys gyntefig. Yn union wedi yr oes apostolaidd, gyda bod y ganrif gyntaf wedi myned heibio, collodd a gadawodd cristionogion y symlrwydd sydd yn Nghrist yn

* Gwel *Bibliotheca Sacra, Vol. I.,* tu dal. 310. † Gwel Rhagymadrodd *Vaughan's Causes of the Corruption of Christianity.*

ddirfawr. Trawshudwyd hwy gan mwyaf—agos i gyd—yn ol y brophwydoliaeth a gerddasai o'r blaen yn eu cylch, yn rhagfynegu eu gwrthgiliad neu syrthiad ymaith, i "roddi coel i ysbrydion cyfeiliornus, ac i athrawiaethau (ynghylch?) cythreuliaid." 1 Tim. iv. 1—3. Rheibiwyd hwy yn ddïeithriad ymron, yn benaf gan rith ddoethineb, i ewyllysio ymdecâu yn y cnawd, a hyny o dan ffugesgus ymwadu âg ef, a'i farweiddio i'r olwg allanol, a bod "heb arbed y corff, nid mewn bri i ddigoni y cnawd." Twyllwyd hwynt ymhell iawn, nes eu dwyn yn gwbl gaeth gan swyngyfaredd gwenieithus a galluog ymneillduedd meudwyol, llwyrymwrthodol—ymddeoliad ac ymattaliad mynachaidd. Syrthiasant mewn cariad âg, ac ymddiofrydasant yn galonog i, ddilyn bywyd dirwestol annaturiol, truan, a dirmygus unigolion ymarbedol. Ceid mynachod penboeth yn crwydro yn ddiamcan a diwaith mewn diffeithleoedd anghyfannedd ac anghysbell; yn cau eu hunain i fyny allan o'r byd, gan ymguddio a thrigo mewn hen geubrenau, "ogofëydd a thyllau yn y mynyddoedd a'r creigiau," ac adeiladau adfeiliedig, neu rai mwy cyfleus a chysurus, "yn ddiddym, yn gystuddiol, yn ddrwg eu cyflwr." Llwyrymwrthodent â'r byd, yn ei orchwylion, arferion, gofalon, ac yn arbenigol ei gymdeithas. Ni chymerent ond y peth nesaf at ddim o fwyd, a hyny a gymerent oedd o fath salw iawn, ac ni chyffyrddent â chig. Ni feddylient am briodas, oddieithr i'w dibrisio a chadw rhagddi fel un o'r pethau mwyaf halogedig a drygionus. Yn eu tyb ŵyrgam hwy, *di*-"anrhydeddus yw priodas ymhawb,"—"da," a gwell, "yw fod dyn ei hunan."

Mynent, fel hyn, dybygid, "groeshoelio y byd iddynt eu hunain, a hwythau i'r byd;" ond y mae yn fwy nag yn ammheus a ddarfu iddynt gyflawni hyn, canys ni ddefnyddient y moddion apwyntiedig—yr unig foddion addas ac effeithiol o Ddwyfol drefniad i hyny. Perswadient eu hunain, yn anghall ddigon, yr hwylusai hyn oll yn fawr, os nad atebai y dyben yn llawn, i gael gwared o ysbryd y byd y mae pechod wedi ddwyn i mewn, a syniad y cnawd a gondemnir gymaint; yr hyrwyddai eu perffeithiad, ac y sicrhäai eu henwogrwydd mewn gras. Golygent ei fod yn ammod hanfodol cyrhaedd gradd dda mewn duwioldeb—yn ffordd, a'r unig ffordd, i'w gyrhaeddyd, yn gystal ag yn arwydd anffaeledig o'i gaffaeliad. Wedi y cwbl, mae yn eithaf amlwg a dilys na lwyddasant cystal i ddyfod i ben âg alltudio y drwg o'u calon ag y gwnaethant i alltudio eu hunain allan o'r byd. Chware teg iddynt hefyd, nid oedd y peth cyntaf mor hawdd o lawer; a chyda hyn, nid y ffordd i buro a dyrchafu yr ysbryd ydoedd gwneyd y fath drais â'u natur. Y mae ysbryd y byd, fel y sylwa awdwr diweddar,* yn rhy gyfrwys i gael ei fwrw allan mewn ffordd mor fêr a rhwydd âg ymwahaniad allanol rhwng y byd a'r eglwys; y mae y drwg yn gorwedd yn ddyfnach. Pa faint hawddach ydyw llwyrymwrthod â rhyw bethau yn y byd, na bod yn gymedrol yn y defnydd o bob peth?

Ni wyddys yn gywir i fanylrwydd, fel ag i allu penderfynu gyda sicrwydd digonol a boddhäol, pa bryd y dygwyd y llygredigaeth anrheithiol hwn i mewn i'r brif eglwys. Yr ydoedd, pa fodd bynag, wedi ymdaenu—y mae genym gyflawnder o brofion diddadl, credadwy, yn nghofnodau hanesyddiaeth eglwysig—yn ystod y trydydd canrif i radd arswydus, ac anhygoel, yn wir, oni bae y tystiolaethir mor ehelaeth a diymwad i wirionedd y

* *Vaughan's "Hours with the Mystics,"* Cyf. I., tu dal. 261.

ffaith. Yr oedd ei gychwyniad, dybygid, yn fychan ac anghanfyddadwy, eithr cynnyddodd yn fuan yn gyflym a chadarn, fel y cawn fod yn yr Aipht yn unig, yn neheubarth y wlad, erbyn oddeutu diwedd y trydydd, neu yn gynnar yn y pedwerydd canrif, filoedd o fynachod cristionogol, ie gannoedd o sefydliadau mynachlogaidd, a chan' mil o leiaf, meddir, ynddynt. Ymledanodd y gwynfydiaeth gyda buander dïail trwy holl wledydd cred, yn enwedig yn y dwyreinfyd. Derbyniodd gymeradwyaeth a choleddiad parod, diffuant, a gwresog yn gyffredinol ymhlith Cristionogion. Cyrchruthrodd yr anmhwyllder ar yr eglwys yn nerthol, a goresgynodd a meddiannodd hi yn ddiwrthwynebiad a llwyr iawn. Yr oeddid yn ddall hollol i'w niwed; ni welid ei anfadrwydd, ni ddrwgdybient ei berygl; cyfrifent a chanmolent ef fel y rhinwedd uchaf, heb freuddwydio yr etifeddid y fath ddrwg gorhiliog oddiwrtho,—yr esgorai ar y fath ganlyniadau difrodol ac alaethus. Dylanwadodd yn rymus, ond andwyol, ar Gristionogaeth Ysgrythyrol, dros yspaid hirfaith o amser; canys nid oedd trwy gydol y mil blyneddau ac ychwaneg a ddilynodd nemawr iawn, os oedd dim, gwir grefydd ar y ddaear, a llai fyth o lênyddiaeth a chelfyddyd, ond oedd wedi ei amgau rhwng muriau mynachlogydd, a'i gorffori mewn mynachaeth. Deil rhywrai fod yn dda ar y cyfan i'r naill a'r llall o'r gwrthddrychau goruchel a gogoneddus hyn gael y cyfryw warchodaeth ac ymgeledd ag a gawsant yn ystod y "canol oesau," a elwir yn briodol yn "*oesau tywyll;*" canys yn y cêlfanau anorfodadwy hyn y cadwyd hwy yn nghanol dylif anwybodaeth a gormes gwriogaethol. Cydnabyddant yn hyn ddarpariaeth ddoeth a diogel i'w cadwraeth. Dyma iaith Syr James Stevens,* awdurdod lled uchel yn y byd dysgedig; "Ond paham," e ofynir, "y cyfeirir y llygad oll at frudiau ofergoeledd, hunan-fwythfoddiant, a rhagrith mynachaidd, sydd yn troi yn llwch? Paham, yn wir? Hwy a'n haddysgant mai y fynachlog oedd yr arch yn y byd cristionogol, fel yr oedd y deml yn Judea, pa un oedd wedi ei llwytho yn ystod y dylif â thynghedfenau yr eglwys â'r byd—mai yma y cafodd ein henafiaeth ysbrydol a dealltwriaethol ein hunain gysgod yn y dymhestl—mai yma yr addfedodd y galluoedd meddyliol hyny y rhai yn raddol a dywalltasant gysondeb a threfn i mewn i elfenau brwydrol gwerinlywodraeth Ewrop—ac mai yma y dygwyd i fyny lawer o addurniadau gwychaf ein Cristionogaeth gyffredinol i addysgu, llywodraethu, a bendithio cenedloedd y Gorllewin." Goruwchreolwyd y camgymeriad echrydus yn rhagluniaethol, ni a welwn, fel ag i'w wneyd yn wasanaethgar neillduol i ddybenion gwareiddiad a chrefydd. Gwiriwyd dammeg Samson yn bur eglur a llythrenol unwaith drachefn yn yr amgylchiad hwn: "Allan o'r bwytäwr y daeth bwyd, ac o'r cryf y daeth allan felusder." Nis gellir dyfalu, chwaithach cael allan, beth a fuasai tynghed y gwahanol wrthddrychau anmhrisiadwy werthfawr hyn, pe na dderbyniasent y nodded a'r amaethiad a gawsant yma, er mor ddiffygiol ydoedd.

Rhoddodd Diwygiad mawr yr unfed ganrif ar bymtheg ben ar yr agwedd hon ar bethau. Rhoddodd ddyrnod drom, anfeddyginiaethol, i fynachaeth, yn gystal ag i lygredigaethau mwyaf cyhoeddus a gwaeddfawr eraill Cristionogaeth, fel y cefnogid hwy gan Babyddiaeth. Dynoethodd a gwarthnododd ei ysgelerderau cableddus, a rhyddhäodd grefydd Mab Duw o dan ei orthrymder blin. Gwnaeth ei anfadrwydd hysbys gymaint â dim

* *Essays in Ecclesiastical Biography, Vol.* I., tu dal. 363.

i ddeffro casineb a gwrthwynebiad i Eglwys Rhufain, a phrysuro i ddwyn oddiamgylch wrthdystiad ëofn yn erbyn ei drygioni, ac ymwrthodiad cyffredinol â'i chymundeb, yn y deyrnas hon ac ar gyfandir Ewrop. Yr un, ar ryw olwg, ydoedd Mynychaeth a Phabyddiaeth; yr oedd o leiaf y berthynas agosaf cydrhyngddynt, fel y crybwyllasom yn flaenorol.

¶ Ond er ein bod wedi cael ymwared hyfryd o Fynachaeth Gyfluniedig er ys oesoedd rai bellach, eto y mae olion presennoldeb yr un ysbrydiaeth heb ddiflanu yn hollol o'r byd hyd heddyw, fel y buasai yn ddigon da eu bod. Nis gallwn lai na'u canfod, canys yr ydym yn eu cyfarfod ar bob llaw o hyd. Mae Mynachaeth yn meddu, ac yn arfer, cryn ddylanwad mewn amrywiol ffyrdd, uniongyrchol ac anuniongyrchol, mwy neu lai gorchuddiedig yn barhâus. Y mae ganddo afael alluog iawn hefyd ar grefydd yr oes hon. Ymgymysga yn helaeth â barn a theimlad crefyddol llawer. Golecha yn ddystaw mewn lle na feddylir. Yr ydym yn olrhain ei hanfodaeth, ac yn darganfod ei effeithiau, yn bradychu ei hun, nid yn unig yn nghymundeb Eglwys Rhufain—ei artref dewisol, a'i hoff hen orsedd—eithr y tu allan iddi, yn gystal ymhlith Protestaniaid mewn enw—oddiallan, fel ag o fewn, cyffiniau yr Eglwys Wladol; oblegid y mae yn ffaith eithaf gwir a hysbys, weithian, fod Puseyaeth yn ei bleidio yn aiddgar a ffyddlawn, ac yn gwneyd ei oreu i'w adfywio yn Eglwys Loegr; ac y mae cynghlwyf bliu yn ngafael âg Anghydffurfwyr, yn drygu aml un yn ddichellgar mewn twyllwisg, ac yn llesteirio eu llwyddiant a'u lles uchaf. Nid oes yr un enwad o Ymneillduwyr efengylaidd, ysywaeth, yn gwbl rydd o rai ynddo yn ei achlesu, yn ddiarwybod ac anfwriadol, ni a gredwn, eto yn rhinweddol. Y mae rhyw rai yn ein plith yn rhoddi argoelion anghamsyniol eu bod wedi eu lefeinio yn ormodol âg ef. Mae yn ymddangos fod y natur ddynol yn dueddol neillduol iddo;—rhyw fath o ddynion, dan amgylchiadau penodol, beth bynag; ac nid yw y grefydd burafyn gallu dianc rhag ei ddylanwad.

Nis gallwn fforddio ymdroi llawer fel hyn i athronyddu, os cawn ryfygu cymhwyso gair mor fostfawr at ein hymdriniaeth anmherffaith, eithr y mae yn disgyn arnom, dybygem ni, i dreio ein llaw ar ryw beth fel hyn.

Onid yw yr hyn y rhaid i ni ei alw yn fath o "*cant*" crefyddol, pa un a glywn yn rhy aml, yn sawru yn drwm o hono? Y mae yn nawsio iaith llawer o ddynion da, duwiol, yn ddiddadl,—rhai o olygiadau diffygiol, beth bynag am gyfeiliornus, ynghylch dysgeidiaeth yr efengyl o barth i "ymarfer ein hunain i dduwioldeb." Achwynant yn fynych, yn ddwysofidus fe ellid meddwl, ar eu perthynas agos â'r "byd drwg presennol," ac ar eu sefyllfa allanol ynddo. Braidd nad ynganant syndod o herwydd trefniadau perffaith y Nefoedd; lledammheuant ddoethineb a daioni, beth bynag am gyfiawnder, y Llywydd goruchaf, Penarglwydd nef a llawr, am eu gosod yn y cyfryw amgylchiadau anffafriol i'w daioni penaf, ac arddodi arnynt, yn rhwymedig yn y fath gyflwr, i gyflawni dyledswyddau sydd mor groes i'w gilydd yn eu tyb hwy. "Nid yn ddiog mewn diwydrwydd, yn wresog yn yr ysbryd, yn gwasanaethu yr Arglwydd;" "Arfer y byd heb ei gamarfer;" "Rhoddi eiddo y byd i'r byd, a'r eiddo Duw i Dduw;" "Darparu pethau onest yn ngolwg pob dyn; "Darbod dros yr eiddo," yn enwedig y teulu, i ochel nôd rhai yn gwadu y ffydd, "ac sydd yn waeth na'r diffydd;" a "byw trwy ffydd Mab Duw" ar yr un pryd. Y mae y gofynion gwahanredol hyn, e fynir, yn elynol i'w gilydd. Meddylir nas gellir gwneuthur eu cais mewn un modd. Credir ei fod yn beth allan o'r cwestiwn

drafferthu gyda negeseuau y bywyd hwn, a "thrysori i ni ein hunain sail dda erbyn yr amser sydd ar ddyfod," trwy geisio y pethau sydd uchod, a rhoddi cwbl ddiwydrwydd i chwanegu at ein "ffydd rinwedd, ac at rinwedd wybodaeth, &c." Oddiar hyn cwyna yr amaethwr yn erwin ar lafur caled a phryderon cyson helyntion y tyddyn; dwg y masnachwr gydymgais llym, cynhyrfus, ac anturiaethau anghenrheidiol trafnidaeth, ymlaen yn alarnad; a rhaid gwrando ar y gweithiwr tlawd yn myned dros ei anghyfleusderau mawrion yntau, i fod â'i "ymarweddiad yn y nefoedd" yn nghanol terfysg anghen. Cyfrifir hyn oll yn anhawsderau gwirioneddol i ymarfer â Duw a rhyngu ei fodd, ac amlygir dymuniad am allu rhoddi heibio ofal am y pethau a welir, i ofalu am y pethau ni welir, yn lle edrych ar bob ymwneyd â'r byd yn ddysgyblaeth iachusol, anghenrheidiol i dduwioldeb. Soniant am dalu sylw i hawliau y ddau fyd fel rhyw anmhosiblrwydd glân yr hyn a wna fywyd yn galedwaith beichus, annyoddefol. Yr ydym yn coelio yn gryf nad yw y cariad na feddwl ddrwg yn gwarafun i ni briodoli hyn a'r cyffelyb, mewn lliaws o enghreifftiau, beth bynag am y nifer amlaf, i ymdrech anghyfreithlawn i dawelu a bygylu cydwybod euog yn cyhuddo; i ymesgusodiad cloff rhyfyg, neu anwybodaeth am esgeuluso dyledswydd; i ymddiffyniad hunandwyll, neu ragrith am ddiogi ac anffyddlondeb y dyn. Y mae gyda hyn yn anadlu ysbryd y clâsordŷ yn amlwg: "Mynachaeth wyt, a'th leferydd sydd debyg."

Ffrwyth yr un dyb neu deimlad mynachaidd ydoedd adeiladu "Tŷ Mawr" Trefecca gan' mlynedd yn ol, lle y cynnelir Athrofa y Methodistiaid yn y Deheudir yn bresennol. Canfuwyd y fynachyddiaeth yno gan lygad craff awen gyflym y bardd anfarwol o Bantycelyn, ac ni fu yn ol o gyfeirio wrth fyned heibio gyda sèn fwyn at hyn yn ei farwnad i'r diwygiwr enwog Howell Harris—y sylfaenydd. Heddwch i'w lwch! meddwn o waelod ein calon; ar yr un pryd, rhaid addef fod ei ymddygiad ef yn hyn o beth wedi ei wneyd yn agored i ddwyn y cyhuddiad yn ei erbyn yn eithaf teg,—

"Pam y treuliaist ti dy ddyddiau
  I wneuthur rhyw Fonachdŷ fawr,
Pan y tynodd Harri frenin
  Fwy na mil o rhai 'n i lawr?"

Trueni hefyd, onidê, na roddasai "yr hen Williams" well rheswm, pan yr oedd cyflawnder o rai llawer gwell wrth law i'w cael, yn erbyn y fath wall, na gwaith "Harri frenin yn tynu mwy na mil o'r rhai'n i lawr." Nis gallai ei bod mor dlawd arno am un. Paham, gan hyny, yn enw pob peth, y cymeradwyai hwn ei hun iddo yn flaenaf—un o'r rhai gwanaf a allasai ddwyn ymlaen yn sicr, oddieithr mewn gwawd? Ond y mae genym ormod o barch o lawer i'r Pêrganiedydd i gwympo allan âg ef o herwydd hyn, er ein bod wedi cael ein goddiweddyd yn ddiarwybod bron gan y brofedigaeth i feirniadu ychydig yn rhydd a diniwed fel hyn ar ei wrthddadl i waith Howell Harris yn cyfodi ei ysbyttŷ crefyddol.

Y mae yr oes hon ymhellach wedi gweled adgyfodiad Mynachaeth y tu allan i Eglwys Rhufain. Y mae, fe dybygid, wedi dyfod i mewn mewn mwy nag un ffurf i Eglwys Waddoledig ein *gwlad* ni. A rhaid ei olrhain i liaws o gyfundebau eraill. Y mae y bobl a elwir yn *Shakers*—ysgydwyr—a geir yn benaf yn yr Amerig, yn cael eu golygu yn urdd o Fynachod. A pha fodd y gellir yn amgen? Nid ydynt, mae yn wir, yn feudwyaid, gan na

thrigant ar wahân, ac wrthynt eu hunain; ond y maent yn frodorfäwyr yn byw ynghyd er cyfleusdra cyffredinol y naill y llall, yn darparu yn gyffredin gyferbyn â'u hanghenion, yn proffesu ymwrthodiad â'r byd, ynghyd a phroffesu gweddwdod, a chanddynt argaeau mawrion rhwng y rhywiau, a pheth sydd yn rhyfeddach, yn ymhoni i ddawn ysbrydoliaeth, os nad gwyrthiau. Yr ydys yn edrych arnynt yn sefydliadau mynachaidd, canys y mae prif deithi y dull yn perthyn iddynt. Myn rhywrai fod cryn dipyn o hono yn cael ei ddal ymhlith y Crynwyr hefyd, ac fe allai ei fod yn dangos ei hun mewn un wedd yn eu hamgylchiad hwy. Hyderwn na chaiff y darllenydd ergyd mawr—y daw i'w le yn bur fuan, beth bynag—wrth i ni draws-symud at Formoniaeth, i osod ar lawr fod hyny yn cael ei gyfrif yn enghraifft o'r un peth. Haerir fod ei drâs, mewn rhyw bethau o leiaf, yn ddigon canfyddadwy a dilys. Ac onid oes, erbyn meddwl, lawer iawn o debygolrwydd rhyngddynt? Ar yr un pryd, os ydyw yn rhydd i ni gyfaddef, prin y teimlwn arnom ein hunain roddi hyd yn nôd yr anrhydedd hwn i'r fath ysgymunbeth ffiaidd ac enaid-ddinystriol â Mormoniaeth. Rhaid, pa fodd bynag, tuag at i ni fod yn ffyddlawn i'r gwirionedd, cydnabod fod rhywbeth yn gyffredin mewn Mormoniaeth a Mynachaeth. A beth drachefn yn olaf yw y *Socialism*—y sefydliad, pe sefydlog hefyd, a bleidid yn Ffrainc, ac yn y deyrnas hon y blynyddau diweddaf—y ceisir ei sefydlu gan Robert Owen ac eraill,—onid Mynachaeth heb grefydd ydyw? Yr ydys wedi gweled Mynachaeth Baganaidd, a Mynachaeth Iuddewig, at ba un y cyfeiriwn yn ddiatreg bellach; a Mynachaeth Mahometanaidd,—y grefydd fwyaf anghyfeillgar o bosibl o *holl* grefyddau dyn gwareiddiedig i ffyniant Mynachaeth; ond er fod y Coran yn gwahardd Mynachaeth yn bendant, gwelodd y genedlaeth a ddododd Mahomet yn naear sanctaidd Medina sefydliadau Mynachaidd yn cyfodi ac yn lliosogi ar bob llaw. Yr ydys wedi gweled Mynachaeth y prif-dadau, Pabyddiaeth, a Phrotestaniaeth, ac ni a gawn weled o'r diwedd a ellir cael Mynachaeth Anffyddol.* Y mae yn beth ammheus iawn. Mae lle i ddrwgdybio y gweilch cyfrwysddrwg a melldigedig hyn o nemawr duedd i ddirwest mewn dim, yn neillduol o fewn cylch mwyniannau anianol!

Digoned y gosodiadau rhagarweiniol hyn, sydd wedi rhedeg yn feithach nag y bwriadem, ac nag y dymunem, i ddangos fod y mater dan sylw yn haeddu ystyriaeth ac ymchwiliad. Awn rhagom weithian yn fwy i fewn i'r peth ei hun—i roddi hanes tarddiad a gweithrediad Mynachaeth foreuol yn benaf.

Ffynasai Mynachaeth, mae yn debyg, er amser cyn côf, yn flaenorol i'r trydydd canrif, ac hyd yn nôd i'r cyfnod Cristionogol ei hunan, mewn cysylltiadau a ffurfiau eraill, ymhlith Iuddewon a Chenedloedd yn ddiwahân. Mewn trefn i'w urddasu â mwy o awdurdod ac edmygedd, mae y Pabyddion yn awyddus dros ben i'w dadogi, ac yn gwneyd hyny hefyd gyda'r pendantrwydd mwyaf, ond heb sail yn y byd, i Elias y Thesbiad—y prophwyd tanllyd, ond nid mynachaidd. Eithr y mae yn ddios ei wala nad oddiwrtho ef y trosglwyddwyd ef i'r eglwys Gristionogol, os rhoddodd ei siampl ef unrhyw gynhyrfiad i'r dull hwn o fyw ymhlith Cristionogion boreuol; yr hyn sydd ry anhawdd ei gadarnhâu â chysgod o brawf.

* Gwel *Bibliotheca Sacra, Vol.* I., tu dal. 321.

Dylanwadodd ei hanes, fe ymddengys, ar feddyliau ac ymddygiadau rhai o'r mynachod cyntaf, megys Sant Antwn, ond yn fath o gynllun yn hytrach pa fodd i arwain y bywyd mynachaidd yn fwy nag yn annogaeth i ymgymeryd âg ef. Daethai hyn yn barod o le arall. Yr oedd y Nazarëaid gwryw a benyw, yn siampl o henafiaeth mwy hybarch fyth, pa rai a ddesgrifir yn y chweched bennod o lyfr Numeri; ond ni pharhäi "eu hadduned hwy o ysgariad" ond yn unig am amser terfynol, gosodedig; ac ni thâl benthyca eu hamgylchiad hwy i roddi cadarnhâd i Fynachaeth, er fod hyn wedi cael ei wneuthur. Diau hefyd ei fod yn gymaint cyfeiliornad ag ydyw o gam i wneyd yr hwn a ddaeth yn ysbryd a nerth Elias ymhen oesau wedi'n yn rhagredegydd y Messïah, yn gyfrifol am ei hanfodiad. Rhaid cyfiawnhâu Ioan Fedyddiwr o fod â mwy o law ynddo nag oedd gan Herod. Y mae ei genedliad a'i achau, erbyn hyn, i'w holrhain yn rhy hawdd a phenderfynol, ond gwneyd hyny yn ddiragfarn, i roddi lle i adgyrchu at ddim mor dywyll ac ansicr â'r honiadau hyn a'u cyffelyb.

Dylid ymhob modd goffhâu yn y fan yma am yr Esseniaid. Y mae pob un cyfarwydd i ryw fesur â llênyddiaeth y Testament Newydd, ynghyd a'i hanesiaeth gyfoesol, yn gwybod am eu henw. Hwy a elwir fynychaf, ond yn eithaf anghywir, yn drydedd neu bedwaredd plaid grefyddol Iuddewig yn nyddiau cnawd ein Gwaredwr bendigaid. Y mae rhyw rai wedi ceisio gwneyd Ioan Fedyddiwr yn un o honynt—wedi dychymygu ei fod, beth bynag. Y mae, bid a fyno, yn oleu a sicr ddigon mai mynachod Iuddewig oeddynt. Cyfodasant i fyny, fel y Phariseaid a'r Saduceaid, pan oedd y wladwriaeth Iuddewig yn y darfodedigaeth, ar ol y caethiwed Babilonaidd. Sylfaenasant frodoriaeth, a daethant yr esiampl foreuaf, er nad yn rhieni gweithredol, yr hil byngol o feudwyaid, mynachod, a lleianod sydd wedi bod o'r pryd hwnw hyd yn bresennol. Yr oeddynt yn ymattalwyr. Ymgadwent rhag pleserau cyffredin fel pethau drwg. Dirmygent briodas. Diystyrent gyfoeth. Yr oedd pobpeth ganddynt yn gyffredin. Yr oedd y Sabbath yn ddiwrnod cysegredig iawn yn eu golwg; cadwent ef gyda pharch a manylrwydd mawr. Arweinient fywyd o hunanymwadiad a dyhewyd oedd ymhell o fod yn annaturiol, os yw yr oll a ddywedir gan Josephus yn eu cylch i'w gredu. Gosodent bwys mawr ar olchiadau crefyddol. Haerir yn gryf fod tir boddlonol i gasglu mai cangen o honynt hwy, neu rai beth bynag yn sefyll mewn perthynas agos iawn â hwy, ydoedd yr Iuddewon hyny yn yr Aipht; ond yn ol rhai, dosbarth o athronwyr cenedlig oeddynt, y rhai yr oedd eu celloedd yn wasgaredig yn nghymydogaeth llyn Mareotis, yn un o eneuau y Nilus, ddim yn nebpell o Alexandria, y rhai a elwid wrth yr enw Therapentæ—gair yn arwyddo gwasanaethu, maethu, meddyginiaethu, o herwydd yr ymhonent eu bod yn iachâu, nid clefydau y corff, ond eiddo yr enaid, a hyny trwy ymneillduedd, dirwest, myfyrdod duwiol, a gweddi. Yr oedd yn eu plith ddynion rhagorol, meddir. Gogwyddai Philo, yr Iuddew dysgedig, cyfriniol, yn fawr atynt, os nad oedd yn un o honynt. Y mae hefyd wedi ysgrifenu eu hanes, neu draethawd arnynt.

Y mae ymhellach yn hysbys fod llïaws o gymdeithasau eraill o gyffelyb natur yn hanfodi yn y parthau hyny, ynghyd âg mewn gwledydd eraill yn y gorllewin yn gystal a'r dwyrain, cyn ac wedi yr adeg y cyfeiriwn ati. Ac oddiar y wybodaeth sydd ar gael ynghylch Derwyddiaeth, bernir yn gryf, a haerir yn hyf, fod peth cyffelyb ar droed ac mewn bri ymysg hen-

afiaid eiu cenedl ni yn yr ynys hon oddeutu dwy fil o flynyddau yn ol.*

Yr Aipht, rhaid credu, yw gwlad enedigol mynachaeth Cristionogol; ond tueddir ni i edrych i gwr arall o hono, ac i ddylanwad athroniaeth arall, am ei dechreuad. "Gwyddys yn burion," medd Isaac Taylor,† "fod anghyfanneddleoedd llosgedig yr Aipht Uchaf, ac arguddfëydd ysgythrog Nubia, yn fwy deheuol fyth, wedi cael eu preswylio am oesau dros ben côf gan eppil o ddoethwyr ogofäol, y rhai y darfu i'w holynwyr twylledig, y mynachod Cristionogol boreuaf, eu dynwared mor wasaidd, glynu wrth yr un dulliau o fyw, a dal yr un egwyddorion dansoddol yn union, ond yn gwahaniaethu ychydig o anghenrheidrwydd yn eu hiaith,—y mynachod Cristionogol, bid sicr, yn defnyddio ymadroddion wedi eu benthyca o eiryddiaeth yr efengyl; ac yn yr amgylchiad o'u bod mewn cynghrair â'r eglwys, yr oedd yr eglwys o'i thu hithau yn eu cydnabod fel ei meibion enwocaf a mwyaf ymroddedig, ac yn eu gwneyd yn wrthddrychau ei mawrygiad difesur." India, er hyny, oedd cryd Mynachaeth; yno y ganwyd ac y magwyd ef, a Bwdhw oedd tad ei athrawiaethau; eithr yr ydys wedi cael allan i foddlonrwydd ei fod wedi cymeryd a chael rhywbeth o Frahminiaeth yn gystal. Mewn gair, cydferwad, cydgymysgiad, a chydymuniad Brahminiaeth a Bwdhaeth, dwy grefydd fawr esgynol India y Dwyrain, a dwy grefydd naturiol—*dwy ran* crefydd naturiol, dyn ydoedd; ac megys yr arferai yr holl fyd Cristionogol am lawer o ganrifoedd edrych i'r Aipht am ei gynlluniau gwychaf o ddansoddiant a marweiddiad sanctaidd, felly cyfeirient hwythau yno i lànau y Ganges a'r Indus am ffynnonellau eu hathrawiaeth a'u hymarferiad.

Mae rhyw gymaint ar gôf a chadw, wedi ei drosglwyddo i waered yn ddiogel i ni, o hysbysiadau damweiniol gan ysgrifenwyr henafol, a chan amryw o'r Tadau, yn enwedig Clement o Alexandria ac Awstin, o athroniaeth ac arferion y *Gymnosophists*, noethddoethion India a'r Aipht; ac ymddengys eu bod yn llawn ddigon i'n cynnorthwyo i ganfod a phenderfynu mai yr un ydoedd y sefydliad dirwestol Bwdhaidd gynt, a'r un Cristionogol mwy diweddar, gyda yr eithriad unigol o'r hyn yr ydym wedi ei grybwyll yn flaenorol Byddai proffeswyr yr athroniaeth ddwyfol hon yn myned agos yn noethlymyn, yn debyg i'w dynwaredwyr Cristionogol; llechent a thrigent mewn ogofdai, a chelloedd, a ffauau yn y creigiau; llwyrymgadwent oddiwrth gnawd anifeiliaid—pob cig yn ymborth, ac ni fwytäent fawr ddim arall. Yr oedd hyny y cyfranogent o hono yn gynnwysedig o fwydlys, dail, grawn, a ffrwythau coedydd hygyrch. Proffesent weddwdod dihalog; ymbenydient gyda gerwindeb didawdd a diarbed. Treulient y rhan fwyaf o'u hamser mewn myfyrdod mud. Rhwyment eu dysgyblion i ddystawrwydd caeth, ac arosodent ymddarostyngiad ac ufudd-dod hollol. Dalient yr athrawiaeth o berffeithrwydd y natur ddynol, a haerent ei fod yn gynnwysedig mewn, ac yn gyrhaeddadwy trwy, ddifodiad pob nwydau anifeilaidd a meddyliol. Dïwreiddiad pob serchiadau planedig gan natur ynom—ymattaliad, hunanfeistrolaeth hunanleiddiol, oedd gyda hwy yn unig bwynt doethineb a rhinwedd, ac adlynciad i fyny yr enaid dynol yn eigion y meddwl Dwyfol oedd i fod yn ddiwedd dedwydd i'r pur a'r doeth ar y drefn

* Gwel hanes Sharon Turner o'r Derwyddon, yn ei *History of England.* † *Ancient Christianity, Vol. I.,* tu dal. 314.

bresennol ar bethau. Dyma yw cyfriniolaeth yn ei gwedd mwyaf noeth ac anfdunol ar unwaith, a dyma ydoedd enaid Mynachaeth gyntefig.

"Yn awr," medd Isaac Taylor,* dan dywysiad yr hwn yn benaf yr ydym wedi gosod ein hunain wrth deithio y tiroedd dyeithr a disathr hyn, a pheryglus hefyd, mwy na pheidio, "y mae pob rheswm, dybygid, yn dywedyd, os daw y cyfryw gyfundraeth o ddysg ac ymarferiad â hyn i gyffyrddiad â Christionogaeth oll, fel ag i ddyfod o dan ei dylanwad grymus, rhaid iddi dderbyn dullweddiad helaeth; eithr nid felly y bu mewn gweithred a gwirionedd; ychydig ymadroddion a phriodiaith, neu *slang* arall wedi ei mabwysiadu, sydd yn gwneyd yr holl wahaniaeth ymron a wasanaetha i wahaniaethu y noethddoethion henafol oddiwrth feudwyaid Cristionogaeth yr oes Niceaidd." Nid oes dim diffyg defnyddiau yn ysgrifeniadau y Tadau a haneswyr eglwysig y cyfnod tuag at sefydlu hyn; nid oes odid un peth y maent yn ddangos a phrofi yn fwy cyflawn a dilys nag unoldeb perffaith yr hen fynachdod Paganaidd a'r un diweddarach Cristionogol. Y mae rhai o honynt yn rhoddi i ni adroddiadau manwl o'r bywyd seraphaidd, fel y galwent ef, a llefarent oll am dano mewn geiriau o ryfeddiad ac edmygedd.

Byddai y rhai mwyaf llym a gwrol o'r meudwyiad Cristionogol yn hebgor pob dillad, oddigerth rhyw gwrlid, rhŵg, neu ychydig o ddail y balmwydden o amgylch y llwynau. Ymgadwai y rhan fwyaf o honynt rhag defnyddio dwfr i ymolchi; nid arferent ychwaith olchi neu newid y gwisgoedd a ddodent unwaith am danynt; felly y cymunroddodd Sant Antwn i Athanasius groen yn yr hwn yr amdöesid ei berson sanctaidd am hanner can' mlynedd. Gadawent hefyd i'w gwallt, barfau, ac ewinedd dyfu, ac aent weithiau mor flewog fel y camgymerid hwy yn weithredol am eirth a *hyænas*. Ni raid dyweyd fod gweddwdod yn ddeddf flaenaf y sefydliad hwn, a dirwest o'r fath lymaf ei ail ddeddf. Llawer o honynt wedi crafu celloedd culion yn agenau creigiau serth, a gauasant arnynt eu hunain i fewn, gan adael agoriad bychan yn unig, pan yr ymddibynent yn gyfangwbl ar ddyhewyd eu dysgyblion a'u hedmygwyr am ddyfod â'r hyn a gyflenwai eu hanghenion beunyddiol. Dywedir yn gadarnhäol am lawer o honynt, na fu yr un gair rhyngddynt âg un dyn am ddeng mlynedd a deugain. Nychai rhai eu hunain âg arteithiau a gweliau gwastadol.

"Nid oes dim yn fwy undôn," fel y sylwa yr un ysgrifenydd galluog,† "nag ystori y bywyd mynachaidd, pa un bynag ai Paganaidd, Cristionogol, ai Mahometanaidd. Y mae yr hudlewyn hwn o eiddo y ffos-wastadtiroedd eglwysig, ymha hinsawdd bynag y ceir ef, neu pa un a edrychwu am dano yn ein hamseroedd ein hunain, yn y canoloesau, neu yn yr oes Niceaidd, neu yn nghyfnodau mwyaf pellenig hanesyddiaeth, yn dangos yr un teithi ac agweddau, a'r un wawr. Yn gyffelyb i'r rhesi hirion o lunian a addurnant fynedfëydd teml Aiphtaidd—y mae o ben bwygilydd yr un gwisgiad, un drèm, un dull o ystumiau, un llawr trymaidd, ac un neu ddau o liwiau llymrig. Y mae yn beth syn gweled nad ydyw yr amrywiaeth mwyaf mewn golygiadau crefyddol, neu y gwahaniaeth helaethaf mewn hinsawdd gwlad a nodwedd cenedlaethol, wedi dullweddu yr hen rywogaeth hyn o orphwylldod ond i radd fechan. Trwy gydol treigliad tair mil o

* *Ancient Christianity, Vol. I.*, tu dal. 315. † *Ancient Christianity, Vol. I.*, tu dal. 314.

flynyddau o leiaf, y mae egwyddorion, amcan, arferion, ac hyd yn nod nodweddion gweledig a manwl yr ymwadwyr, pa un bynag ai unigol ai brodorfäol, wedi parhâu agos yr un, neu wedi amrywio yn unig fel y gall blodeuyn yn y llysieudy wahaniaethu oddiwrth yr un rhyw fyddo allan yn y cae. Fel hyn yn union, mewn gwirionedd, y mae Mynachaeth Niceaidd i'w wahaniaethu oddiwrth hwnw o eiddo y noethddoethion Nubiaidd, a Brahminiaeth India, yn y cynoesoedd pellaf. Fe allai i ardymher uchel a chlôs yr eglwys ddwyn allan liwiau cyfoethocach, a mwy o ddail, a'r un modd weithiau—gallwn ganiatâu—well ffrwyth; ond yr un oedd y planigyn o hyd. Achlysurwyd cythrudd y cenadau Pabaidd wrth sylwi ar Bwdhaeth, gwrthran eu cyfundraeth glwyslywiol a mynachaidd, o herwydd tebygolrwydd mawr, neu yn hytrach unrhywdeb pob sefydliadau sylfaenedig ar yr egwyddor fonachaidd. 'Y mae y diafol,' ebent hwy, 'wedi bod ar waith yma, yn mocian yr eglwys yn genfigenus, i'n gofidio ni yn neillduol.' Buasai y dynion da a zelog hyn wedi cadw yn nês i'w lle ar unwaith, gyda golwg ar wirionedd hanesyddol a duwinyddol, wrth ddyweyd mai yr hyn a wnaethai y gwrthwynebwr cyfrwys mewn gwirionedd ydoedd gosod yr eglwys i focian y lledrithiau Paganaidd hyn."

Y mae yn rhy anhawdd genym ymwadu â'r pleser o gyfieithu ac adysgrifenu y darn canlynol o waith yr un awdwr enwog:*—

"Dywedir fod gwallgofiaid yn ddideimlad o gyfnewidiadau yr ardymheredd (*temperature*), o herwydd fod y meddwl, wedi iddo ddyfod unwaith o dan ormes rhyw un *idea*, neu ddosbarth unigol o argraffiadau, yn colli ymwybyddiaeth o beth bynag a allai ei dynu ymaith. Yr un yw gwres mwll ag eithafion rhew caled i'r gorphwyllog; ac fel hyn hefyd y mae yn ffaith hynod nad aethpwyd heibio i fynachyddiaeth y Dwyrain mewn dirmyg o eithafion gwres ac oerfel, gan feudwyaid fforestydd rhewllyd (y pryd hwnw) Germani a Ffrainc; pa rai ni roddent i fyny yr un pwynt o'u dysgyblaeth fenthyciedig o Syria a'r Aipht, yn ystod gerwindeb eithaf gauaf gogleddol. A ddylid edrych ar y gwroldeb hwn yn wadalwch hynaws dewrder Cristionogol, ynte yn ddideimladrwydd haiarnaidd lloerigrwydd?"

Ond i ddychwelyd. Yr Aipht, mae yn debyg, ydoedd canolbwynt mynachaeth foreuol,—yno ei cawn yn ei osgo fwyaf arswydus; tuag yno, gan hyny, y rhaid i ninnau droi ein golwg eto, i'w weled yn ei ddadenhuddiad cyntaf a helaethaf mewn cysylltiad â Christionogaeth. Ffynodd, mae yn wir, a hyny yn fuan a chyflym iawn, yn yr eglwys mewn gwledydd eraill, fel yr ydym eisoes wedi nodi; eithr ymddengys y bywyd meudwyaidd a mynachaidd mewn gwedd wedi ei liniaru rywfaint yn Syria, Arabia, ac yn mharthau mynyddig Asia Leiaf, yn enwedig yn Pisidia a Chappadocia. Adeiladai yr ymddeolwyr gutiau neu fythynod cyfleus a chysurus mewn cymhariaeth, yn yr ardaloedd canol, ac ar ucheldiroedd y mynyddoedd; a dewisent yn fynych, fel Basil, y glwysfäoedd hyfrytaf i drigo ynddynt. Y mae yr athraw eglwysig hwn yn ŵynfydwr trwyadl gyda golwg ar fywyd mynachaidd. Paentia ef yn y lliwiau cryfaf. Dywedir fod ei lythyrau at Nazianzen yn abl denu unrhyw ddarllenydd a feddai grebwyll i'r anialwch, pe gallai yn wir gael y fath anialwch ag a ddesgrifia yr areithydd hyawdl yn ei lythyr at ei gyfaill.† Caniatäent gymaint yn union o esmwythâd ar y ddysgyblaeth ag a allai wneyd y dull hwn o fyw i beidio bod yn hollol ddiswyn i'r rhai hyny, pa rai wrth ei gofleidio,

* *Ancient Christianity*, Cyf. I., tu dal 314. † *Ancient Christianity*, Cyf. I., tu dal. 317.

a adawent ar ol bryderon dirboenol, camwri, ac amddifadrwydd bywyd cyffredin.

Ailadroddwn y sylw, nad yw yn hawdd, os gellir oll, gael allan yn fanwl pa pryd y newidiodd yr anialdir ei ddeiliaid Paganaidd am ei rai Cristionogol; ac nid yw hyn ychwaith o nemawr bwys. Mewn rhai enghreifftiau, yn ddiau, ymlithrodd y naill i'r llall yn raddol a thra naturiol, fel y darfu i'r un dynion ag a ddechreuasant eu gyrfa yn noethddoethion Paganaidd gael eu hunain wedi eu troi yn feudwyaid Cristionogol, a therfynu eu hoes yn gyfryw. Mewn amgylchiadau eraill, cymerwyd meddiant o gelloedd neu ogofdai gweigion yr athronydd anwar, gan rai wedi derbyn rhyw wybodaeth o'r efengyl, y rhai a giliasent allan o'r byd, ac a ymroisent i'r "bywyd angelaidd," fel y dynodid ef gan ei fawrygwyr penboeth. Fel hyn daeth diffeithleoedd anial i heidio o ymddeolwyr. Yr oedd yr anialdir y tu dwyreiniol i'r Nilus, yn gyfagos i ddinas Thebes—"No" yr Ysgrythyr—yn enwedig yn dryfrith o fynachod. Ond addefir yn rhwydd gan y rhai mwyaf cyfarwydd âg ansawdd yr amserau hyny, nad ellir, ac na ddylid, derbyn tystiolaethau penrhydd a gorhelaeth yr hen ysgrifenwyr eglwysig a ddywedant am ëangder a llewyrch y gyfundraeth a ddyrchafent mor uchel. Y mae hyn yn rhwystr i gael allan i foddlonrwydd, hyd yn nod mewn llwybr cyffredin, pa faint a allai fod nifer meudwyaid a mynachod y gwahanol wledydd. Amrywiai y nifer hefyd yn ddiammheu o flwyddyn i flwyddyn, yn ol llwyddiant cyfnewidiol Cristionogaeth. Yr oedd clod gwroniaid meudwyol hefyd yn cael effaith fawr i ychwanegu nifer llwyrymwrthodwyr ymneillduedig. Rhaid fod i hyn ei lanw a'i drai, yn ymddibynu ar wahanol amgylchiadau. Ond ni lwyddodd gymaint, dybygid, yn yr eglwys orllewinol, yn enwedig ar y dechreu, nac am hir amser, er na fu y Babaeth ddim yn ol o'i bleidio yn ffyddlawn. Eithr nid allai, wedi y cwbl, ymffrostio yn y fath heidiau llïosog. Priodolir hyn, mewn rhan fawr, i wahanol deithi cenedlaethol y meddwl Asiaidd ac Ewropeaidd; canys y mae yn ffaith amlwg a diammheuol fod yr olaf yn fwy ymarferol a gweithgar, tra y mae y blaenaf yn fwy swrth, dioglyd, a brydsyllgar, ac felly yn fwy tueddol i Fynachaeth, ac yn ei lochi yn fwy naturiol. Llwyddodd, serch hyny, yn gyffredinol yn eglwys y gorllewin mewn amser, a hyny heb fod yn hir iawn hefyd. Treiddiodd trwy yr holl Eglwys Gatholig. Yn y wisg hon, yn wir, y cafodd rhai cenedloedd a gwledydd, yn enwedig y rhai mwyaf pellenig oddiwrth lànau Môr y Canoldir, a thu hwnt i derfynau yr ymherodraeth Rhufeinig, wybodaeth o'r efengyl. Y mae ailddychweliad Brydain, y genadaeth i hyny beth bynag gan Awstin Fynach, o dan gyfarwyddyd a nawdd Gregory y Cyntaf, yn dwyn y nodau hyn. Gellid yn hawdd ddwyn ymlaen amryw enghreifftiau eraill cyffelyb.

Yr ydys yn craffu ein bod yn son am ymddeolwyr ymwrthodol unig, ac am fynachod brodorfäol. Ymgymerai mynachaeth foreuol â'r ddwy wedd wahanol hyn, ac ymddangosai ynddynt ar yr un pryd. Ar y cyntaf, yn feudwyaid dirwestol y ceid y mynachod Cristionogol, fel y mae yr enw mynach yn ein iaith ni yn arwyddo—oddiwrth mwn, gwreiddyn syml, yn arwyddocâu corff neillduedig, ar wahân; ac felly y gair *monachos* a ddefnyddir i'w ddynodi yn yr iaith Roeg—iaith llènyddiaeth eglwysig y tymmor—oddiwrth *monos*, unig, a *monazein*, byw wrtho ei hun; o herwydd nid yn unig eu bod wedi ymneillduo allan o'r byd, ond o herwydd eu bod yn byw wrthynt eu hunain. Ystyr briodol wreiddiol y gair *monachos*,

meddir, yw *unig o hyn,* eithr arferir ef fel yn gyfystyr â'r geiriau eraill, *anachoret* neu *anchoret*—un wedi ymneillduo o gymdeithas, wedi ei gau i fyny,—dyma yr enw a roddir fynychaf i'r ymddeolwyr unigol, yn enwedig y rhai mwyaf llym o honynt,—cymhwysir ef yn neillduol at Stylites a'i ganlynwyr; ac *eremite* neu *hermit*—hyny yw, un yn trigo mewn anialwch neu unigedd—y meudwy, onidê? a ddefnyddir am y bywyd mynachaidd yn ei wahanol ffurfiau. Ar y dechreu, arferai yr ymattalwyr *(ascetics)* fyw wrthynt eu hunain, pob un yn ol ei duedd, heb unrhyw ffurf benodol o undeb, o fewn amgylchoedd yr eglwys y perthynent iddi. Yn yr Aipht, yr oedd yn beth arferol iddynt ymsefydlu ar eu penau eu hunain yn y wlad, heb fod yn nebpell o ryw bentref; mewn rhai amgylchiadau, cynnalient eu hunain trwy lafur eu dwylaw, a rhoddent yr hyn a fyddai dros ben i ddybenion eluseugar; mewn amgylchiadau eraill, cynnelid hwynt. Sant Antwn oedd sylfaenydd y dull hwn o fyw, er nad efe, ond un Paul, oedd y meudwy cyntaf, yn ol tystiolaeth traddodiad. Eithr yr oedd hwnw yn anadnabyddus, a pharhausai felly i'r byd Cristionogol, oni buasai dylanwad Antwn, ac ni chawsai ganlynwyr. Oddiwrth Antwn, yn fwy na neb arall, yr ymdaenodd mynachaeth, yr hwn a anwyd oddeutu canol y trydydd canrif yn yr Aipht Uchaf. Ond rhaid i ni adael ei gwmni ef ar hyn o bryd, gan ddysgwyl cael treulio "oriau" gydag ef, a rhai o'i frodyr a'i ganlynwyr mwyaf enwog, pan gawn hamdden eto.

Rhoddwyd y dull hwn o fyw heibio, heb fod yn hir, am un arall mwy cymdeithasol. Tynodd ymddeolwyr ynghyd at eu gilydd i'r un lle ymhen tro, ac ymffurfiasant o dipyn i beth yn deuluoedd, neu gymdeithasau yn hytrach. Gelwid y rhai hyn yn *cœnobites*—brodorfäwyr. Pachomius, dysgybl Antwn, ydoedd sylfaenydd y bywyd clasorawl neu fynachlogaidd, er na cheir galw mynachlogydd neu wyryfdai arnynt eto, canys nid oeddynt yn gyfryw yn ol ystyr ddiweddar y geiriau hyn; ni pherthynai y fath beth yn briodol ychwaith i'r canrifoedd cyntaf. Dygai hyn y mynachod i gysylltiad â'u gilydd, a rhoddai wedd mwy trefnus ar yr holl fywyd mynachaidd. Gwnaeth hyn ef yn gyfundraeth. Yn nechreu y pedwerydd canrif y gwnaed hyn, ac mewn canlyniad i weledigaeth, os credwn y ffugchwedl, yr ymosododd ar hyn. Beth pe talem ymweliad âg un o'r lleoedd hynod hyn, i'w edrych yn fanylach a helaethach, i weled pa fath rai oeddynt, yn fwy arbenig gan fod eu hadfeiliau heddyw yn tynu lliaws o deithwyr i syllu arnynt?

Dacw un, yn Tabennœ, ynys yn y Nilus, yn yr Aipht Uchaf, rhwng rhandiroedd Tenthyra a Thebes, y cyntaf mae yn bosibl a sylfaenwyd gan Pachomius, pa un, yn ystod ei fywyd ef ei hun, a gynnwysai dair mil, ac wedi hyny saith mil o aelodau; ac felly aeth ymlaen gan gynnyddu, hyd nes y gallai, yn hanner cyntaf y bummed ganrif, gyfrif deng mil a deugain o fewn ei rheolaeth. Yr oedd yr holl gorff o fynachod yma o dan lywiaeth Pachomius; a pharhäodd ei olynwyr, abadau y clasordŷ, ymha un y dechreuodd y sefydliad, i fod yn benau yr holl drefniant. Mabwysiadwyd y gyffelyb reol gan gynnulleidfäoedd ac urddau diweddarach o fynachod. Efe ydoedd penawr yr holl *cœnobion*—brodorfa, abad, neu benfynach cyffredin (abad, fel y gwyddys yn lled gyffredin, yw y gair Hebraeg a Syriaeg am dad), neu fel y gelwid ef yn y Groeg *archimandrite—archi,* prif, a *mandra,* corlan neu braidd; ac ar dymmorau penodol efe a ymwelai â'r gwahanol glasordai. Dosberthid yr holl gymdeithas fynachaidd, yn ol yr

amrywiol raddau yr oedd yr aelodau wedi gyrhaedd yn y bywyd ysbrydol, i wahanol glasau, pedwar ar hugain i gyd, yn ol rhif llythyrenau yr egwyddor; ac yr oedd gan bob un o'r dosbarthiadau hyn ei swyddog arlywyddol ei hun, a rhoddid i bob un hefyd ei orchwylion neillduol. Dilynent alwedigaethau arferol y bywyd mynachaidd; cyflawnai pob un ryw orchwyl neu gilydd, er mwyn ymarferiad, yn gystal ag er cynnaliaeth cyffredin,—megys gwau basgedau o hesg neu frwyn yr afon Nilus, gwneuthur matiau neu gloriau, heb esgeuluso mathau eraill o gelfyddydau, megys amaethyddiaeth ac adeiladu llongau. Yr oedd pob mynachlog, erbyn diwedd y pedwerydd canrif, yn meddu llestr o'i heiddo ei hun, wedi ei hadeiladu gan y mynachod eu hunain. Cafodd un Palladius, yr hwn a ymwelodd â chlasordai yr Aipht oddeutu yr amser hwn, yn nghlasrawd Panopolis, pa un a berthynai i'r cymdeithasiad hwn o fynachod, ac a gynnwysai o'i fewn dri chant o aelodau—bymtheg gwnïedydd, saith gôf, pedwar saer coed, deuddeg o yrwyr camelod, a phymtheg o farceriaid. Yr oedd gan bob clasordŷ ei oruchwyliwr, yr hwn a ddarparai gyferbyn âg anghenion corfforol yr oll, ac yn ngofal yr hwn y dodid yr offer a wnaethid pan orphenid hwynt; a gosodid yr holl oruchwylwyr hyn o dan oruchwyliwr cyffredinol yr holl undeb, yr hwn yr oedd ei orsaf yn y prif glasordŷ. Yn ei law ef yr oedd y drysorfa gyffredin; efe a arolygai yr hyn a dderbynid i mewn ac a delid allan gan yr holl frodorfa; iddo ef y rhoddid drosodd holl gynnyrchion llafur mynachaidd. Danfonai hwynt mewn llong i Alexandria, lle y gwerthid hwynt i gael modd i brynu y cyfryw bethau ag a ofynai y clasordai am danynt; a rhenid beth bynag fyddai yn ngweddill rhwng tlodion, rhai afiach a methianllyd y wlad boblog a thlawd oddiamgylch. Danfonid cyfran hefyd i'r carcharau. Gwnaent eu cyfrifon i fyny ddwywaith yn y flwyddyn. Ar ŵyl y Pasc, ac yn mis Mesori, oddeutu tymmor ein Hawst ni, cyfarfyddai holl benogiaid y clasdai unigol yn y prif glasordŷ ynghyd. Yn y cyfarfod olaf, dygent i mewn adroddiadau o weinyddiad eu swydd, a dadgenid gymmodlonedd pawb â Duw ac â'u gilydd. Sylfaenodd Pachomius hefyd, rhaid cofio, glasordai o wyryfon oddeutu yr un amser, pa rai a dderbynient foddion cynnaliaeth o glasordai y mynachod. Yn lled ddidrefn, er hyny, y daeth y sefydliadau hyn i'w cyflwr cyfluniedig; a pharhausant hyd gyfnod diweddarach yn agored i gryn afreolaeth.

Yr oedd er y cwbl, rhaid addef, fanteision o bwys ynglŷn â'r sefydliadau hyn yn cael eu cynnyg i'r sawl a ymwrthodai â helyntion a pherthynasau bywyd cyffredin. Yr oedd y gymdeithas—y frawdoliaeth neu chwaeroliaeth—gynnulledig fel hyn o dan un tô, yn cael ei darostwng yn gyfleus i ymweliadau yr offeiriaid, ac yn dyfod o dan awdurdod uniongyrchol yr esgob. Y mae cyfiawnder yn galw am ddywedyd hefyd fod trefn gwasanaeth crefyddol yn cael ei ddwyn ymlaen yn fwy effeithiol, a rheolau y bywyd mynachaidd yn cael eu dirgymhell yn well, o fewn y lleoedd cauedig hyn. Yr oedd y llafur corfforol hefyd oedd yn rhan bwysig o'r gyfundraeth yn y cyfryw dai, yn wasanaethgar iawn ar amryw gyfrifon ac i amryw ddybenion.

Hynodid y mynachlogydd gan lettygarwch a haelioni i'r tlawd a theithwyr, fel y crybwyllasom yn flaenorol. Darparai clasordai yr Aipht foddion cynnaliaeth i randiroedd anffrwythlawn Lybia; danfonent, fel y gwelsom, longau yn llwythog o rawn a dillad i Alexandria i'w rhanu ymhlith y tlodion. Yn nghlasordai Mynydd Nitria yr oedd saith pobtŷ, lle y darperid

bara i ymddeolwyr unig y diffaethwch cyfagos. Adroddir hefyd am ryw abad a henuriad o'r enw Scrapion, o dan gyfarwyddiad yr hwn yr oedd llawer o glasordai, a deng mil o fynachod, y rhai ar y cynauaf yn rhandir Arsinœ a gyfranent yn flynyddol y fath gyflawnder o rawn, fel nad oedd nid yn unig yr un dyn tlawd trwy yr holl wlad yn dyoddef anghen, ond fod yn ei allu gynnal tlodion Alexandria hefyd. Derbynid teithwyr yma yn roesawgar, ac ymgeleddid hwy yn gysurus; yn nghanol y gweddïau, a chanu salmau ysbrydol, ynghyd a'r lluniaeth a geid, adfywid hwy mewn corff ac enaid. Ymddengys na rwystrid y mynachod hyn gan unrhyw ammheuon dirwestol, er eu bod yn ddirwestwyr mawrion eu hunain, rhag darparu gwin i adloni y sawl a geisient letty gyda hwy. Cai pob dyeithrddyn drigo gyda hwy cyhyd ag y mynent; ond os arosent yn hŵy nag wythnos, ni adawent iddynt fod yn segur, eithr gofynent ganddynt naill ai ymuno â hwy i weithio â dwylaw, neu gymeryd llyfr a darllen. Eithaf da, onidê? Yr oedd y mynachlogydd heblaw hyn oll, rhaid cofio, yn sefydliadau addysgiadol, a hynodid hwy fel y cyfryw ar gyfrif y gofal a gymerid gyda gwrteithiad crefyddol a moesol, oblegid yr oedd addysg yn gyffredinol yn yn y tymmor hwn, fel y gellir casglu oddiwrth gwynfanau Chrysostom ac eraill, wedi syrthio i esgeulusdra.

Ni dderbynid neb i'r cymdeithasau hyn ar unwaith, eithr gofynid amryw gwestiynau i bwy bynag a geisiai aelodaeth; megys, yn gyntaf, a ydoedd wedi cyflawni drwgweithred, ac ai i gael lloches rhag cosb wladol y ceisiai le ymysg y mynachod; a ydoedd yn feistr arno ei hun, fel y gallai gymeryd y cam hwn yn ddiogel; ac a ystyriai efe ei hun yn alluog i ymwrthod â'i gyfoeth, a phob peth a alwai yn eiddo ei hun. Yr oedd yn rhaid iddo, yn y lle nesaf, ymostwng i dymmor o brawf, cyn y gellid eidderbyn i blith y mynachod rheolaidd. Yr oedd hyn yn debyg i arferiad foreuach yr Esseniaid. Mabwysiedid ef ar ei ymrwymiad neu adduned i fyw yn ol y rheolau mynachaidd. Ymgymerodd llawer hollol anghymhwys er hyny â'r bywyd mynachaidd—rhai nas gallent ddyoddef unigrwydd, na myned trwy arferion y clasordŷ. Yr oedd ymneillduedd y mynach, ynghyd a gormodedd llwyrymwrthodiad, yn drech na hwy. Daethant i gael eu hymlid gan feddyliau poenus, wrth wneyd y fath drais ar natur, fel yr aethant yn wallgof. Cyflawnodd rhai hunanladdiad dan amgylchiadau torcalonus i'r eithaf. Yr oedd hyn yn ddygwyddiad lled gyffredin, meddir. Cyfarfyddai yr eithafion mwyaf yma. Rhai yn myned mor bell yn eu dirwest, gan gosbi eu hunain, nes yr aethant i ddychymygu eu bod wedi cyrhaedd perffeithrwydd, ag y gallent bellach wneyd heb foddion o ras, y rhai oedd yn rhaid, yn wir, i gristionogion gwanach wrthynt; ac aethant mor bell ag i ddychymygu eu bod yn cael eu hanrhydeddu â gweledigaethau neillduol, nes o'r diwedd y syrthiasant i afael gorphwylldod hollol. Eraill a roisant eu hunain i fyny i bob mwythfoddhâd cnawdol; a daeth y clasordai yn ysgarthffosydd o bob drygioni, yn ngafael balchder gwylltgrefyddol a chyfeiliornus Mynachaeth.

Rhag ofn fod amynedd ambell i ddarllenydd yn dechreu pallu, rhoddwn heibio ein hysgrifell am y tro presennol, heb ymhelaethu ychwaneg ar ragoriaethau cymharol Mynachaeth feudwyaidd a Mynachaeth frodorfäol; na rhoddi dim o hanes y Sarabitiaid—y mynachod crwydrol na chwympent i mewn â rheolau y clasordai, fel y gwnaeth y rhan amlaf o'r mynachod unigol wedi eu cyfodiad, fel tlodion a chardotwyr ein gwlad ni, nad änt i

*"Gwelsom ei seren ef yn y dwyrain."*

Cenad têr yn uchder nen
Rhoddes Ior arwydd seren.
Dŷg "y doethion," deg deithiau,
Liw nos gan ymlawenâu,

Hyd y man caed Brawd i minnau,—y man
Bu Dymuniad oesau
Yn ddyn bach mewn cadachau—gan forwyn
Ar fonwes addwyn heb eirf na seddau,
Heb roesaw yn ei breseb
Na dôr yn agor gan neb.

Duw yn y cnawd, ein cân yw,—a'r prifnod
Yn nghlod yr angel ydyw.

Bu dorau y byd arall,
Eilfyd y bywyd diball,
O ogoniant
I wir lwyddiant
Yr Ail Addaf,
Yn ddifolltau
Ar golynau
O'r aur glânaf.

I'r angelion i'w rheng olaf—agor
Ogylch ein byd isaf
Newydd fawl y drefn ddwyfolaf,—chwarau
A thelynau 'r Genadaeth lawnaf.

Gweis oeddynt, negesyddion
I'r hael genadwri hon,
I ddwyn y foreugerdd aur
Ar gu nodau 'r Genadaeth.

GALW Y CENADAU CYNTAF.

Aeth yr Iesu, ei thrysor,
Yn y man hyd fin y môr,
Ei ddewisawl braidd wysiodd,
A'r fraint weithian i'w rhan rodd—

O ddwyn goruchel ddoniau—'r Genadaeth
I heulwawr dalaeth y mêl a'r diliau,
Difyrwaith gras hyd forau—'r Eangiad
Hyd agoriad yr hollfyd i'w gyrau.

Trwy odiaeth alwad tra eu detholai,
Y laswawr dòn tra eu glwys ordeiniai
Heibio 'r ddwys awel braidd, braidd y suai!
A llais ei Ior y môr ni ymyrai,

Hyd ei ewyn ymdawai,—i'w eigion
Arian ei lifion o'r niwl a yfai.

"Teyrnas Ior yn têr nesâu"—hyn ydyw
Eu cenadaeth forau,
Sylwedd y cyntaf seliau—a dorwyd
Nes eu hagorwyd â difloesg eiriau.

Ior a dywynodd mwy ar eu doniau,
Ac eurodd edyn eu cyrhaeddiadau
A dwyfol danbeidiaf olau—y wyrth!
Oleua hyd engyrth waelod angau.

Ar eu hynt araf tirion y torai
Dydd y Genadaeth, a'r "deuddeg" nodai
I ddwyn y deyrnas a sylfaenasai
Hyd olaf oror y wlad lifeiriai
O laeth a mêl, hen lwythi a'i molai!
Agor ei faner gymmodgar fynai
Yn y syw Ganaan lle y disgynai
Llawer addewid fel lloer a ddeuai
Olau hannerog a'i rhagflaenorai,
Ar edyn oesoedd tra y dynesai.
I'w frodyr e fwriadai—y blaenffrwyth,
Heibio ei dylwyth o flaen byd elai.

A thrwy egwyl y Deg a Thr'ugain—nod
Y Genadaeth eurgain,
A lled a gallu ei hadain,
A'i nen i gyd fu 'r Ganaan gain.

Ei hadenydd gadwynwyd,—ei hodiaeth
Ehediad gyfyngwyd
I'r fro gan Ior fawräwyd,—y Sïon
A'i addewidion erioed ddiodwyd.

"*Dileu pechod trwy ei aberthu ei hun.*"

Nesäai terfyn Sïon—y pryd hyn,
Parod oedd angelion,
Tŷ Dafydd yn toi 'i defion
Duwiol hil i adael hon.

Ah, er ei gwarth ceir ei gwedd
Yn hygar mewn unigedd.

Daeth yr awr ddirfawr i ddwyn
Y ddeddf gan Oen oedd addfwyn,
Y rhad Gâr adawai 'i goron,—aml fawl
Mil fyrdd o nefolion,
A Duw 'nghyd am dyngedion
Galar y ddaear brudd hon.

O fan diweddaf einioes
Galwa Ef tua 'r gref groes,
Ar unwaith, rym taranol
Y Felldith heb rith ar ol.
Duon lengau beiau byd
O'u hoesoedd pellaf esyd
O flaen ei groes fel un grym,—
Ah, nid oedd onid diddym
I bwys ei Iawn llawn a llif
Torawl ei haeddiant dirif.

Darfu byth holl dyrfau barn!
Eilfyd o anfeidrolfarn
A ddiffoddwyd, claddwyd cledd,
Do, olaf arf dialedd.

*"A'r ddaear a grynodd."*

Acw ar ogwydd y gwelid creigiau
A llidiol wylltedd, â lledawl holltau,
Eres ddifancoll o'u gorseddfeinciau,
Duw Ion a gododd y byd yn gadau,
Gallu wybrenawg a llu y bryniau,
Taran dorfawr, holl natur yn dyrfau,
I hoeddi allan trwy erfawr ddulliau
Hawl y Gŵr hynod aml ei goronau,
Y Person a waedodd—pris eneidiau!
Enhuddwyd y mynyddau,—braw a'u todd,
A tharanodd natur o'i thronau.

Y mawr huan fachludai o ganol
Ei freniniaeth, a'r sedd fawr ennynol
A gaed yn euro brig y dòn hwyrol,
Heibio hi tynai ei gerbyd taniol
Ar unwaith, a'i lamp grynol—gwnai soddi
Ei dain oleuni, îs y dòn lenol.

Wedi llawn gyrhaedd â braich ei haeddiant
Agorion heddwch, a chael gwir noddiant
Duw a'i holl eiddion mwy o du llwyddiant
Y Genadaeth, gwawr odiaeth gwarediant:
Marw i gynnal ei dramawr ogoniant,
Beddu ei elyniaeth mewn boddloniant,
A mynu ei ddymuniant—Prynu Byd,
Ei fryd, awr hoff, esyd ar orphwysiant.
Seliwyd y bedd tra 'i seiliau
Oeraidd oll yn ymryddâu.

*"Nid yw efe yma."*

Ah, buan y cododd yn Ben-Ceidwad,
Ag eofn nodwedd heb gyfnewidiad,

Er ei ddrych hyfawl, a'i orddyrchafiad,
A'i eirian goron, yr un ei gariad!

Pa eiriau nodant lawnder Pryniawdwr,
Dihafal radau dwyfol Waredwr,
Yn codi o'r bedd! Llawn Dangnefeddwr
Bellach ydyw, a diball Iachawdwr,
Cyflawn o haeddiant, ac O fel Noddwr
A braich ei allu uwch pob archollwr,
Ar hyf luyddion yn Orfoleddwr,
O allu angeu yn fawr Ollyngwr;
Fyd! gwel dy Adgyfodwr—â mawredd
Goruchaf agwedd mwy na gorchfygwr!
Eiriolwr mawr ei hawliau—dry 'n benaf
A llais uchelaf y llys uwch heuliau.

Dïodid ein Brawd ydyw
O'r un cnawd, Brawd i bob rhyw:
Oruchaf Gyfathrachwr,
Dyn a Duw ynghyd yn dŵr
O nawdd i ddynion eiddil,
I amledd rhyfedd yr hil.

Er hyn, o fawr drueni
Am ei nawdd ni wyddem ni.
Byd oedd heb wybod heddyw
Ei ddyfod a'i fod yn fyw.
Ei radau trysoredig,
Er yn ddidrai, ynddo drig;
A ni yn marw o newyn
Oll heb wybod ddarbod hyn.

"*Ewch i'r holl fyd.*"

Dadleniad y Genadaeth
A dydd hon o'r diwedd ddaeth

Ei dyner ŵyn o dan ei arweiniad
Gesglir ar ei fwynaf olaf alwad,
I'r Olewydd, mynydd ei ddymuniad,
Lle dyry y didwyll Awdurdodiad:
Ewch allan at bob cynnulliad,
Bywyd cyhoeddwch, bod y cyhuddiad
Oesol drosodd a sail y dyrysiad;
Heddwch, heddwch yw y gwahoddiad,
Maddeuant helaeth nid moddion taliad,
Ar edifeirwch cywir adferiad,
Wledd uchel, ail heddychiad—fod Duw Ion
Ië dan goron i gyd yn gariad.

"*Ac efe a ddygwyd i fyny i'r nef.*"

O Gyfaill gwerth ei gofio!
Hyd y farn rhyw genad fo

I ddwyn ar gof ei ddoniau,—a chodi
Uwch adwyth eneidiau
I'r oesoedd, ddrych ei rasau,
Ar y groes yn trugarâu!

Rhoddwyd iddo fawreddau—y nefoedd
Yn afon ddilanau,
Llywyddiad ac allweddau—teyrnasoedd
Eitha 'r ynysoedd a throion oesau:

Fel y gallai
A ddewisai,
Noddi 'i weision,
Gwylio drostynt
Yn eu helynt,
Fel anwylion,

A chael lluoedd nefoedd Naf,
Ar ei achos goruchaf,
A'u hadenydd yn dònau
Fore a hwyr i'w fawrhâu.

*"Dechreu yn Jerusalem."*

E fynai 'n flaenaf anerch
A'i dal hi i'r genedl erch
Roesai ei law ar y groes lem!—"Dechreu"
Agor ei seliau yn y Gaersalem
Ddaliodd y rhyfedd olwg
Y duai 'r haul drwy ei ŵg.

Ati e droes eto drem,—do obaith
Eitha gras eilwaith i Gaersalem.

Oh felus brawf o haeledd
O ras Cenadaeth yr hedd!
Archu dwyn ei haddwyn hedd,
Agorion ei thrugaredd,
I ddwylaw ei ddialwyr,
A'i bywyd i waedlyd ŵyr.

Gado pur rin ac ôl y gwaed prynol
Yn llonydd yno, yn llawn haeddiannol,
I'w heuog enaid, ïe o ganol
Eu drygeddau, gael gwledd dragwyddol.

Maddeuwyd camwedd ëon—y Salem
Sydd iselaf weithion
Ei suddiad mewn troseddion,—lawenai
I'w hoen elai a'i Silo dan hoelion!

*Addewid y Tad.*

Acw fel ennyn y fflam cyflawnwyd
Yr addewid anwyl a ddysgwyliwyd

Yn dân i fewn yr Ysbryd anfonwyd,
A'i allu a'i oleuni 'r lle lanwyd,
A'r ŵyl a anfarwolwyd—i filoedd,
Bywyd i luoedd heb arbed wlawiwyd.

Newyddfyd o gynneddfau—agorwyd,
Ryw gaer fawr o wyrthiau
Furiodd y Faner forau,
Uchder nef i'w chadarnâu !

Lluddiodd gwyrth arall heddyw
Wyrth Babel oruchel ryw.
Yn y nerthol wyrthiol wynt;
Duw a'i fawl fel dwyfolwynt,
Teml ieithoedd holl bobloedd byd
Grynodd gan agor enyd,
A daliai i weision dilyth
Yr allwedd fawr i'w llwydd fyth.

Wele leiaf feibion Galilea
Yn agor dwyfol gariad Jehofah
A'i hoff olud i luoedd Pamphylia,
Haeddiannol aberth i dduon Lybia,
Holl esill tywyll Asia—â didawr
Eiriau ehedfawr yr un fawr oedfa.

Oh ddwysaf gyfaddasiad !
Ei geiriau byw glyw pob gwlad.

Rhaid agor y Diwygiad,
Dwyn i mewn ei doniau mad,
A dadguddiad egwyddor
Ei llwydd maith, allwedd ei môr,
Y newydd rym i'w nawdd roed—
Y daw cynauaf dioed
O waed ei diniweidion
A rhyddid o erlid hon.

Iawnwyrth ei Hiôr ail gwyd ei merthyron
O wedd eilwaith yn fyd o dduwiolion,
Fel gwanwyn bywyd cyfyd eu cofion,
Achos Silo o'u llychau iselion
Fraseïr, lleufer Sïon—ymddyrcha,
Gorymëanga â grym eu hingion.

Duw a arweinia eu gwaed i'r wyneb
Yn iachawdwriaeth—uched y wireb
Eu gwaed a wnaed yn wiwdeb !—Cadernid
A gaera wendid er pob gerwindeb.

Ei bore seiliau gawsant bur seliad
Gan Stephan, a'i hanian fawr ddihuniad !

A thorodd ei ferthyriad—er ei mwyn
Rym y gadwyn rwystrai 'i hymgodiad.

Gwasgarwyd, lledwyd y llu—yn y llid,
A lledwyd gair Iesu:
Agoriad o'u gwasgaru
I engyl Efengyl fu.

Du eigion erlidigaeth,
Gwgu, ymgynhyrfu wnaeth:
Ond ar ei dònau dirym
Arch Nefoedd! mawr oedd dy rym!
Creigiau hwn oll, cregin ynt
Oferawl ger dy fawr-hynt.

Daw heibio â grym diball,—heibio 'r â,
Hi brysura i aber oes arall.

Pa fodd yr ânt! Pwy fydd rym
Heddyw i'w dyrnaid diddym?
Diarbed fyd i'w herbyn,
Nwydau holl ddyfnderau dyn,
Ac Oh, Rhagfarn fel creigfyd,
A'i seiliau er boreu 'r byd
Yn isel yn nwfn oesoedd:
Buddiannau uwch fel byddin oedd.

Urdd yr anfad offeiriadaeth,—bob un
Yno â'i eilun fel ei gynnaliaeth.
Ond y gair dilon Digaloni
Acw nid addef un cenad eiddi;
Goleu oll lle galwo hi,—nid yw croes
Nid yw einioes enyd i w enwi.

Iesu a'i groes yw eu grym,
A dirym ydyw dorau
Byd i'r rhyfedd allwedd hon,
Agora greigiau geirwon
Y galon—dôr ei Horeb
Dry hon yn afon er neb.

Swm y dôn sy am dano,
I gyd am ei felus go',
A garodd nes rhagori
Ar ein holl ddigllonder ni.
Hyn yw yr oll o'r newydd,
A holl sail y gallu sydd
I droi y byd, herio bàr
Duaf anwfn a daear.

Dirgelwch Duw ar galon
Ddynol yw y ddawn hael hon.

Swyn yw y Groes a newid—y fynwes
Sy faen o gadernid:
Ei diorthrech lech o lid,
A lif yn dduwiol ofid.

GALW Y CYNLLUN-GENADWR.

Ymgwynai 'n awr am genad—a lanwai
Ei haelionus fwriad—
Am un archgenadwr mad
O'i delw yn ymgnawdoliad.

Gwron geisiai agoriad
Mynyddoedd, glynoedd pob gwlad,
Allweddau y Borau—byd
I'w chwilio a'i ddychwelyd.
I air Iôr fyn agoryd
Pagan borth pob pegwn byd.

Ymysgwyd ger Damascus,—ymesgyn
Mae asgell fawreddus
Y Genadaeth hiraethus,—ymryddhâu
I'w hwylbrenau a'i bore hoenus!

A gwyrth ei harchelyn gwêl
I'w chynghor yn archangel.

A chryman uwch i'r mwyn haf,—Paul a rydd
Awch newydd i'w chynauaf.

Dewis goethedd dysg Athen,
A mawr rym ei Homer hen,
(Oedd un ailseiliodd Anian
A'i ddoniau gwrdd yn ei gân,
Daflai nerth y rhyferthwy
A gwyrdd y môr i'w gerdd mwy,)
A llên Rhufain gain i gyd,
Yn gyfan y dŷg hefyd
Sinai a'i holl gysonedd,
I fewn i rôd Trefn yr Hedd.
A rhodd ei ddirfawr eiddion
Yr un awr ar allawr Hon.

I'w galon fawr y fynwes—ydoedd Fyd!
A'i deddf fawr ddiormes
Bôd i'r oll! Bywyd o wres
Yn nghanol byd anghynes.

Y LLONG GENADOL GYNTAF.

"*Oddiyno a fordwyasant i Cyprus.*"

Ei llong gyntaf ollynga!—adenydd
Y dòn a gymera,

Hwyl y nef, gorlawenâ
Ynysoedd minion Asia.

I hedd tòn ymdawdd y tir,
Am leithedd tòn cymhlethir
Ei ymylon, gem heulwawr
I fys nef yw Asia 'n awr.

Ar fynwes môr mòr esmwyth
Uwch y llif, yn falch o'i llwyth
Ac o'i hafiaeth y cyfyd,
A'i holl fael o arall fyd!
I'w hwyl hi gwna engyl sôn
A'u mawl, rym o awelon.

Mae engyl yn ymhongian—â moliant
Am ei hwyliau weithian:
Arogl hedd i lawer glàn—yn ei brys
O fwyn ewyllys a enfyn allan.

Oedd fel haen o ddwyfol hinon
A gwên Duw yn gwynu y dòn!

Mal su ymylau Sïon
Ar ei hwyl hi 'r awel lòn.
Iawn oedd i anian addef
Swyn odiaeth Cenadaeth nef:
Uchanedig ei chenadon,
A Heddwch Duw oedd uwch y dòn!

Aml y gwêl am ei hwyl gain
Oludog arall adain
Aderyn, o fad hiraeth
Dros li' cryf i ddeisyf ddaeth:
Dïodid cenad ydyw
A'i garol ddeisyfol syw.

Ymgwyd ar dònau llwydion
Cyprus gythryblus ei thrôn!

Gwlad arall i'w diwallu,
Ailofod i'r cymmod cu!
Bu lawen addien iddi
O nef tòn ei chanfod hi.
I'w hanian fwyn pa swyn sydd
Dan awyr fel gwlad newydd.

Yno dechrau
Sôn am radau
Y Brawd gorau
Brwd ei gariad,
Ei hynt rhyfedd
Oll hyd waeledd
Goriseledd
Ei groeshoeliad.

Modd y carai,
Ac y deuai,
Dyoddefai
Lid oedd Ddwyfawl
Dod i fyny,
A theyrnasu,
Er adferu
'R edifeiriawl.

Cynauaf, Oh cân newydd]
I genadon Sïon sydd.
Arwyddion fod Iôr iddynt
Yn nawdd ar eu didrain hynt;
Ei Ysbryd hefyd yn dwyn
Syw lwydd a seliau addwyn.

Gwyrthiau dorant fel o groth y daran
Am eu hurdduniant uwch mawredd anian:
Ati ni hònai y tân ei hunan
Allu, angeu ei hun ni all yngan.

Gwenwyn du drig yn wèn dan
Ei hygar fraich; bu egwan
Yr addig wiber iddi
Dònau erch am dani hi.

Hoff yr egyr ei dyfroedd i Phrygia,
A'i golau ettyl filoedd Galatia
Yn llwybr dinystr, a'i llaw bur a daena
Olud Sïon i Laodicea;
Eden a ail esyd yn niwl Asia,
Ac ar aml fàn Pren Bywyd a blana,
Ar ei duwiau anwar hi a dywyna
Oleu y nefoedd; fel niwl a nofia
Ymylau y dydd, eu mawl a dodda!

O'i diluw ar amldduwiaeth—un Duwdod
A rodiai hynod fànau crediniaeth.

Gwlad ar ol gwlad fwynhâ ei goludoedd
I Asia fawr ei golud sy foroedd:
O daw ei mil o filoedd,—i dderbyn
Heibio â wed'yn am draethau bydoedd!

*"Wele cyfodaf fy llaw at y Cenedloedd."*

Heddyw Hon a ddihuna—Ewrop fawr
O fedd dirfawr yn ufydd dyrfa.

Ei dyfodiad, archiad i fydoedd—newydd
Yn awyr yr oesoedd,
Ymgodi 'n edmyg ydoedd,—
Gair Duw am ail gread oedd.

A chododd gorwech adail,
Dwyfolaf sicraf ei sail,
O derfysg pobloedd dirfawr,
O dryblith y felldith fawr.

Anwyl ei dilyn dan haul Idalia,
Dilyn y fawlgerdd hyd lân y Volga,
O galon Ewrop hyd Ethiopia,
O'i mawr oludoedd un môr a leda:
Ei herfawr adenydd ar fyr daena,
A'i chyflawnder ar uchaf ael India:
Am hon y byd ddymuna,—o bob gwlad
Rhyddâd, Rhyddâd yw 'r gerdd a eheda!

Iôr a esgyna risiau 'i ogoniant,
Cyhoedda ŵyl o fainc ei addoliant,
O lewin a deau 'n filiynau deuant
Hyd ei oleuni, a'i dŷ a lanwant;
Egyr fyrddiynau allweddau llwyddiant,
Eura ymylon daear â moliant.

Duw alwodd filoedd y delwau—i Farn!
Nid tynerfarn—na, Iôr tàn arfau
Ei ddialedd a'i amledd o olau,
A'i law ei hunan yn dileu 'u henwau
A'u hanfad addoliadau:—am eu sedd
Duw a'i wirionedd yn daranau!

Gwareiddiad egyr heddyw,
Ei faniar i'r anwar ryw;
Gwareiddiad â gwiw roddion
Hygar ddaw yn ngosgordd hon,
Nid o flaen, ond fel hynaws
Weinydd o dan eilfydd naws

Y Fforum, mainc hoff arawd,
I ddawn hon yn sanctaidd wnawd.

Heddyw ynysoedd o bell ddynesant,
Gwylio y llanw a'r goleu a'u llonant,
Ymyl y dòn a emant—â'u dagrau,
A'u breichiau dros y tònau estynant.

Boreu odiaeth i Brydain
A ddug hi â'i newydd gain;
Cân yr Hedd, cynnar iddi
Y bu ei swyn addwyn hi.

Yn forau yr arferodd—fy Nhadau
Ei melus gânau, a'u mawl esgynodd
I lys Iôr, ac aml i sant—fu anwar
Elai yn gynnar i lawn ogoniant.

Angel rhad y Genadaeth,
I hon wedd hylon pan ddaeth,
Teimlai mwy ar ofwy rydd
Fel un mewn haddef lonydd
Ddifaedd, wedi cyrhaeddyd
Artref a bair tra bo byd!

O'i huchder llwyddol swynol y seinia
Udgorn ei hewyd, a'r byd grynöa;
Eilunaddoliaeth a lawn ddiala,
Gwaed ei hoffeiriaid â'r ergyd ffera,
Afon ei hedd orddyfnâ—i'r holl fyd,
Diderfyn hefyd y dorf a'i nofia.

Ni saif ar ei hynaws hynt—nes oero
Y sêr yn eu mawr-hynt:
Ei rhadau yn awr ydynt
Mor llawn â'r dydd gorlawn gynt.

Ah deil ei dyfroedd dilyth
Ar y llanw-linell bell byth.

Pwy ai rhwyma!
Palestina
A Siberia
Sy i'w bwriad
Fel eu gilydd;
Nid oes geurydd
In' na cherydd
Yn ei chariad.

Nid gwlad, ond Crist a phechadur,—nid lled
Y llwyth ond y Natur!
Enaid tlawd a Phryniawdur—frawdd dilyth
Eura byth ei baner bur.



# Y CYFAMMOD GWEITHREDOEDD, A'R PECHOD GWREIDDIOL.

Gellir edrych ar ddynolryw fel personau unigol, neu fel yn dwyn cysylltiad o ryw natur y naill a'r llall. Wrth edrych ar ddyn fel person unigol, yr ydym yn dueddol i'w ystyried fel rhyddweithredydd, yn annibynol ar amgylchiadau, ac yn arglwydd i ryw fesur ar y grëadigaeth o'i amgylch.

Y mae ganddo ewyllys yr hon nis gall holl ddeddfau y byd ei phlygu, a chydwybod yr hon sydd yn meddu hawliau am y rhai nid yw yn cydnabod ei hun yn gyfrifol i neb ond i'r Crëawdwr. Pe byddai pob gallu crëadigol yn ymosod yn ei erbyn ef ei hun, y mae yn teimlo fod ganddo feddwl yr hwn nis gallent ei ddystrywio na'i gaethiwo. Y mae o ran ei ysbryd uwchlaw anian, ac felly uwchlaw ail achosion, ac fel gweithredydd moesol yn alluog o hono ei hun i roddi dechreuad i gadwyn o effeithiau olynol, mor gadarn ac mor faith fel nas gall amser weled ei diwedd.

Ond gan nad pa mor rydd y dichon i ddyn ystyried ei hun pan edrycho yn unig arno ei hun, y mae yn teimlo er hyny ei fod yn barhâus wedi ei amgylchu gan rwymau yn tarddu oddiwrth ei berthynas â'i gyd-ddynion. Y mae yn cael ei hun wedi ei lyffetheirio gan amgylchiadau, y rhai po mwyaf y sylwa arnynt, y treiddia i mewn iddynt, ac yr amcana eu meistroli, mwyaf amlwg y gwêl eu bod oll dan lywodraeth rhyw ddeddfau, y rhai y mae yn ofer iddo geisio eu newid na'u gorchfygu. Y mae yn cael nad yw ei fywyd ef ond dolen fechan yn ymddibynu ar yr holl ddolenau blaenorol, mewn cadwyn o achosion ac effeithiau yr hon sydd yn cyrhaedd yn ol at y dyn cyntaf. Nid oedd ganddo ef un llaw yn newisiad y rhai hyny a fu trwy eu haddysgiadau a'u hymarferiadau yn fwyaf offerynol i ffurfio ei gymeriad, mwy nag oedd ganddynt hwy gyda golwg ar y rhai oedd yn rhieni ac yn arweinyddion iddynt hwythau. Pa un bynag oeddynt ai tlawd neu gyfoethog, iach neu afiach, gwybodus neu anwybodus, crefyddol neu anghrefyddol, nis gall ymryddhâu oddiwrth ei berthynas â hwynt, mwy nag y gall ddifodi yr hyn sydd wedi myned heibio, a pheri i lifeiriant amser redeg yn ol tua'i ffynnonell. Ac os yw yn tybied y gallasai trwy ei ymdrech personol orchfygu pob rhwystrau, a gweithio ei hun i feddiant o wybodaeth a rhyddid, mae yn weddus iddo gofio mai nid efe a ddewisodd y wlad a'r oes yn y rhai y ganwyd ef, ac y buasai, pe ganesid ef mewn gwlad lle nad yw gair Duw wedi cyrhaedd, neu yn y wlad hon mewn oes dywyll, yn aros, yn ol pob tebyg, yn amddifad o wybodaeth y gwirionedd. Er nad yw dyn dan lywodraeth y planedau, y mae er hyny mor analluog i lywodraethu amgylchiadau ei ddyfodiad i'r byd, a'i fynediad o hono, ag ydyw i reoli symudiadau y planedau yn yr ëangder.

Fel hyn y mae dyn yn ei gysylltiad âg amser; ac os edrychir arno drachefn fel y mae yn dwyn perthynas â lle, cawn weled fod yr undeb rhyngddo â'i gyd-ddynion yn llawn mor annattodol, ac nad oes un dyn wedi ei greu iddo ei hun, nac yn arglwydd arno ei hun. Y mae mor anhawdd i ddyn sefyll yn annibynol ar ei gyd-ddynion ag ydyw iddo gynnal ei hun heb ymddibynu ar y ddaear sydd dan ei draed, neu yr awyr sydd yn ei amgylchu. Pa mor fawreddus bynag fyddo ei syniadau am ei alluoedd ac am ei hawliau, y mae yn cael yn fuan ei fod ef a'i gymydogion dan ryw ddeddfau cyffredinol; ac os cynnygia arfer ei ryddid ymhellach na chylch y deddfau hyn, caiff brofi fod ei alluoedd a'i hawliau yn dra therfynol, a bod yn rhaid iddo blygu i reolau, y rhai, fe allai, nad oedd efe yn cyfranogi yn eu gwneuthuriad. Y mae yn cael ei hun dan ffurf o lywodraeth wladol, yr hon y mae yn rhwym o ufuddhâu iddi, a thalu ei gyfran at ei dwyn ymlaen, pa un a yw efe yn dewis y ffurf hono ai peidio. A phe golygid fod y ffurflywodraeth mor rhydd ag y byddo yn bosibl iddi fod, y gallu yn hollol yn nwylaw y bobl, a'r llywodraethwyr yn cael eu dewis ganddynt, ac yn gyfrifol iddynt yn yr ystyr helaethaf y

gellir meddwl am dano, byddai pob dyn wedi hyny yn rhwym o ufuddhâu i benderfyniad y mwyafrif. Ac er y gallai y drefn hon fod yn rhyw gymhorth at ddiogelu rhyddid y wladwriaeth yn y cyfanswm, eto lle y byddo mwyaf o ryddid cyffredinol, dichon fod llai o ryddid personol, i'r graddau ag y mae un yn llai na'r llïaws. Ni fu un wladwriaeth erioed yn fwy rhydd nag oedd Athen yn ei dyddiau goreu, oblegid yr oedd yr holl drigolion, oddieithr y caethweision, nid yn dewis deddfwneuthurwyr, ond yn cael pleidleisio eu hunain o blaid neu yn erbyn pob deddf cyn ei gosod mewn grym; ac eto yn y lle hwnw, ac yn yr oes hono, y merthyrwyd Socrates, am iddo wahaniaethu yn ei farn grefyddol oddiwrth y mwyafrif o'i gydwladwyr. Ac hyd yn nôd pe byddai y mwyafrif yn ddigon egwyddorol i ganiatâu rhyddid i bawb farnu a gweithredu drostynt eu hunain yn y materion hyny, y rhai nid yw yn perthyn i gyfreithiau gwladol ymyryd â hwynt, y mae rhyw achosion yn y rhai y mae yn rhaid iddynt arfer eu hawdurdod, a gorfodi pawb yn ddiwahaniaeth i gydymffurfio. Yr un modd mewn cylchoedd llai, os ymunwn âg unrhyw gymdeithas, pa un ai gwladol ai eglwysig, neu os awn yn unig am un tro i unrhyw gydgynnulliad o bobl, os ymaflwn mewn rhyw alwedigaeth dymmorol, neu os meddyliwn am gyflawni un gorchwyl o bwys yn y ffordd o brynu a gwerthu, os dewiswn wneuthur defnydd o'r cyfleusderau sydd i'w cael i dramwy ar dir neu ar fôr, neu pe na byddai genym ond anfon llythyr yn unig o'r naill fan i'r llall, ymha le bynag, ac yma fodd bynag, y deuwn i gyffyrddiad â'n cyd-ddynion, yr ydym yn cael fod yn rhaid iddynt hwy a ninnau gydgyfarfod mewn rhyw drefniadau, ac ymostwng i ryw ddeddfau cyffredinol.

Dyma ddwy egwyddor wrthgyferbyniol, yr unigol a'r llïosog; ac i'r graddau yr anghofir y naill neu y llall, i'r graddau hyny y llithrwn yn barhâus i ryw eithafoedd. Y mae rhai yn fwy tueddol i edrych ar ddynion fel personau unigol; ac y mae yn rhaid addef mai o'r teimlad hwn y mae bywyd pob cymdeithas yn tarddu. Nid oes neb yn gwneyd llawer nes y teflir ef ar ei ymadferthoedd ei hun, i edrych iddo ei hun, i ddyfod yn ymwybodol o'i allu personol, heb bwyso nac ymddibynu ar neb arall. Y mae rhyw ddyfnderoedd o allu yn enaid pob dyn, yr hwn nis gellir ei fesur na'i bwyso, na'i ddarostwng mewn ufudd-dod i reolau dynol, mwy nag y gellir rhwymo a rheoli y fellten ffrochwyllt yn angerdd ei nerth. Ond er fod nerthoedd o'n hamgylch fel hyn, yn ysbrydol ac anianyddol, y rhai nis gallwn roddi cyfrif o'u cryfder, er hyny os gadawn hwynt i gael eu lle, ac i gyflawni y gwaith sydd iddynt yn ymherodraeth ëang natur, heb geisio eu dinystrio na'u gwrthwynebu, y mae yn bosibl eu harwain i roddi benthyg rhyw gymaint o'u gwasanaeth mewn ufudd-dod i drefniadau; ac i'r graddau hyny y mae gwladwriaeth yn symud ymlaen o gyflwr anwar i gyflwr gwareiddiedig. Dyma amcan y rhai hyny sydd yn hoff o drefn, megys yn y byd anianyddol, felly hefyd yn y byd moesol. Y maent hwy yn tueddu yn benaf i edrych ar y cwbl yn un cyfanswm; ac oddiyma y tardd pob awydd i chwilio am ddeddfau i lywodraethu pethau neu bersonau. Ond wrth gadw eu golwg yn ormodol ar y cyfanswm, y maent yn gyffredin yn edrych ar ddynion yn rhy arwynebol, ac yn anghofio y dyfnder o feddwl ac o deimlad sydd ymhob un. Y maent yn raddol yn myned i edrych ar yr allanol yn fwy na'r tufewnol, ar y naturiol yn fwy na'r moesol, ac i roddi mwy o le i gelfyddyd nag i fywyd, nes o'r diwedd yr ânt fe allai i gredu nas gellir diogelu trefn gyffredinol heb ddifodi rhyddid personol.

Yn awr, os caniatëir fod y ddwy egwyddor yma yn cydsefyll, a bod Llywodraethwr pob peth wedi trefnu iddynt gydredeg â'u gilydd mewn undeb a chydweithrediad cyson, mor bell ag y mae ein profiad a'n sylw ni yn cyrhaedd, onid yw yn iawn i ni gasglu fod yr un cydgyfarfyddiad yn bod yn achos yr oll o ddynolryw? Os dichon i ddynion fod fel cymdeithasau bychain, neu fel teyrnasoedd, mewn undeb â'u gilydd dan lywodraeth yr un trefniant, heb i hyny effeithio yn niweidiol ar ryddid pob un, paham nas gellir meddwl fod holl ddynolryw o ddechreu hyd ddiwedd amser mewn undeb â'u gilydd dan yr un pen, heb i hyny ddinystrio eu rhyddid personol? Os yw yn deg i'r athronydd gymeryd yn ganiatäol fod y ddeddf anianyddol sydd yn llywodraethu cwymp yr afal i'r ddaear yn cyrhaedd at yr haul a'r planedau pellaf, ac yn cadw yr holl grëadigaeth yn ei lle, onid yw yn rhesymol i ni gredu nad yw perthynas dynion â'u gilydd mewn gwladwriaeth ond enghraifft o'u perthynas â'u gilydd yn Adda? Y mae cyfatebrwydd yn rhoddi sail gref i dybied hyn pe na buasai genym yr un sill am hyny yn y Bibl; ac y mae tystiolaeth yr Ysgrythyr yn dangos yn eglur mai fel hyn y mae.

Un o nodweddau mwyaf arbenig y Bibl yw y mawredd y mae yn roddi ar achos personol pob dyn. Fel hyn, heb dori o'r ffordd i ymyryd yn uniongyrchol â threfniadau gwladol unrhyw deyrnas, y mae mewn modd dystaw, ond ar yr un pryd yn y modd mwyaf effeithiol, wedi myned dan wraidd pob math o gaethwasiaeth. Y mae yn dangos fod gan ddyn gydwybod ar yr hon nid oes neb yn arglwydd ond Duw yn unig. Y mae yn dangos fod perthynas rhwng dyn â'i Grëawdwr, yr hon sydd yn rhoddi ystyr a grym i bob perthynas arall, a'r hon sydd yn eu llyncu oll o'r golwg fel y mae y môr yn llyncu yr afonydd iddo ei hun. Y mae yn dangos mai deddf natur Duw yw deddf dyn, a bod dyn wedi ei grëu yn alluog i fyned i gyfammod, ac i ddal cymdeithas â'i Grëawdwr. Y mae hyn oll hefyd yn perthyn i bob dyn yn unigol—y gwaelaf a'r tlotaf yr un fath a'r cyfoethocaf. Nid yr hyn sydd ganddo sydd yn gosod mawredd arno yn ei berthynas â Duw, ond yr hyn ydyw ef ei hun. Y mae sylw Duw ar bob un fel pe na byddai neb yn bod ond yr un hwnw; ac yr un modd y mae ei ymddygiad mor gyfiawn tuag at bob un â phe na byddai neb arall yn bod. Y mae yn rhaid addef y gwirionedd hwn yn ei helaethrwydd mwyaf, a dal gafael ynddo yn ddisigl heb geisio ei gelu na chilio oddiwrtho; ac ni ddylid addef dim sydd yn groes iddo; oblegid os yw hyn yn wir, fel y mae yn rhaid ei fod, y mae pob peth sydd yn groes iddo yn anwir. Nid oes yr anghenrheidrwydd lleiaf i Dduw wneuthur cam âg un person er mwyn lles y cyffredinolrwydd, mwy nag y mae yn rhaid iddo absennoli ei hun o un man er mwyn rhoddi ei bresennoldeb mewn man arall. Bod yn ddyn yw bod yn grëadur sydd yn teimlo o anghenrheidrwydd fod y ddeddf y mae efe dani yn ddeddf yr holl grëadigaeth foesol; fod yn anmhosibl ei newid mewn cymaint ag un amgylchiad heb wneuthur cam cyffredinol, a dirymu cyfiawnder Dwyfol; ac o ganlyniad fod holl allu y Duwdod yn ddiogelwch ac yn amddiffyn i bob person unigol. Nid ambell adnod yma ac acw yn y Bibl sydd yn profi hyn; ond y mae yr holl ddadguddiad Dwyfol yn ei gymeryd fel gwirionedd addefedig, ac y mae yn rhedeg trwy yr holl eiriau a lefarwyd gan Dduw wrth ddyn, yn y rhai y mae yn apelio at reswm a chydwybod ei grëaduriaid; yr hyn sydd yn profi nad oes dim yn ngweithredoedd Duw yn groes i'r egwyddorion gwreiddiol a blanodd efe yn ein medd-

yliau, ac i'r hyn a deimlir gan bob dyn yn gyfiawnder âg ef yn bersonol. Ond mewn amryw ranau o'r Ysgrythyr y mae y gwirionedd hwn yn cael ei ddwyn allan yn benodol mewn geiriau amlwg, megys yn yr adnodau canlynol,—Job xxxiv. 10—12: "Pell oddiwrth Dduw fyddo gwneuthur annuwioldeb, ac oddiwrth yr Hollalluog weithredu anwiredd. Canys efe a dâl i ddyn ei waith; ac efe a wna i ŵr gael yn ol ei ffyrdd ei hun. Diau hefyd na wna Duw yn annuwiol, ac na ŵyra'r Hollalluog farn." Ezec. xviii. 20: "Yr enaid a becho, hwnw a fydd marw. Y mab ni ddwg anwiredd y tad, a'r tad ni ddwg anwiredd y mab; cyfiawnder y cyfiawn fydd arno ef; a drygioni y drygionus fydd arno yntau." Rhuf. iii. 3, 4: "Oblegid beth os anghredodd rhai? a wna eu hanghrediniaeth hwy ffydd Duw yn ofer? Na ato Duw: eithr bydded Duw yn eirwir, a phob dyn yn gelwyddog; megys yr ysgrifenwyd, Fel y'th gyfiawnhäer yn dy eiriau, ac y gorfyddech pan y'th farner."

Dyma un olwg ar y pwnc; ond dangosir yr egwyddor arall yn y Bibl yr un mor amlwg. Er fod Duw yn llywodraethu pob dyn gyda'r unrhyw uniondeb manwl â phe na byddai neb yn bod ond yr un hwnw, fe'n dysgir ei fod yn dwyn ymlaen ei lywodraeth yn ol rhyw drefn gyffredinol, a bod rhyw undeb yn bod rhwng holl ddynolryw â'u gilydd, yr hwn sydd wedi effeithio ar sefyllfa pob un yn bersonol. Ac y mae yn anghenrheidiol dal y naill wirionedd heb wrthladd y llall. Dylem ofalu na fyddom wrth ddadleu dros yr undeb cyffredinol yn gwadu dim sydd yn hanfodol i gyfrifoldeb personol, nac wrth amddiffyn cyfrifoldeb personol yn dinystrio yr undeb cyffredinol. Amcan blaenaf y sylwadau canlynol yw dangos fod y ddau yn berffaith gyson â'u gilydd. Er mwyn trefn, byddai yn fanteisiol ymofyn yn gyntaf pa fath yw sefyllfa dynolryw wrth naturiaeth; ac yna gellir sylwi ar yr undeb trwy yr hwn y daethant i'r sefyllfa hono.

Iaith eglur yr Ysgrythyr yw, nad oes un dyn mwyach mewn cyflwr i ddyfod yn gymeradwy ger bron Duw trwy ei ufudd-dod personol ef ei hun. Yn yr ystyr yma nid oes sefyllfa prawf mwyach yn bod. Y mae pawb yn ddiwahaniaeth mewn cyflwr syrthiedig. Y mae y gwirionedd hwn yn amlwg, nid mewn rhyw fanau neillduol yn y Bibl, ond yn rhan hanfodol o'r holl ddadguddiad Dwyfol, yn cael ei ddysgu yn benodol, neu yn cael ei ragdybied yn holl athrawiaeth yr efengyl. Hyn sydd yn gosod pwys arbenig arno, gan nas gallwn ddeall trefn yr iachawdwriaeth yn ei helaethrwydd a'i graslonrwydd heb fod yn argyhoeddedig o lygredigaeth hollol y natur ddynol; ac yr ydym yn cael fel ffaith fod y rhai sydd yn gwadu y naill yn dra diffygiol yn eu golygiadau am y llall. Gan hyny y mae yr Apostol Paul, er mwyn profi cyfiawnhâd trwy ffydd, yn cymeryd golwg yn gyntaf ar gyflwr truenus y byd, yr Iuddewon yn gystal â'r Cenedloedd; ac y mae ei holl ymresymiad yn dangos, os yw cyfiawnhâd yn dyfod trwy ffydd yn unig, yna y mae yn rhaid fod pob dyn yn analluog o hono ei hun i wneuthur dim i ryngu bodd Duw; ac os yw dyn yn meddu un gradd o gyfiawnder neu sancteiddrwydd o'i eiddo ei hun, mor bell a hyny y mae yn gyfiawn trwy weithredoedd, ac nid trwy ffydd. Ond penderfyniad yr Apostol yr un modd a'r Salmydd ydyw, "Nid oes neb cyfiawn, nac oes un: nid oes neb yn deall; nid oes neb yn ceisio Duw. Gŵyrasant oll, aethant i gyd yn anfuddiol; nid oes un yn gwneuthur daioni, nac oes un." Ac ymhellach, "Ni a wyddom hefyd am ba bethau bynag y mae y ddeddf yn ei ddywedyd, mai wrth y rhai sydd dan y ddeddf y mae hi yn ei ddywedyd; fel

y cauer pob genau, ac y byddo yr holl fyd dan farn Duw. Am hyny trwy weithredoedd y ddeddf ni chyfiawnhëir un cnawd yn ei olwg ef; canys trwy y ddeddf y mae adnabod pechod." Rhuf. iii. 10, 11, 12, 19, 20. Felly drachefn yn Gal. iii. 22: "Eithr cydgauodd yr Ysgrythyr bob peth dan bechod, fel y rhoddid yr addewid trwy ffydd Iesu Grist i'r rhai sydd yn credu." Yr un gwirionedd a ddysgir yn holl ddywediadau yr Ysgrythyr am yr anghenrheidrwydd anhebgorol o ailenedigaeth, megys yn ngeiriau yr Arglwydd Iesu wrth Nicodemus, "Yn wir, yn wir, meddaf i ti, Oddieithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw." Mae yn amlwg gan hyny mai nid pwnc damweiniol na dibwys yn y Bibl yw cwymp dyn, ond rhan hanfodol o hono yn rhoddi ystyr a gwerth i bob rhan arall. Os yw y ddeddf yn rhagdybied fod pob dyn yn berson, yn meddu cynneddfau a goleuni naturiol, ac yn gyfrifol drosto ei hun, y mae yr efengyl yn rhagdybied fod pob peth wedi ei gydgâu dan bechod.

Ond yma drachefn yr ydym yn cyfarfod âg enghraifft newydd o wrthgyferbyniad; oblegid mewn cysylltiad â hollol lygredigaeth y natur ddynol, mae yn rhaid i ni addef fod llawer o ddaioni yn aros mewn dyn syrthiedig. Y mae rhai gan faint eu heiddigedd dros y naill yn myned ymhell i wadu y llall. Ond nid yw yn arwydd o feddwl parchus am ddaioni Duw ein bod yn anmharchus o bob daioni dynol. Nid yw yn debyg fod un dyn ar y ddaear nad oes ynddo ryw deimlad o barch i gyfiawnder, rhyw gymaint o gymwynasgarwch i gyfeillion a pherthynasau, rhyw wreichionen o gydwybodolrwydd, er ei bod, fe allai, yn guddiedig dan lawer o ludw. Wrth brofi llygredigaeth y natur ddynol, dywed yr apostol ei hun yn Rhuf. ii. 14, 15, "Canys pan yw y cenedloedd y rhai nid yw y ddeddf ganddynt, wrth naturiaeth yn gwneuthur y pethau sydd yn y ddeddf, y rhai hyn heb fod y ddeddf ganddynt, ydynt ddeddf iddynt eu hunain: y rhai sydd yn dangos gweithred y ddeddf yn ysgrifenedig yn eu calonau, a'u cydwybod yn cyddystiolaethu, a'u meddyliau yn cyhuddo eu gilydd, neu yn esgusodi." Er fod y natur ddynol yn adfeiliedig, y mae eto yn hardd, ac yn dwyn tystiolaeth i'w dechreuad. Er fod y cysegr wedi ei halogi, nid yw eto wedi ei lwyr-ddinystrio; nid yw yr allor aur wedi ei bwrw allan, er fod yr aroglddarth wedi darfod; nid yw llechau y cyfammod wedi eu colli, er eu bod yn cael eu hanmharchu; ac y mae allor y poethoffrwm yn aros i ddwyn ar gôf yr anghenrheidrwydd am aberth. Ond y mae Duw wedi cilio. Y mae dynolryw wrth natur heb Dduw yn y byd. Nid yw Duw yn eu holl feddyliau. Dyma drueni cyflwr dyn. Nid oes achos i ni anghyttuno yn y mesur lleiaf â'r ymadroddion mwyaf hedegog am fawredd ac urddas dynoliaeth; oblegid y mae mwy o brydferthwch yn enaid plentyn nag y gall yr athrylith mwyaf barddonol ei ddarlunio, na'r galon fwyaf teimladol ddychymygu. Nid ydym yn gwahaniaethu oddiwrthynt am ein bod yn parchu hyn yn llai, ond am ein bod yn parchu y llall yn fwy. Nid am werth yr hyn sydd yn aros y mae y ddadl, ond am werth yr hyn a gollwyd. Yr ydym yn foddlawn i gydfyned â hwy trwy yr holl adeilad, ac i gyduno mewn canmoliaeth i ardderchogrwydd y gwaith; ac wedi iddynt ddefnyddio eu holl ddoniau i geisio ei ddysgrifio, dywedwn ninnau yn ol, Ni fynegwyd yr hanner. Nid oes eisieu tynu oddiwrth eu credo, ond ychwanegu ato; a'r hyn sydd yn ddiffygiol yn eu credo yw yr hyn sydd yn ddiffygiol hefyd yn y natur ddynol, sef y dwyfol a'r ysbrydol. Nid ydynt erioed wedi meddwl yn deilwng am y gwahaniaeth hanfodol rhwng daioni moesol a daioni ysbrydol.

Fel y mae y Bibl yn gwahaniaethu rhwng enaid ac ysbryd, felly y mae hefyd yn gwahaniaethu rhwng y dyn anianol a'r dyn ysbrydol. "Y dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw; canys ffolineb ydynt ganddo ef: ac nis gall eu gwybod, oblegid yn ysbrydol y bernir hwynt." Hyd yma yr oedd y Paganiaid wedi cyrhaedd trwy eu doethineb eu hunain. Y dyn uwchaf y medrent feddwl am dano nid oedd ond anianol. A phan aeth yr ysgrifenwyr sanctaidd i ddynodi dyn duwiol, dyn wedi ei eni o Dduw, ac yn byw i Dduw, yr oedd yn rhaid troi gair o'i hen ystyr, a'i arfer mewn ystyr hollol newydd, yr hwn air a gyfieithir genym ni "ysbrydol." Y mae yma syniad nad oedd erioed wedi gwawrio ar y byd Paganaidd, ac nad yw eto wedi ei ddeall gan lïaws o ysgrifenwyr Cristionogol. Er y dichon i ddyn anianol arddangos llawer o rinweddau, ac efelychu y dyn ysbrydol, fel y mae y crëaduriaid direswm yn rhoddi amlygiadau achlysurol o alluoedd cyffelyb i'r rhai sydd yn perthyn yn neillduol i'r meddwl dynol, y mae cymaint o wahaniaeth rhwng y dyn ysbrydol â'r dyn anianol ag sydd rhwng ysbryd dyn âg anian anifeilaidd. Y mae gan bob dyn allu i feddwl am Dduw a byd ysbrydol; ac yn y dyn ysbrydol y mae y gallu hwn wedi ei ddeffro a'i ddwyn i weithrediad. Y mae trwy ffydd yn byw mewn byd arall; y mae ei serch ar y pethau sydd uchod; y mae ei fywyd wedi ei guddio gyda Christ yn Nuw. Y mae wedi cael golwg ar Dduw yn ei sancteiddrwydd, a'r ddeddf yn ei hysbrydolrwydd, nes y mae yn teimlo nad oes ynddo ef, hyny yw, yn ei gnawd ef, ddim da yn trigo. Y mae wedi marw i'r ddeddf trwy gorff Crist, fel y byddo eiddo un arall, sef eiddo yr hwn a gyfodwyd o feirw, fel y dygo ffrwyth i Dduw. Dyma ddyn ysbrydol y Bibl. Ac y mae helaethrwydd y daioni sydd yn aros mewn dyn wrth natur, nes ei eni oddiuchod, mor bell oddiwrth fod yn gyfiawnder ger bron Duw, neu yn gymhwysder i fwynhâu Duw, fel nad yw ynddo ei hun ond ychwanegiad at ei gyfrifoldeb, fel y mae yn fantais iddo ddwyn mwy o ffrwyth: ac os yw wedi'r cwbl mewn ystyr ysbrydol yn ddiffrwyth, os yw yn amddifad o gariad at Dduw, a chariad duwiol at ei gyddynion, y mae diffyg hanfodol yn ei weithredoedd goreu; a thystiolaeth Duw am dano ydyw, "Nid wyf yn cael dim." Y mae Ioan, yn nechreu yr efengyl a ysgrifenwyd ganddo, yn dyhysbyddu y mater hwn mewn ychydig eiriau: "Hwn ydoedd y gwir oleuni, yr hwn sydd yn goleuo pob dyn a'r y sydd yn dyfod i'r byd. Yn y byd yr oedd efe, a'r byd a wnaethpwyd trwyddo ef; a'r byd nid adnabu ef." Y mae gwahanol feddyliau am y dull cywir o gyfieithu yr adnodau hyn; ond nid yw y gwahaniaeth yn effeithio dim arnynt yn eu perthynas â chyflwr dyn wrth natur. Dangosir ynddynt fod pob dyn wedi derbyn goleuni naturiol, yr hwn yn ddiau yw goleuni rheswm a chydwybod. Dangosir hefyd fod y goleuni hwn yn dyfod oddiwrth y Cyfryngwr, y Gair, yr hwn oedd yn y dechreuad gyda Duw; ac nid yn unig yn dyfod oddiwrtho, ond ei fod ynddo ef yn fywyd, ac mai efe ei hun ydyw y goleuni. Ond dangosir yn olaf, nad yw cyfranogiad o'r goleuni naturiol hwn yn ras cadwedigol; oblegid er ei fod yn y byd, eto y byd nid adnabu ef.

Gwelwn gan hyny nad yw y meddyliau mwyaf caredig am y natur ddynol yn cau allan yr athrawiaeth o'i hollol lygredigaeth, a'i hollol anghymhwysder, ynddi ac o honi ei hun, i ryngu bodd Duw a'i fwynhâu. Ac y mae yn briodol sylwi fod yn rhaid i ni, cyn y gallwn fod yn gyson â ni ein hunain, gymeryd yr athrawiaeth hon yn ei helaethrwydd mwyaf mewn hŷd

a llêd yn gystal ag mewn dyfnder. Os addefir cyffredinolrwydd y llygredigaeth mewn rhyw ddosbarth o'r hil ddynol, y mae yn rhaid addef ei fod yn cyrhaedd at bob dosbarth; ac o'r tu arall, os gwneir eithriadau mewn hŷd a llêd, naturiol yw gwneyd eithriadau hefyd yn nyfnder y cwymp. Ymddengys ei bod yn egwyddor sydd yn cyrhaedd at bob ymchwiliad, mai y golygiadau mwyaf dwfndreiddiol yw y mwyaf cyffredinol. Wrth edrych yn arwynebol ar gyfansoddiad y ddaear, gellid meddwl mai lleol a damweiniol yw y creigiau sydd yn achlysurol yn dyfod i'r golwg; ond wrth eu holrhain yn ddyfnach, gwelir fod yr ymddangosiadau hyn yn gorphwys ar ddeddfau unffurfiol. Ac yn yr un modd, os edrychir yn unig ar agwedd allanol plant dynion, prin y gellid tybied eu bod yn perthyn i'w gilydd; ond os creffir ar weithrediadau eu meddyliau, ceir fod yr un rheswm, yr un serchiadau, ac yn enwedig yr un egwyddorion da neu ddrwg, ynddynt oll yn ddiwahaniaeth.

Ond fe allai y dichon i rai ddadleu, er fod yr ymadroddion a arferir yn y Bibl ar y mater hwn i'w cymeryd yn eu hystyr helaethaf gyda golwg ar y rhai sydd wedi cyrhaedd oedran i farnu a gweithredu drostynt eu hunain, eto na ddylid eu cymhwyso at blant bychain; ac am hyny, y mae yn anghenrheidiol gwneyd rhai nodiadau ar hyn yn fwy penodol.

1. Nid yw y Bibl yn gwneyd yr un gwahaniaeth rhwng plant â rhai mewn oedran. Y mae yn llefaru heb un eithriad: "Pawb a bechasant, ac ydynt yn ôl am ogoniant Duw." "Pawb, yr Iuddewon a'r Groegwyr, dan bechod." "Cydgauodd yr Ysgrythyr bob peth dan bechod." Nid ydym yn dymuno rhoddi mwy o bwys ar y geiriau "pawb" a "phob peth" nag a ddaliant; ac am hyny nid ydym yn dyweyd eu bod ynddynt eu hunain yn ddigon i benderfynu y ddadl; gan y gellir eu cymeryd mewn ystyr fwy neu lai cyfyng. Er hyny y mae yn rhaid caniatâu mai mwy naturiol yw eu cymeryd yn eu hystyr helaethaf; ac mai felly y dylid eu cymeryd hyd y byddo hyny yn ddichonadwy. Ac y mae yn anghraifft addysgiadol o anghysondeb fod cynifer yn dadleu dros gymeryd y geiriau hyn yn eu hystyr helaethaf pan yn sôn am waith Crist dros ddynion, ac ar yr un pryd yn eu cyfyngu pan yn cyfeirio at ddynolryw yn eu cyflwr syrthiedig; tra y mae eraill yn rhoddi iddynt eu hystyr helaethaf pan yn sôn am gyflwr dynolryw, ac yn eu cyfyngu drachefn yn eu perthynas â'r rhai y bu Crist farw drostynt. Gwell yn ddiau yw rhoddi iddynt eu hystyr naturiol, hyd y gellir, ymhob amgylchiad.

2. Y mae lliaws o ysgrythyrau penodol yn dangos fod pob oedran yn ddiwahaniaeth wedi syrthio yn yr un cwymp. Gen. v. 3: "Ac Adda a fu fyw ddeng mlynedd ar hugain a chant, ac a genedlodd fab ar ei lun a'i ddelw ei hun, ac a alwodd ei enw ef Seth." Gen viii. 21: "O herwydd bod bryd calon dyn yn ddrwg o'i ieuenctyd." Job xiv. 4: "Pwy a ddyry beth glân allan o beth aflan? neb." Salm li. 5: "Wele, mewn anwiredd y'm lluniwyd, ac mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf." Ioan iii. 6: "Yr hyn a aned o'r cnawd sydd gnawd; a'r hyn a aned o'r Ysbryd sydd ysbryd." Eph. ii. 3: "Ac yr oeddym ni wrth naturiaeth yn blant digofaint, megys eraill."

3. Y mae yr un gwirionedd yn tarddu fel casgliad naturiol oddiwrth ymresymiad Paul yn Rhuf. ix. 10—13: "Ac nid hyn yn unig; eithr Rebeccah hefyd, wedi iddi feichiogi o un, sef o'n tad Isaac; (canys cyn geni y plant eto, na gwneuthur o honynt dda na drwg, fel y byddai i'r arfaeth yn ol

etholedigaeth Duw sefyll, nid o weithredoedd, eithr o'r hwn sydd yn galw,) y dywedwyd wrthi, Yr hynaf a wasanaetha yr ieuengaf. Megys yr ysgrifenwyd, Jacob a gerais, eithr Esau a gaseais." Er caniatâu fod yr ymadrodd "Esau a gaseais" i'w gymeryd mewn ystyr gymhariaethol, ac nad yw yn golygu mwy na pheidio ei garu, y mae yma er hyny brawf sicr o bechadurusrwydd cyffwr, "cyn geni y plant eto, na gwneuthur o honynt dda na drwg;" oblegid os oedd y ddau yn ddibechod, nis gallasai Duw beidio caru yr un o honynt.

4. Rheswm a ddygwyd ymlaen lawer gwaith, ac na wrthbrofwyd unwaith, yw y cysylltiad rhwng angeu a phechod. Os yw plant bychain yn marw, y mae yn rhaid eu bod mewn rhyw ystyr yn bechaduriaid. Ofer yw dadleu, oddiwrth ddarganfyddiadau y naturiaethwyr diweddaraf, fod crëaduriaid direswm yn marw cyn i bechod ddyfod i'r byd. Nid yw hyn yn perthyn i'r pwnc yn y gradd lleiaf; oblegid nid oes un cysylltiad rhwng eu marwolaeth hwy â phechod. Nid yw yn effaith pechod ynddynt hwy; oblegid nid ydynt yn pechu, ac nis gallant fod yn bechaduriaid. Ac y mae mor amlwg nad yw yn effaith sydd yn tarddu yn unig o bechod dyn; oblegid os oedd yn anghyfiawn iddynt farw cyn i ddyn bechu, nis gall pechod dyn ei wneuthur yn gyfiawn; ac os nad yw yn anghyfiawn iddynt farw wedi i ddyn bechu, nid oedd yn anghyfiawn iddynt farw cyn hyny; oblegid nid ydynt yn haeddu marwolaeth fel cosbedigaeth yn awr mwy nag oeddynt cyn i ddyn ddyfod i fod. O ran dim sydd yn ymddangos i ni, gallasai Duw yn gyfiawn, oni buasai gyfammod, roddi terfyn i fywyd dyn yr un modd ag i fywyd anifail, er iddo aros heb bechu. Ond o'i ras anfeidrol ymostyngodd y Crëawdwr i fyned i gyfammod â dyn; ac yn y cyfammod hwnw ymrwymodd i'w gadw yn anfarwol tra yn ddibechod. Ac hyd yn nôd pe gwrthwynebid y syniad am gyfammod, eto nis gellir gwrthwynebu geiriau eglur y Bibl, y rhai sydd yn dangos fod marwolaeth dyn yn effaith pechod, ac na buasai un dyn farw oni buasai ei fod mewn rhyw fodd wedi pechu: "Am hyny, megys trwy un dyn y daeth pechod i'r byd, a marwolaeth trwy bechod; ac felly yr aeth marwolaeth ar bob dyn yn gymaint a phechu o bawb."

5. Y mae dynoliaeth ddihalog yn nodwedd sydd yn gwahaniaethu y dyn Crist Iesu oddiwrth bawb o ddynolryw; ac y mae yn amlwg fod y gwahaniaeth hwn yn ei hynodi, nid yn unig yn ei fywyd, ond hefyd yn ei enedigaeth; gan y dywedir am dano, "Y peth sanctaidd a enir o honot ti a elwir yn Fab Duw." Os yw pawb yn cael eu geni yn sanctaidd, nid oes un ystyr i'r rhan gyntaf o'r ymadrodd.

6. Nid yw y Bibl yn dadguddio ond un drefn i gadw yr oll o ddynolryw. Mae yn debyg nad oes neb ond y rhai hyny sydd yn gosod mwy o bwys na chyffredin ar "ailenedigaeth yn medydd" a feddyliant am wrthwynebu y pwnc o gadwedigaeth pawb sydd yn marw yn eu mabandod; yr hyn sydd yn cael ei gadarnhâu gan yr awgrymiadau a roddir yn y Bibl na fydd neb yn golledig yn y diwedd o hil Adda ond a wrthodant drugaredd yn ngwlad efengyl, neu a esgeulusant wneuthur defnydd priodol o'r goleuni naturiol sydd ganddynt mewn gwledydd Paganaidd. Ond os, fel y mae sail gref i gredu, y cedwir pob un ymhob gwlad a fyddo farw yn ei fabandod, eto y mae yn wirionedd diammheuol na chedwir neb, pa un bynag ai hen ai ieuanc, pa un bynag ai mewn gwlad Baganaidd ai mewn gwlad Gristionogol, ond trwy haeddiant yr un Cyfryngwr, a thrwy adnewyddiad yr un Ysbryd Glân. Gan hyny, y mae yn rhaid i ni gredu fod holl hil Adda yn

ddiwahaniaeth wedi syrthio, a'u bod oll wrth natur mewn cyflwr colledig.

Ond yma y mae sylw byr yn ddyledus i'r gyfundraeth hono, yr hon sydd yn amcanu rhoddi eglurhâd boddlonol ar yr achos trwy ddywedyd fod effaith y cwymp mewn rhyw fesur mwy neu lai wedi ei ddifodi trwy gyfryngdod yr Arglwydd Iesu Grist. Gellir cymeryd y golygiad hwn mewn mwy nag un ystyr. Os y meddwl yw, fod pawb wrth natur yn bechaduriaid, ond fod yr Iawn yn sicrhâu cadwedigaeth y rhai oll a fyddant feirw cyn dyfod yn alluog i weithredu drostynt eu hunain, y mae y gyfundraeth yn y wedd hon yn caniatâu yr oll, neu sylwedd yr oll, a gynnwysir yn y sylwadau blaenorol: ac nid oes genym ddim i'w ddywedyd yn ei herbyn, oddieithr fod y geiriad yn dra diffygiol; oblegid y mae yr Iawn wedi gwneuthur llawer mwy na difodi effaith y cwymp, gan ei fod yn codi pob un a gedwir i gyflwr uwch nag oedd Adda cyn pechu, ac yn ei sicrhâu hefyd yn y cyflwr hwnw yn dragywydd. Drachefn, os yw y gyfundraeth hon yn tybied, er caniatâu fod pawb wrth natur yn bechaduriaid, eto fod Crist wedi rhoddi Iawn digonol dros bawb yn yr un ystyr, fel na chosbir neb oblegid y pechod gwreiddiol, ond y cedwir pawb a fyddo farw heb bechu yn weithredol, y mae yn y golygiad hwn hefyd lawer o wirionedd; ond y mae yn fwy diffygiol na'r un blaenorol; ac y mae y diffyg yn awr, nid yn y geiriad yn unig, ond yn sylwedd y golygiad. Nid am ei fod yn rhy helaeth yr ydym yn ei wrthod, ond am ei fod yn rhy gyfyng. Nid yw y syniad yn rhy ëang gyda golwg ar ddigonolrwydd yr Iawn, yr hwn sydd o anghenrheidrwydd yn anfeidrol; ond y mae yn llawer rhy gul gyda golwg ar ei effeithiolrwydd. Y mae yn cynnwys nad oes dim mwy wedi ei wneyd dros y rhai cadwedig na'r rhai a fyddant byth yn golledig; ac os nad yw marwolaeth Crist yn gwneyd mwy i'r rhai sydd yn marw yn fabanod nag i'r lleill y rhai sydd yn treulio oes mewn gwrthryfel yn erbyn Duw, ac yn myned i uffern yn y diwedd, y mae yn rhaid nad yw yn sicrhâu cadwedigaeth yr un o honynt. A chyn y gall y golygiad hwn fod yn gyson âg ef ei hun, y mae yn rhaid iddo gynnwys ymhellach fod pawb yn cael eu geni oddiuchod pan yn fabanod; nid y rhai sydd yn marw yn fabanod yn unig, ond pawb yn ddiwahaniaeth; oblegid os yw pawb yn llygredig wrth natur, fel y mae y golygiad hwn yn tybied; ac os nad yw Duw yn gwneuthur gwahaniaeth rhwng y naill faban a'r llall, yr hyn hefyd sydd yn rhan hanfodol o'r golygiad,—yna y mae yn rhaid i ni gasglu fod holl blant Adda rywbryd yn eu cyflwr o fabandod yn myned trwy ryw oruchwyliaeth gyfatebol i'r hyn a elwir yn ailenedigaeth, ac ar yr un pryd, nad yw ailenedigaeth pawb yn sicrhâu cadwedigaeth neb.

Ond y mae un ffordd arall eto i ddeall y gyfundraeth hon, sef trwy dybied fod cyfryngdod Crist wedi attal llygredigaeth y natur ddynol. Addefir y buasai pawb yn bechaduriaid gwreiddiol mewn canlyniad i bechod Adda oni buasai fod hyny wedi ei luddias yn rhinwedd trefn y prynedigaeth; ond yn awr y mae Crist wedi gwneyd Iawn dros bechod Adda, ac o ganlyniad y mae pawb yn dyfod i'r byd mewn cyflwr o ddiniweidrwydd. Y mae yr esboniad hwn yn ymddangos oddiallan yn brydferth, a gellid meddwl ar yr olwg gyntaf ei fod yn meddu llawer o fanteision, gan ei fod yn proffesu cau allan bechod gwreiddiol heb gau allan gadwedigaeth trwy Grist. Ond y mae ychydig o ymchwiliad yn dangos ei fod yn ansafadwy. Yn y lle cyntaf gellir sylwi ei fod yn dirymu yr wrthddadl gadarnaf a fedd y rhai

sydd yn gwrthwynebu pechod gwreiddiol. Y dywediad cyffredin ydyw, fod athrawiaeth y pechod gwreiddiol yn anghyson â phob syniad rhesymol ac Ysgrythyrol am gyfiawnder Duw; ond y mae yn rhaid i'r rhai sydd yn coledd y golygiad dan sylw roddi yr wrthddadl hon heibio yn hollol ac am byth. Os yw Iawn Crist wedi attal llygredigaeth gwreiddiol, mae yn rhaid na fuasai yn anghyfiawn i bawb fod yn gyfranogion o hono. Pe buasai yn anghyfiawn, nis gallasai fod o gwbl; ac os nad allasai fod, nid oedd anghen am farwolaeth Crist i'w symud na'i attal. Afresymol i'r eithaf yw meddwl fod Crist wedi marw i attal yr hyn nas gallasai fod. Dyma ddau osodiad: yn gyntaf, nas gallasai y natur ddynol fod yn wreiddiol lygredig, gan fod hyny yn groes i gyfiawnder; ac yn ail, fod Crist wedi marw i attal y llwgr gwreiddiol hwn. Y mae yn eglur ar unwaith fod y ddau osodiad yn anghyson â'u gilydd; ac os cymerir un o honynt, y mae yn rhaid gwrthod y llall. Os yw marwolaeth Crist wedi attal y pechod gwreiddiol, y mae yn rhaid nad yw athrawiaeth y pechod gwreiddiol yn anghyson â chyfiawnder; ac o'r tu arall, os yw llygredigaeth gwreiddiol y natur ddynol yn groes i gyfiawnder, y mae yn rhaid i ni gredu mai nid Iawn Crist sydd wedi ei attal, ac o ganlyniad y mae plant bychain yn myned i'r nefoedd heb ran na chyfran yn ngwaith Crist. Nid oes eisieu ychwaneg i brofi fod y golygiad hwn yn dinystrio amddiffynfa grefaf y rhai hyny sydd yn ei ddwyn ymlaen i wrthwynebu pechod gwreiddiol. Ond os eir i edrych yn nesaf pa effaith y mae yn gael ar ymresymiadau y rhai sydd yn pleidio yr athrawiaeth hono, ceir eu bod oll yn aros heb gyffwrdd â hwynt. Ac nid hyny yn unig, ond ar ol dirymu yr wrthddadl benaf yn erbyn pechod gwreiddiol, y mae ei hun yn cael ei ddirymu gan dystiolaethau cyson a phenderfynol yr Ysgrythyr o blaid yr athrawiaeth hono. Y mae yr holl ysgrythyrau a grybwyllwyd eisoes yn aros mewn grym, ac yn dinystrio pob tybiaeth fod cyfryngdod Crist wedi attal llygredigaeth y natur ddynol. Y mae y Bibl yn cyfarfod â'r byd fel y mae, ac yn dangos nid pa fath fuasai ei gyflwr mewn rhyw amgylchiad tybiedig, ond pa fath ydyw ymhob oes ac ymhob gwlad: y mae yn dangos, nid y buasai dynolryw i gyd yn bechaduriaid oni buasai i Grist farw drostynt, ond eu bod oll yn bechaduriaid, ac i Grist ddyfod i geisio ac i gadw yr hyn a gollasid: y mae yn dangos, nid fod gwaith Crist mewn unrhyw amgylchiad yn symud yr anghenrheidrwydd am waith yr Ysbryd Glân, ond fod gwaith y Mab yn achosi ac yn sicrhâu gwaith yr Ysbryd. Er fod Crist wedi marw, "yr oeddym ni wrth naturiaeth yn blant digofaint, megys eraill." Er fod Crist wedi marw, "oddieithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw." Er fod Crist wedi marw, "yr hyn a aned o'r cnawd sydd gnawd, a'r hyn a aned o'r Ysbryd sydd ysbryd." Nid "yr hwn," ond "yr hyn," fel y sylwa Bengel, "yn dynodi elfenau cyntaf bywyd" *(notat ipsa prima stamina vitæ)*; neu o'r hyn lleiaf yn cyfeirio at ddyn fel goddefydd yn hytrach nag fel gweithredydd.

Wedi ceisio dangos fel hyn fod holl ddynolryw yn ddiwahaniaeth mewn cyflwr syrthiedig, y gofyniad nesaf sydd genym i'w ystyried ydyw, Pa fodd yr aethant i'r cyflwr hwn? Nid llawer sydd ar y pwnc olaf hwn yn y Bibl; yr hyn sydd yn ein dysgu mai y llall yw y mwyaf pwysig, ac mai y llall o ganlyniad a ddylai gael mwyaf o le yn ein credöau, ein pregethau, a'n holl addysgiadau. Er nas gellir barnu gwirionedd unrhyw bwnc wrth gyfrif nifer yr adnodau sydd yn ymddangos o'i blaid neu yn ei erbyn, y mae hon yn ffordd ddiogel i farnu ei bwysigrwydd; oblegid y mae yn sicr

mai y gwirioneddau a ddylai gael y sylw mwyaf genym ni yw y rhai hyny sydd yn cael y lle mwyaf yn y Bibl. A phan feddyliom am yr holl gynhwrf sydd wedi bod yn y byd mewn perthynas i'r modd yr aeth holl blant dynion yn bechaduriaid, ac yr edrychom cȧn lleied o bwys mewn cymhariaeth a roddir ar hyn yn y llyfr Dwyfol, y mae yn anhawdd rhoddi cyfrif am y gwahaniaeth oddieithr trwy ystyried y duedd gyffredin i fawrhâu yr hyn sydd bell, ac i esgeuluso yr hyn sydd yn agos atom. Y ffaith fawr, yr hon sydd yn eglur i bawb, ydyw fod yr holl fyd mewn cyflwr colledig; ac nad oes ffordd o waredigaeth i neb o hil Adda, oddieithr trwy waith cyfryngol y Mab, a gwaith sancteiddiol yr Ysbryd Glân. Pa fodd y syrthiodd dynolryw i'r cyflwr hwn, nid yw mor bwysig, ac am hyny nid yw mòr amlwg. Er hyny y mae rhai crybwyllion mewn ychydig fanau yn yr Hen Destament a'r Newydd, y rhai sydd yn rhoddi gradd o oleuni ar y gofyniad; ac fel y byddai Dr. Chalmers yn arfer dyweyd, Er na ddylem fod yn ddoeth tu hwnt i'r hyn a ysgrifenwyd, ni a ddylem ymdrechu i fod yn ddoeth hyd at yr hyn a ysgrifenwyd.

Yn y lle cyntaf, y mae yn sicr ddiammheuol nad yw Duw yn trosglwyddo drwg moesol i enaid neb, nac mewn un modd yn ei achosi. Gellir olrhain pob drwg gweithredol i ryw egwyddor ddrwg; a gellir olrhain yr egwyddor hon yn ol i foreuddydd bywyd; y mae i'w chanfod yn dechreu gweithredu fel y mae y plentyn yn dechreu gweithredu, yn tyfu fel y mae yntau yn tyfu, ac yn cryfhâu fel y mae yntau yn cryfhâu? Ond o barth y gofyniad, Pa fodd y dechreuodd, ac o ba le y daeth, y mae yn anhawdd rhoddi un atebiad penderfynol, heblaw ein bod yn sicr nad ydyw wedi dyfod oddiwrth y Crëawdwr. Dywed rhai nad yw yr egwyddor hon yn ddim mwy na hunan, ac nad yw y Crëawdwr ond yn unig yn gadael pawb iddynt eu hunain, a'u bod o ganlyniad, o honynt eu hunain, yn myned yn bechaduriaid. Ond sicr ydyw mai yr esboniad goreu, a'r mwyaf cyflawn a ellir ei roddi, yw yr un a gynnwysir yn ngeiriau yr Apostol, y rhai a goffäwyd eisoes: "Yr oeddym ni wrth naturiaeth yn blant digofaint megys eraill." Yn ol y geiriau hyn gellid meddwl mai o naturiaeth y mae pob drwg yn tarddu. Y mae ynddi lawer o ddaioni; oblegid "wrth naturiaeth y mae y cenedloedd y rhai nid yw y ddeddf ganddynt yn gwneuthur y pethau sydd yn y ddeddf;" ac yn ddiau, fel y mae yn waith Duw, nid oes ynddi ddim ond daioni. Er hyny pan gofier fod pob daioni ysbrydol yn oruwchnaturiol, y mae yn amlwg nas gall naturiaeth o honi ei hun ei gynnyrchu; ac i grëadur rhesymol nid oes sefyllfa ganol rhwng da ysbrydol a drwg ysbrydol; pan beidio a bod yn dda, y mae yr un fynyd yn wynebu ar bob drwg. Nid yw naturiaeth yn achos o bechod, mwy nag y mae y ddaear yn achos o'r drain a'r ysgall sydd yn tarddu o honi; ac y mae yn dra thebyg nad oes achos yn bod i bechod; er hyny y mae chwyn niweidiol yn tarddu yn naturiol o'r natur ddynol, yr un modd ag o'r ddaear; ac nis gall ddwyn ffrwyth da heb driniaeth ac ymgeledd y Llafurwr nefol. Mor bell â hyn y mae yn ymddangos fod rheswm ac Ysgrythyr yn ein harwain: ond y mae dechreuad drwg moesol yn anghyrhaeddadwy, wedi ei amgylchu â thywyllwch i'r hwn nis gallwn anturio. Y mae pob gwir athroniaeth yn cydnabod fod egwyddorion gwybodaeth yn wreiddiol yn y natur ddynol; ond nid oes un athroniaeth yn alluog i esbonio eu dechreuad. Y mae rhai yn tybied fod yr enaid wedi dysgu yr egwyddorion hyn mewn cyflwr blaenorol o hanfodiad. Y mae eraill yn amcanu olrhain y cwbl i ryw un egwyddor; ond nid

ydynt yn cydweled pa un yw hono, na pha fodd y daeth yr un hono i'r meddwl yn wreiddiol, na pha fodd y mae yr holl egwyddorion eraill yn tarddu o honi. Felly y mae pob duwinyddiaeth ddofn a thrwyadl yn cynnwys fod egwyddorion pechod yn wreiddiol ymhob dyn wrth naturiaeth; mor wreiddiol fel nas gellir gweled pa fodd y dechreuasant. Ac y mae pob gwir dduwinydd yn cydnabod fod pechod yn ddrwg anamgyffredadwy; yn anamgyffredadwy yn ei fawredd, ac yn anamgyffredadwy yn ei ddechreuad. Yn y naill amgylchiad fel y llall, y mae yn rhaid addef fod y ffaith yn bod, er nas gellir ei hesbonio: ac y mae y naill ffaith yn cadarnhâu y llall; oblegid, os caniatëir fod egwyddorion gwybodaeth, y mae mor rhesymol caniatâu fod egwyddorion pechod, yn wreiddiol yn y natur ddynol.

Ond y mae dau beth gyda golwg ar y mater hwn yn sicr ac yn amlwg. Yn gyntaf, y mae yn berffaith gyfiawn i Dduw adael y natur ddynol iddi ei hun, o ran dim rhwymau sydd arno i gyfranu y gras goruwchnaturiol sydd yn anghenrheidiol cyn y gellir etifeddu teyrnas nefoedd. Fel y sylwyd eisoes, nid yw wedi gadael y natur ddynol yn hollol iddi ei hun ymhob ystyr. Y mae wedi rhoddi goleuni naturiol i bawb, fel moddion a mantais i gyrhaedd gwybodaeth o Dduw: ac yr ydym yn caniatâu ymhellach mai yn ol graddau y manteision sydd gan ddyn y mae yn gyfrifol; ac mai nid cyfiawn fyddai gofyn oddiwrtho yr hyn nid oes ganddo gymhwysder naturiol i'w gyflawni. Ond y gofyniad yn awr yw, A oes rwymau ar Dduw roddi gras i ddwyn dyn i gyflawni yr hyn a ofynir ganddo? Nac oes, yn ddiammheu; oblegid, pe amgen, ni fyddai gras yn ras mwyach. Ac er fod y pwnc yn fwy dyrys yn ei berthynas â phlant bychain, na fydded i ni adael i'r hyn sydd dywyll sefyll rhyngom â'r hyn sydd oleu. A pha beth bynag sydd yn ammhëus, y mae yn wirionedd anwadadwy ymhob amgylchiad nad oes rwymau ar Dduw roddi gras i neb. Y mae efe yn rhagluniaethu "yn ol boddlonrwydd ei ewyllys ef:" ac y mae "yn gweithio pob peth wrth gynghor ei ewyllys ei hun." Y gwirionedd arall, yr hwn sydd mor amlwg â'r un blaenorol, ydyw, y gallasai Duw rwystro neu ragflaenu pechadurusrwydd y natur ddynol. Nid oes drwg anorfod mewn naturiaeth, nac mewn defnydd corfforol, fel y byddai rhai awdwyr Paganaidd yn tybied. Y mae Duw y Bibl, nid yn unig yn fwy na natur, ond yn gryfach na phechod ei hun. Ac os yw yn ei orchfygu, ac yn ei lwyr ddifodi, wedi iddo ennill nerth trwy hir deyrnasu, rhaid yw y gallasai yn hawdd ei attal yn ei gychwyniad. Nid yw efe yn arfer gwneuthur yr hyn oll a allo, oblegid y mae ei anfeidrol ddoethineb yn rhoddi terfyn i weithrediad ei allu.

Y mae yr ystyriaethau hyn yn ein harwain at ofyniad arall, yr hwn sydd yn dwyn perthynas fwy uniongyrchol â phechod Adda. Os yw Duw yn gadael naturiaeth yn amddifad o'r gras goruwchnaturiol, yr hwn sydd yn hedyn bywyd tragywyddol, a yw yn gwneuthur hyny heb reswm? Y mae hyn yn beth nas gellir ei gredu na'i feddwl. Er fe allai mai y golygiad mwyaf cywir ydyw, nad oes yma yr un gweithrediad o eiddo Duw, ond mai peidio rhoddi y mae, yr hyn nad oes arno rwymau i'w roddi, er hyny y mae yn rhaid i ni feddwl fod rhyw reswm paham y mae yn peidio. Nid oes lle i fympwy na damwain yn ymddygiadau y Duw anfeidrol ddoeth; a dangoswyd nad yw dan lywodraeth anghenrheidrwydd fel nas gallasai ymddwyn yn wahanol. Y mae yn gyfiawn iddo beidio cyfranu ei ddoniau goruwchnaturiol; ond er fod hyny yn gyfiawn, nid yw cyfiawnder yn ei wneuthur yn anhebgorol anghenrheidiol. Y mae gwahaniaeth rhwng

gweithred gyfiawn a gweithred o gyfiawnder. Mewn gweithred gyfiawn, heb fod yn weithred o gyfiawnder, y mae yn rhaid myned yn ôl yn wreiddiol at benarglwyddiaeth: ond nid yw penarglwyddiaeth yn gweithredu heb reswm, mwy nag y mae y ddeddf yn cosbi heb achos. Y mae penarglwyddiaeth yn gweithredu yn ol cynghor Dwyfol ddoethineb, fel y mae y ddeddf yn gofyn ac yn cosbi yn ol egwyddorion cyfiawnder dinewidiad: ac nid yw Dwyfol ddoethineb ond gair arall am reswm tragywyddol ac anfeidrol. Y mae cyflwr syrthiedig dynolryw yn ffaith gyffredinol, ac y mae yn rhaid fod rhyw reswm cyffredinol am y ffaith. Os yw y rheswm hwnw heb ei ddadguddio, nid oes genym ond ymostwng yn ddystaw, a chredu ei fod yn bod, er nas gallwn ddywedyd pa beth ydyw. Ond yn yr achos hwn, y mae un rheswm wedi ei ddadguddio, a hwnw ydyw, ein perthynas âg Adda. Ac er fod yn rhaid i ni gredu nad yw y rheswm hwn ond cylch yn cael ei gynnwys mewn cylchoedd mwy, a'r rhai hyny yn cael eu cynnwys mewn cylchoedd mwy drachefn, nes y maent o'r diwedd yn myned yn rhy ëang i ni eu hamgyffred na'u holrhain, y mae ein perthynas gyfammodol âg Adda yn rheswm agos atom, a hawdd ei ganfod. Dangosir yn amlwg yn y Bibl fod Duw yn ymddwyn tuag at ddynion yn ol yr un rheol yn y cyfanswm âg mewn cylchoedd llai, fod holl ddynolryw mewn undeb â'u gilydd yn un teulu dan un pen cyffredinol. Wrth wadu y golygiad hwn yr ydym, tra yn analluog i gau allan y ffaith, ar yr un pryd yn analluog i roddi cyfrif am dani; ac yr ydym o ganlyniad yn nghanol tryblith, heb reswm na threfn; neu dan orfod i aros mewn rhyw achos anianyddol, yr hwn nid yw ddim amgen na thynghed y Paganiaid. Ond wrth ganiatâu y golygiad, yr ydym yn esgyn uwchlaw annhrefn at drefn, ac uwchlaw anian difywyd at Benarglwydd moesol yn gweithredu bob amser yn ol rheol a rheswm. Pe gofynid am reswm i esbonio y gorthrwm llywodraethol, a'r drygau cyfreithiol, a ddyoddefir yn y dyddiau hyn mewn amryw wledydd, fe allai na fyddai gan y rhai mwyaf anwybodus yr un rheswm i'w roddi ond tynghed neu ddamwain. Y mae eraill ymhob gwlad yn gweled ymhellach, er nad yn ddigon pell, y rhai a ddywedant yn ebrwydd mai y ffurflywodraeth sydd arnynt yw yr achos, ac am hyny y dylid dileu pob trefniant gwladwriaethol. Ond y mae y rhai callaf yn gweled yn ddigon pell i wybod nad yw camymddygiadau eu llywodraethwyr yn profi fod pob ffurflywodraeth yn ddrwg; a'i bod yn well arnynt fel y maent na phe buasent yn genedl anwar heb lywodraeth na threfn. Felly, os gofynir am reswm i esbonio sefyllfa ac agwedd bresennol y natur ddynol, gellir ateb fod Penllywydd y byd wedi cysylltu holl ddynolryw yn un wladwriaeth; ac i'r drefn gyntefig gael ei gŵyrdroi, a'i rhwystro i gyrhaedd ei dybenion priodol. Ond er i Adda gamddefnyddio yr awdurdod a roddwyd iddo, nid yw hyny yn profi y buasai yn well i ni fod heb gysylltiad â threfniant cyfammodol. Yr oedd y gosodiad yn ddoeth a da: ac hyd yn nôd wedi ei dori, y mae hil Adda mewn gwell sefyllfa na phe buasent wedi eu gadael i sefyll neu syrthio drostynt eu hunain. Y mae yn amlwg tu hwnt i bob dadl mai syrthio y buasent oll yr un modd ag Adda, a syrthio i gyflwr îs nag y maent ynddo yn awr wrth naturiaeth. Buasent mewn cyflwr cymaint yn fwy truenus ag y mae cythreuliaid yn fwy truenus na dynion. Ond gan nad pa un a fuasent yn sefyll neu yn syrthio, nid yw Duw yn awr, o herwydd yr undeb âg Adda, yn achosi iddynt syrthio; ond y mae mewn canlyniad i'r undeb hwnw yn attal ei weithrediadau goruwchnaturiol, y rhai y buasai yn gyfiawn iddo eu

hattal pe na buasai yr undeb âg Adda yn bod. Gan fod yn gyfiawn iddo beidio cyfranu ei ras achubol, nid yw wrth beidio yn gwneuthur cam âg un dyn yn bersonol; ond gan y gallasai ei gyfranu, y mae yn rhaid fod rhyw reswm cyffredinol paham y mae yn peidio. Nid yw y rheswm cyffredinol yn gwneuthur anghyfiawnder â neb yn bersonol; ac nid yw cyfiawnder â phob un yn bersonol yn cau allan y rheswm cyffredinol.

Dymunem sylw neillduol at y pwnc hwn, fod Duw yn ymddwyn tuag at bawb o hil Adda fel y buasai yn berffaith gyfiawn iddo ymddwyn pe na buasai y cyfammod âg Adda yn bod. Nid tuag at Adda yn unig, na thuag at bawb fel y maent yn Adda, y mae yn gweithredu yn ol rheolau cyfiawnder, ond tuag at bob dyn yn ei berson ei hun. Y mae yn ymddwyn yn gyfiawn at bob dyn, nid yn unig oblegid ein bod yn Adda fel ein pen-cyfammodwr, ond er ein bod ynddo. Y mae ei ffyrdd tuag atom yn gyfiawn, nid yn unig wrth ystyried fod pob manteision wedi eu rhoddi i Adda, ac y buasent yn dyfod i ninnau pe cadwesid y cyfammod; ond y mae ei gyfiawnder yn ymddangos er i ni gymeryd i ystyriaeth yr holl ddrwg a ddaeth trwy dori y cyfammod. Gogoniant Duw ydyw, na raid iddo, ac nas gall, er mwyn lles cyffredinol, wneuthur y cam lleiaf â neb yn bersonol. Pa beth bynag y gellir meddwl am dano, a phrofi ei fod yn anghyfiawnder âg un dyn mewn un amgylchiad, yr ydym yn addef ar unwaith nad yw hyny yn bod. Yr hyn sydd anmherffaith ynom ni sydd berffaith yn Nuw; a pha beth bynag sydd yn groes i'r syniadau hyny am gyfiawnder a blanodd efe yn y meddwl dynol, gallwn fod yn sicr fod Duw yn anfeidrol bell oddiwrtho. Er anghraifft, byddai yn gabledd i ni ddywedyd ei fod yn medi lle nis hauodd, ac yn casglu lle nis gwasgarodd: ac nis gallwn gynnwys y meddwl am foment ei fod yn rhoddi cosb ar un cyfiawn yn groes i ewyllys y cyfiawn hwnw. Ac yma y mae un sylw arall yn anghenrheidiol, yr hwn nis goddef gonestrwydd i ni fyned heibio heb ei grybwyll. Llefarir weithiau am bechod Adda fel pe byddai ei holl hiliogaeth yn euog o hono. Y mae y dywediad hwn yn rhoddi cwmwl ar gyfiawnder; oblegid y mae cyfiawnder yn rhwymo yr euogrwydd wrth y gweithredydd. Ac heblaw hyny, y mae yn dinystrio y tebygolrwydd rhwng Adda a Christ, ac yn gwadu athrawiaeth y cyfrifiad. Nid yw yr Arglwydd yn ystyried ein bod yn euog o bechod Adda, megys nad oedd Crist yn euog o bechodau ei bobl, ac nad yw y saint yn haeddiannol o gyfiawnder Crist. Nid ydym yn euog o bechod Adda; ond y mae euogrwydd y pechod hwnw yn cael ei gyfrif i ni; hyny ydyw, y mae euogrwydd y pechod hwnw yn rheswm paham y mae yr Arglwydd yn gadael y natur ddynol iddi ei hun; fel y mae cyfiawnder Crist yn rheswm paham y mae yn derbyn pechaduriaid i'w heddwch, ac yn rhoddi ei Ysbryd iddynt. Ac y mae yn hysbys am y gair a gyfieithir *cyfrif*, ei fod yn tarddu o'r gair sydd yn arwyddo *rheswm*. Mae yn wir nad yw Adda ymhob ystyr yn gyffelyb i Grist; er hyny, gallwn fod yn sicr mai nid llai yw y dawn na'r camwedd, ond llawer mwy. Oddiwrth yr hyn a ddadguddir am farwolaeth Crist y mae yn hollol ddiberygl i ni ymresymu nas gall pechod Adda fod yn fwy effeithiol; ond nis gallwn ymresymu oddiwrth bechod Adda nad oes mwy o effeithiolrwydd yn marwolaeth Crist. Pa faint yw y gwahaniaeth rhyngddynt nid yw yn perthyn i ni geisio penderfynu. Y mae marwolaeth Crist yn sicrhâu bywyd tragywyddol; ond nid yw pechod Adda wedi sicrhâu colledigaeth neb. Y mae ffeithiau yn profi hyn; oblegid fe fydd tyrfa fawr yn gadwedig, yr hon ni ddichon neb

ei rhifo. Mor bell â hyn y mae y maes yn oleu o'n blaen; ond os eir i holi ymhellach pa beth fuasai cyflwr y rhai sydd yn meirw yn eu mabandod, pe na buasai Iawn wedi ei roddi drostynt, nid oes genym ond ateb fod hyny heb ei ddadguddio, oddieithr fel y mae yr egwyddor hono yn aros yn wir ymhob amgylchiad, nas gallasent ddyoddef dim mewn canlyniad i bechod Adda, ond yr hyn a fuasai yn gyfiawn pe na buasai y pechod hwnw wedi bod. Nid ydym yn gallu canfod sail i ddywedyd y buasent yn golledig; ond yn hytrach yr ydym yn cilio yn ol oddiwrth y dywediad, gan ein bod yn teimlo ei fod yn taraw yn erbyn pob syniad teilwng am gyfiawnder Duw. Yn lle holi pa beth fuasai eu cyflwr pe na buasai yr un iachawdwriaeth yn bod, digon i ni yw deall fod yr iachawdwriaeth sydd yn bod yn anfeidrol ddigonol er eu cadwedigaeth; ac er nad oes sail i dybied y buasent yn myned i uffern pe na buasai Crist farw drostynt, nid yw cyfiawnder tragywyddol yn ein rhwystro, ac y mae yr Ysgrythyr ei hun yn ein harwain, i gredu nas gallasent fyned i'r nefoedd heb gyfrifiad o waith Crist, a chyfranogiad o waith yr Ysbryd. Gan hyny, y mae yn rhaid fod ynddynt fwy na diffyg o sancteiddrwydd. Y mae egwyddorion pechod, yr un fath ag y mae egwyddorion gwybodaeth a moesoldeb, ynddynt yn wreiddiol. Nid Duw sydd wedi planu egwyddorion pechod ynddynt; er hyny gallasai eu hattal: ac er fod yn gyfiawn iddo beidio, y mae yn rhaid fod rhyw reswm paham y mae yn peidio; a'r unig reswm y gellir meddwl am dano yw, fod yr holl hil ddynol mewn undeb â'u gilydd yn Adda fel eu pen-cyfammodwr.

Er nad oes llawer ar hyn yn y Bibl, y mae yr ychydig sydd yn dra phenderfynol. Y mae yr hanes yn Genesis am sefyllfa dyn cyn y cwymp yn profi fod yno gyfammod, yn yr hwn nid oedd ond tiriondeb ato, a gofal am dano, yn cael eu dangos. Gwnaeth Duw o'i ddaioni bob peth tuag at ei ddiogelu hyd at ei gwneuthur yn anmhosibl iddo bechu. Cauodd o'i amgylch fel nas gallasai pechod ddyfod i mewn ond trwy un fynedfa; a rhybuddiwyd ef yn benodol i wylio ar y lle hwnw. Y mae y rhybudd hefyd a roddwyd iddo yn tybied addewid o fywyd trwy ufudd-dod. Ond anufuddhâu a wnaeth dyn: ac y mae canlyniadau ei anufudd-dod yn cael eu gosod allan gan yr Apostol Paul: "Trwy un dyn y daeth pechod i'r byd, a marwolaeth trwy bechod; ac felly yr aeth marwolaeth ar bob dyn, yn gymaint a phechu o bawb." Y mae yr esbonwyr galluocaf, megys Bengel, Philippi, Meyer, &c., yn barnu fod y rhan olaf o'r adnod hon yn cyfeirio at y camwedd cyntaf; "yn gymaint a phechu o bawb," nid yn eu personau eu hunain, ond yn Adda: ac y mae seiliau cryfion i gredu mai hwn yw yr esboniad cywir. 1. Y mae y geiriau yn ol pob ystyr arall yn anmherthynasol, heb fod yn cydweddu â'r adnodau nesaf, lle y sonir am "y rhai ni phechasant yn ol cyffelybiaeth camwedd Adda," nac yn tueddu i ddangos y tebygolrwydd rhwng Adda a Christ, yr hyn yw testun yr ymresymiad. 2. Gan fod yr apostol yn egluro pa fodd yr aeth marwolaeth ar bob dyn, nis gellir tybied ei fod yn gadael allan farwolaeth plant bychain: ond er fod plant bychain yn bechaduriaid, nid ydynt yn pechu eu hunain cyn dyfod yn gyfrifol drostynt eu hunain; ac am hyny, gan fod yr Apostol yn dyweyd eu bod wedi pechu, mae yn rhaid eu bod wedi pechu yn Adda: fel y dywedir mewn lle arall, "Os bu un farw dros bawb yna meirw oedd pawb;" neu fel y gellir darllen y geiriau, "Os bu un farw dros bawb, yna y bu pawb farw." Fel y buont farw yn Nghrist, felly y pechasant

yn Adda fel eu cynnrychiolwr. 3. Nis gellir cymhwyso y geiriau at blant bychain trwy eu cymeryd i arwyddo eu bod wedi myned yn bechaduriaid yn eu personau eu hunain; oblegid nid yw y geiriau yn arwyddo "myned yn bechadurus," ond y maent yn cyfeirio yn amlwg at ryw bechod neu bechodau gweithredol. 4. Nis gellir cymhwyso y geiriau at bechodau gweithredol dynolryw yn gyffredinol. Heblaw fod y golygiad hwn yn cau allan blant bychain o'r pawb sydd yn marw, y mae hefyd yn groes i gystrawen yr iaith; oblegid y mae y gair gwreiddiol yn cyfeirio yn ddiammheuol at ryw un cyfnod neillduol. Ond pe gwrthodid yr esboniad hwn, y mae digon o eiriau eraill yn yr un bennod i symud pob ammheuaeth. Yn adn. 16, dywedir, "Canys y farn a ddaeth o un camwedd i gondemniad:" nid o lawer camwedd, ond o un, sef camwedd Adda. Drachefn, yn adn. 19, dywedir, "Oblegid megys trwy anufudd-dod un dyn y gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid." Nid oedd modd dangos yn eglurach nag y dangosir yn y geiriau hyn fod cysylltiad uniongyrchol rhwng anufudd-dod un dyn â'r ffaith fod llawer yn bechaduriaid; a hwnw nid yn gysylltiad anianyddol yn unig, a llawer llai yn effaith efelychiad; ond cysylltiad moesol, cyffelyb i'r hyn sydd yn bod rhwng ufudd-dod un â gwneyd llawer yn gyfiawn. Ond yr hyn sydd yn fwyaf cadarn fel prawf, a mwyaf diogel i'n cadw rhag pob eithafoedd, yw cymhariaeth o'r holl adnodau uchod, ac ystyriaeth bwyllog o'r meddwl sydd yn rhedeg drwyddynt; sef y cyffelybrwydd rhwng Adda a Christ. Ar un llaw, ni ddylid rhoddi lle i'r un dybiaeth a fyddo yn cynnwys fod y berthynas ag Adda yn effeithio yn ddyfnach na'r berthynas â Christ, yr hyn a wneir trwy rai dulliau o ymadroddi a arferir weithiau, tra y mae yr Apostol yn dangos yn eglur fod y dawn trwy Grist yn fwy na'r golled a ddaeth trwy bechod Adda. Er hyny, y mae holl ymresymiad yr Apostol yn rhoddi y prawf sicraf fod Adda, yr un modd â Christ, yn ben-cyfammodwr, a chynnrychiolwr ei had; a bod y cyflwr yr ydym ynddo wrth naturiaeth yn dyfod o'r undeb cyfammodol âg Adda, fel y mae y cyflwr y codir ni iddo trwy ras yn dyfod o'r undeb cyfammodol â Christ. Y mae yn wir nad yw y geiriau, cyfammod, a chynnrychioliad, ar lawr yn y bennod; ond nid ydym yn gwybod am eiriau gwell i ddangos y meddwl sydd yn rhedeg trwy yr holl ymresymiad.

Y mae hyn yn ein tywys at ein hymofyniad olaf: sef, a oes rhyw reswm yn bod am ein cysylltiad cyfammodol âg Adda, fel y mae y cysylltiad âg Adda yn rheswm am gyflwr syrthiedig dynolryw? Yr ydym wedi ceisio dangos nad yw y cyflwr dirywiedig yr ydym ynddo wrth natur yn bod heb ryw reswm; ac mai y rheswm hwnw yw perthynas âg Adda; ond y mae yn ddiammheuol drachefn nad ydym wedi ein cysylltu mewn undeb cyfammodol âg Adda heb ryw reswm doeth a da. Ei fod yn bod sydd wirionedd, yr hwn y gallwn deimlo yn hawdd mai ein dyledswydd yw ei gredu pe nas gallasem ddywedyd yn benderfynol pa beth ydyw. Ond er y dylem fod yn wylaidd wrth ofyn am reswm dros ymddygiad yr Hollalluog, nid yw yn ormod hyfdra i ni edrych a ydyw wedi ei ddadguddio, a dilyn lle mae yr Ysgrythyr yn ein harwain. Y mae un rheswm wedi ei ledgrybwyll eisoes, hyny ydyw, y fantais oedd i ddyn yn y drefn gyfammodol. Gras yn Nuw oedd myned i gyfammod â dyn, a chynnyg bywyd tragywyddol am ufudd-dod byr iddo ef ac i'w holl had. Natur a dyben y cyfammod oedd gosod pob dyn mewn cyflwr annhraethol fwy manteisiol nag y buasai ynddo heb y drefn gyfammodol; ac ar ol i ddyn ei dori, nid oes neb mewn

cyflwr gwaeth na phe gosodasid ef fel Adda yn mharadwys i sefyll neu syrthio trwy ei ufudd-dod ei hun. Ond mae y gymhariaeth rhwng Adda a Christ yr hon a ddesgrifir mor fanwl gan yr Apostol, yn enwedig wrth ystyried nad yw un amser yn sôn am ein perthynas âg Adda oddieithr mewn cyferbyniad i'n perthynas â Christ, yn brawf eglur fod Adda wedi ei fwriadu i fod yn gysgod o Grist; ac mai y cyfammod gras yw y prif reswm dros sefydlu y cyfammod gweithredoedd. Nid oedd y cyfammod gweithredoedd ynddo ei hun yn anghyfiawn; ac annheilwng yw meddwl fod angen am Iawn Crist i wneyd y cyfammod gweithredoedd yn gyfiawn; ond er ei fod ynddo ei hun yn berffaith ddifai, ac nad oedd achos am ddim y tu allan iddo tuag at iddo fod yn gyson âg uniondeb y priodoliaethau Dwyfol, nis gallwn roddi lle i'r meddwl y buasai Duw, yr hwn oedd yn rhagweled y diwedd o'r dechreuad, yn ei sefydlu heb ryw reswm anfeidrol rasol; ac yr ydym yn cael y rheswm hwnw yn y drefn o gadw Adda a'i had trwy un Iesu Grist. Fel y mae y cyfammod âg Adda yn rheswm am yr hyn yw cyflwr dynolryw wrth naturiaeth, er y gallasent fod felly heb un cwmwl ar gyfiawnder Dwyfol pe na buasai yr un cyfammod gweithredoedd wedi ei sefydlu, yr un modd y mae y cyfammod â Christ yn rheswm am y cyfammod âg Adda, er y gallasai Duw yn gyfiawn wneuthur y cyfammod âg Adda pe na buasai y cyfammod â Christ yn bod. Er mwyn rhoddi gradd o eglurhâd ar y ddau reswm hyn ar unwaith, gellir cyfeirio at ffaith yr hon sydd yn adnabyddus i bawb. Y mae cenedl yr Iuddewon er ys canoedd lawer o flynyddoedd wedi colli eu gwlad, ac yn orthrymedig ac yn wasgaredig ar hyd wyneb y ddaear. Dyma y ffaith, yr hon sydd yn arddangosiad o gyflwr holl ddynolryw mewn ystyr ysbrydol; a diau fod rhyw reswm digonol paham y mae y ffaith hon yn bod. Y mae yn wir nad oes gan Iuddewon y dyddiau hyn sail i ddywedyd fod Duw yn ei Ragluniaeth yn ymddwyn yn anghyfiawn tuag atynt hwy yn bersonol. Er hyny, nis gallwn feddwl y buasent wedi syrthio i'r fath drychineb cyffredinol heb ryw reswm cyffredinol: a chredir gan y nifer amlaf o Gristionogion mai y rheswm hwnw ydyw, eu bod unwaith fel cenedl mewn cyfammod â'r Arglwydd, ac i gynnrychiolwyr y genedl dynu barn arnynt eu hunain a'u hiliogaeth trwy wrthod y Messïah. Ond yma y mae gofyniad arall yn dilyn yn naturiol, sef paham y cysylltwyd yr Iuddewon fel hyn mewn undeb cyfammodol: oblegid er fod y cyfammod yn gyfiawn ac yn dda, ac er ei fod heb un esboniad ychwanegol yn rheswm digonol am gyflwr presennol y genedl, eto gan fod yr amserol yn sylfaenedig ar y tragywyddol, diau fod y rheswm hwn yn ymddibynu ar ryw reswm arall mwy cyffredinol a pharhâus. Y mae y gofyniad hwn yn cyfateb i'r llall am reswm y cyfammod âg Adda; ac y mae yr un ateb yn addas i'r ddau: yr oedd y trefniant yn Eden, a'r trefniant Iuddewig, y naill fel y llall, yn gysgod ac yn rhagbarotöad i'r iachawdwriaeth trwy Grist. Fel hyn y mae y gymhariaeth oddiwrth y genedl Iuddewig, nid yn unig yn eglurhâd, ond yn brawf; oblegid y mae pob cymhariaeth ag sydd yn cynnwys egwyddor yn brawf ymhob achos mor bell ag y mae yr egwyddor hono yn cyrhaedd; ac yn yr achos hwn y mae egwyddorion cyfammod Sinai, fel yr edrychid arno gan yr Iuddewon, ac fel y gwrthwynebid ef o ganlyniad gan Paul, yr un âg egwyddorion y cyfammod yn Eden. Yr oedd cyfammod Sinai yn sefyll yn y canol rhwng Adda a Christ, ac fe allai yn cyfranogi i ryw fesur o natur y cyfammod gweithredoedd yn gystal â'r cyfammod gras. Ond pe caniatëid mai amlygiad o'r

cyfammod gras yn unig oedd cyfammod Sinai, nid oes un ammheuaeth nad oedd yr Iuddewon yn nyddiau Paul wedi ei ŵyrdroi, ac yn ei gyfrif ymhob ystyr yn gyfammod gweithredoedd. O ganlyniad y mae yr Apostol, er mwyn cyfarfod â hwynt, yn ymdrin âg ef fel y cyfryw; ac felly y mae ei holl ymresymiadau o barth y cyfammod hwnw yn eglurhâd ar natur a dyben y cyfammod âg Adda. Gan fod yr Apostol yn ysgrifenwr ymarferol, a chan mai mewn ymlyniad wrth gyfammod Sinai yr oedd y genedl Iuddewig yn ymrwystro, dan y wedd hono o anghenrheidrwydd y mae yntau yn ymdrin â'r pwnc, wrth ymresymu â'r Iuddewon, neu â'r rhai oedd yn cael eu hudo gan yr athrawon Iuddewig. Ond gan ei fod hefyd yr ysgrifenwr mwyaf athronyddol o bawb, y mae o hyd yn myned heibio i'r wedd allanol at yr egwyddor dufewnol; ac y mae yn cael fod hono yr un â hen egwyddor y cyfammod gweithredoedd. Gan hyny, y mae rhanau helaeth o'i epistolau yn draethodau ar y cyfammod gweithredoedd fel pwnc cyffredinol; a gellir cymhwyso ei ymresymiadau am gyfammod Sinai, ac yn eu plith yr adnodau a ganlyn, i ddangos y rheswm paham y sefydlwyd y cyfammod âg Adda. Rhuf. ii. 32, 33: "Canys Duw a'u cauodd hwynt oll mewn anufudd-dod, fel y trugarhäi wrth bawb. O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! mor anchwiliadwy yw ei farnau ef! a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt!" Gal. iii. 19—23: "Beth gan hyny yw'r ddeddf? Oblegid troseddau [neu er mwyn troseddau] y rhoddwyd hi yn ychwaneg, hyd oni ddelai yr had, i'r hwn y gwnaethid yr addewid; a hi a drefnwyd trwy angelion yn llaw cyfryngwr. A chyfryngwr nid yw i un; ond Duw sydd un. A ydyw y ddeddf gan hyny yn erbyn addewidion Duw? Na ato Duw: canys pe rhoisid deddf a allasai fywhâu, yn wir o'r ddeddf y buasai cyfiawnder. Eithr cydgauodd yr Ysgrythyr bob peth dan bechod, fel y rhoddid yr addewid trwy ffydd Iesu Grist i'r rhai sydd yn credu. Eithr cyn dyfod ffydd, y'n cadwyd dan y ddeddf, wedi ein cydgau i'r ffydd, yr hon oedd i'w dadguddio."

Lewis Edwards M.A.

Bala

# DIRGELWCH DUWIOLDEB.

Eglur ydyw nas medr yr hŷd a'r lled, yr uchder a'r dyfnder mwyaf y gall y meddwl dynol amgyffred, fesur ond rhanau o ffyrdd y Goruchaf. Nid rhaid i ddyn ond olrhain ychydig ar y pethau nesaf ato er deall mai yn nghanol anfeidroldeb iddo ef y mae yn trigo. Dywed Pascal "fod dyn wedi ei grogi rhwng dau eigion—*anfeidrol* a *dim*—a'i fod mor bell oddiwrth y naill âg ydyw oddiwrth y llall. Y mae yn *ddim*," medd ef, "wrth ei gymharu âg *anfeidroldeb*, ac yn *anfeidroldeb* wrth ei gymharu â *dim*." Dywed yr un meddyliwr enwog, "fod dyn yn y byd yma yn debyg fel pe byddai iddo gael ei ddwyn ymaith yn ei gwsg, a'i osod i lawr ar ryw ynys, heb wybod yn iawn pwy a'i dygodd yno, nac o ba le, ac i ba ddyben y

cafodd ei ddwyn yno." Y mae dyn mor fychan fel y mae yn methu cyrhaedd gwybodaeth hollol am ddim, gyda golwg ar y byd arall, ac eto mor fawr fel y mae yn methu bod yn dawel heb wybod y cwbl perthynol iddo. Ac wrth fethu gwybod pob peth perthynol i wirioneddau Dadguddiad, ceisiodd rhai gredu a phrofi nad *gwirioneddau* ydynt, ond rhyw eiliwiadau o eiddo dychymyg a mympwy dynion. Eraill, yn ngrym eu gwendid, a neidiant i ganol gwirioneddau goruwchddynol, gan ddysgrifio ffeithiau, dadgysylltu gosodiadau, sefydlu deddfau, &c., a rhai o honynt, hwyrach, yn barod i dybied fod Dirgelwch Duwioldeb yn rhy fychan i ddwyn eu ffydd hwy i weithrediad. Anhawdd ydyw gwybod yn iawn pa un o'r ddau ddosbarth hyn sydd fwyaf o'i le; ai yr hwn sydd yn dal nad ydyw yr hyn y mae ef heb wybod yn bôd, neu yr hwn sydd yn dal ei fod ef yn gwybod pob peth sydd mewn bod. Modd bynag, mae yn eglur nad ydyw y naill na'r llall wedi derbyn cydsyniad cyffredinol dynolryw. Mae greddf ac arferiad yn peri iddynt wrthod *dim* y naill, a *chwbl* y llall. Yn nghanol ammheuaeth, y mae dyn ar y cyfan yn credu yn hanfodiad byd arall, a'i gysylltiad yntau âg ef, ac er hyny yn gorfod credu ar yr un pryd nad ydyw wedi cyrhaedd ond ychydig wybodaeth am nerthoedd a gwrthddrychau y byd hwnw, ac yn teimlo, fel y dywed un, fod "llèn y deml yma heb ei rhwygo." Y mae yr oes hon yn ceisio myned i mewn hyd at yr hyn sydd o'r tu fewn i'r llèn, mor frwdfrydig âg un oes fu ar y ddaear erioed. Er fod bywyd ac anllygredigaeth, trwy yr efengyl, wedi eu dwyn i oleuni digonol i ffydd weithredu, eto y mae bywyd ac anllygredigaeth—Duw, cysylltiad dyn âg ef, sefyllfa ddyfodol, &c.—yn trigo mor bell yn y goleuni yma, fel y rhaid i ni, tra yn y byd hwn beth bynag, foddloni i rodio wrth ffydd ac nid wrth olwg. Triga gwirionedd yr efengyl mor bell oddiwrthym, fel nas gallwn ddyfod ato yn y fath fodd âg i allu cyrhaedd gwybodaeth hollol am dano; y sicrwydd mwyaf a allwn gyrhaedd am dano ydyw sicrwydd ffydd.

Rhana y Gwirionedd ei hun i amryw fathau:—megys, rhifyddegol a mesuronol; damcanol (*speculative*); moesol; meddyliol, &c. Caria y cyntaf bob amser sicrwydd ynddo ei hun; nid oes graddau yn perthyn iddo, ac nid oes, rywfodd, posibl meddwl yn wahanol am y math yma o wirionedd. Meddylier am yr hyn a ganlyn er enghraifft: Yr oll sydd fwy na rhan o unrhyw beth. Nis gall yr un darn o fater fod mewn rhagor nag un man yr un amser. I bob effaith y mae achos. Caria gwirionedd y gosodiadau yna sicrwydd hollol o hono ei hun i bob meddwl ar unwaith. Ond nid felly gyda golwg ar y tri math arall o wirioneddau a nodwyd. Pe meddyliem am faterion gwladol, cymdeithasol, neu feddyliol; cânt eu deall yn hollol wahanol gan wahanol feddyliau, fel y maent yn cymeryd y ffurf o opiniwn yn y meddwl—y gradd mwyaf anmherffaith, yn ol Kant, y gall y meddwl ddal unrhyw beth fel gwirionedd. Gyda golwg ar bob gwirionedd a ymddibyna ar ffeithiau, nid ydyw ond oferedd ymofyn am sicrwydd arbrofawl (*demonstrative*) o hono, oblegid y mae hyny, yn ol natur amgylchiadau, yn anmhosibl. Er y gall fod genym weithiau fath o sicrwydd fod rhyw ffaith wedi neu i gymeryd lle, eto nis gall unrhyw sicrwydd o'r natur yma fod y fath fel nas gallwn *feddwl* i bethau fod fel arall. Y mae gan y rhai na fuant yn yr America sicrwydd hanesyddol fod y fath le yn bod yn y Gorllewin yn rhywle; ond byddai yn hawdd i ni *feddwl* nad oes y fath le yn bod er hyny. Y mae genym fath o sicrwydd y machlud yr haul y prydnawn heddyw, ac y cyfyd y boreu fory; ond hawdd iawn i ni feddwl

fel arall—nid oes genym sicrwydd o'r natur ag sydd genym mewn mesureg. y gwna y naill na'r llall. Felly y gellir dyweyd am bob gwirionedd moesol a hanesyddol—y mae yn anmhosibl i ni gyrhaedd y sicrwydd am danynt: a berthyn i'r gwyddoregau pur; a pherthyn i'r math yma o wirioneddau y mae gwirioneddau yr efengyl. Y mae Duwioldeb neu Gristionogaeth yn *ddirgelwch*.

Mae y Bibl, fel dadguddiad o Dduw, dyn, tragywyddoldeb, &c., yn rhwym o fod yn *ddirgelwch* i ni, tra yn y byd hwn, o'r hyn lleiaf, oblegid dau reswm. Yn gyntaf, y mae yn ddadguddiad o wirioneddau a gwrthddrychau rhy fawrion i'w hamgyffred gan ddyn. Yn nesaf, y mae sefyllfa dyn yma yn sefyllfa o ddysgyblaeth, a Duwioldeb yn bwnc o ddyledswydd iddo. Mae y blaenaf, hwyrach, yn codi oddiar fawredd Duw a bychander dyn; a'r olaf, oddiar fawredd dyn a phenarglwyddiaeth Duw.

Ond meddylier am y blaenaf. Mae y Bibl yn ddadguddiad o rai gwirioneddau a gwrthddrychau rhy fawrion i ni yn ein sefyllfa bresennol eu hamgyffred. Nid oes un syniad (*idea*) o honynt yn ein meddwl. Pe meddyliem am hanfodiad Duw yn Dri Pherson, ymgnawdoliad y Mab, deilliad yr Ysbryd Glân, dyfodiad pechod i'r byd trwy y dyn cyntaf, ei gondemniad trwy yr Ail Ddyn o'r nef, holl weithrediadau y byd anweledig, &c.,—mae cyrhaedd gwybodaeth hollol—deall y sut a'r pa fodd o barth y dadguddiedigaethau hyn, yn hollol anmhosibl i ddyn. Y mae ei feddwl yn anfeidrol ry fychan i'w cymeryd i mewn iddo ei hun. Mae y dadguddiedigaethau ofnadwy yma y fath nas gall y meddwl ystyriol wneyd dim ond *credu* a *chrynu* yn yr olwg arnynt.

Teimla y meddwl sicrwydd hollol gyda golwg ar ddeddfau rhif a mesur, oblegid y mae egwyddorion sylfaenol y gwyddoregau yma yn y meddwl yn wreiddiol. Pan roddir rhyw osodiad perthynol iddynt ger bron y meddwl, neu ryw wrthddrychau i'w cymharu, gall gymeryd i mewn eu holl ranau, ac amgyffred eu cydhanfodiad a'u cydberthynas, fel y gwêl gyda sicrwydd gyttundeb neu anghyttundeb y cyfryw. Mae genym sicrwydd fod tri yn fwy na dau. Gwyddom fod pob llinell o ganol cylch (*circle*) i'w amgylchedd (*circumference*) yr un hŷd, o herwydd y mae syniad am gylch perffaith genym yn ein meddwl. Y mae genym y sicrwydd perffeithiaf mai nid *gwyn* ydyw *du*. Yr ydym yn amgyffred mai nid yr un syniad sydd genym am *wyn* ag sydd genym am *ddu*. Ac felly yn y blaen. Eithr anmhosibl ydyw i ni gael sicrwydd hollol, fel sydd genym am ddeddfau rhif a mesur, mewn perthynas i wirioneddau yr efengyl, oblegid nid oes genym, os gallwn ddyweyd felly, un safle i sefyll arno er edrych arnynt yn eu holl ranau; dim ond rhyw du cefn i wirioneddau yr efengyl a allwn ni weled; y maent yn rhy fawrion i ni edrych arnynt yn eu holl ranau. Os caiff Moses yn holltau y graig weled Duw, dim ond ei du cefn Ef a all ef edrych arno, am fod ei feddwl yn rhy fychan i gymeryd wyneb a chefn Duw i mewn iddo ei hun. Yn gyffredin, y ffordd y byddwn ni yn dyfod i wybodaeth am bethau ydyw, eu gosod dan ryw ddeddfau—eu rhifo, eu mesur, neu eu pwyso. Os cyflëir rhyw fawredd ger bron y meddwl, rhêd yn y fan i'w gymharu â rhyw wrthddrych mawr y gwyddai am dano o'r blaen. Os ymddengys rhyw uchder dyeithr o'i flaen, gesyd y meddwl yr uchder dyeithr yn ymyl rhyw uchder adnabyddus iddo, er ffurfio barn am dano. Ond nis gallwn osod dirgeledigaethau duwioldeb dan ddeddfau felly o'n heiddom ni; y maent yn rhy fawrion o lawer. Y mae llinyn mesur ein

deddfau ni yn rhy fyr i rychwantu tu cefn eu mawredd ofnadwy. Y mae mawredd ac uchder llawer o'r gwrthddrychau a'r gwirioneddau a ddadguddir i ni yn yr efengyl, heb fod o'r un natur a'r mawredd a'r uchder y gall y meddwl dynol, yn ei sefyllfa bresennol, amgyffred. Nid oes un cydhanfodiad rhyngddynt; ac o ganlyniad nid posibl eu cymharu, oblegid "*Heterogenia non comparari possunt;*" a chan nas gellir eu cymharu, nis gallwn ni o ganlyniad eu dirnad yn iawn; y maent yn rhwym o fod yn ddirgelwch i ni. Gellir dywedyd am lawer o wirioneddau yr efengyl, "Cyfuwch â'r nefoedd ydynt, pa beth a wnawn ni? dyfnach nag uffern ydynt, pa beth a allwn ni wybod am danynt? Y mae eu mesur yn hŵy na'r ddaear, ac yn lletach na'r môr;" hyny yw, y mae eu mawredd a'u huchder uwchlaw, islaw, tu hwnt, tu yma, i bob mawredd y gall ein meddwl ni ymafaelu ynddo.

Ond heb son am fawredd a dirgelwch Duw o ran ei hanfod a'i natur; dyfnder ei gariad, ac uchder ei feddyliau; trigle ei orseddfainc, a thywyllwch ei ffyrdd; y rhai na ddengys goleuni tanbaid byd arall, mae yn debyg, ond fel "dwfr i nofio heb fyn'd trwyddo;"—heb son am y dirgeledigaethau yna o eiddo Duwioldeb, mae yr hyn a fyddwn ni ein hunain wedi tori y cysylltiad sydd rhyngom âg amser a lle yn ddirgelwch i ni. "Nid amlygwyd eto beth a fyddwn." Cael dadguddiad a roddai wybodaeth hollol pa beth a fyddwn wedi gadael amser, sydd beth anmhosibl i ni fel ag yr ydym yn awr. Pe gosodid allan weithrediadau ysbrydol y byd tragywyddol ar raddfa gyfatebol i'w natur, byddent yn hollol annealladwy i ni; megys y dywed Crist wrth Nicodemus, "Os dywedais i chwi bethau daearol, a chwithau nid ydych yn credu, pa fodd os dywedaf i chwi bethau nefol y credwch?" Pe gwisgasai Iesu Grist yr athrawiaeth ysbrydol y siaradai am dani â Nicodemus, a'r amlygiadau a rydd yn aml o fyd arall, mewn iaith ac ymadroddion cyfuwch â'u natur, buasai yn anmhosibl i ni eu credu, llawer llai eu gwybod yn hollol. Yn awr, nid oes genym ddirnadaeth am bethau ond trwy gyfrwng ein synwyrau corfforol. Meddwl yn gweled heb lygaid, ac yn clywed heb glustiau, sydd beth nad oes genym ni, yn ein sefyllfa bresennol, un dychymyg pa beth a all fod. Ond pa ddyben dyfalu? y mae yn anmhosibl i ni ddychymygu am *fodolaeth* Dadguddiad a roddai wybodaeth hollol i ni o weithrediadau y byd arall; oblegid ymadroddion amser a lle sydd genym ni, gwnawn a fynom; a thrwy gyfryngau o'r fath, y mae yn annichonadwy i ni ffurfio un ddirnadaeth am *fôd* y fath ddadguddiad, chwaithach ei ddeall yn ei holl ranau.

Arferiad y Bibl, yn y cyffredin, ydyw adrodd gwirioneddau heb ddyweyd dim am y *pa fodd* a'r *paham* cysylltiedig â hwynt. Ac un rheswm am hyny yn ddiau ydyw—y byddai hyny yn aml yn anmhosibl yn ei gysylltiad â dyn. Y mae Duw yn bôd, medd yr Hen Destament, a'r "Arglwydd ein Duw ni sydd un Arglwydd," heb geisio profi hyny trwy unrhyw ddadl a arferir gan athronwyr i hyny. Pan ofynodd Moses ei enw i Dduw gynt, yr ateb a gafodd oedd, "YDWYF YR HWN YDWYF." Fel pe dywedasai Duw wrtho, Y mae yn anmhosibl i genedl Israel gael ateb cyflawn a hollol i'r fath ofyniad; ond tuag at wneyd y goreu o'r gwaethaf, dywed wrthynt mai YDWYF a'th anfonodd atynt. Caria yr ymadrodd hwna gymaint o honof iddynt ag a fedr eich iaith chwi, ddynion, ymgynnal odditano. Dywed wrthynt, "YDWYF a'm hanfonodd atoch." Y mae cymaint yn hyna âg a fedr y meddwl dynol ddefnyddio, ac y mae ynddo ddigon iddynt hwy ar y pryd. Y mae yn Nuw ogoniant mwy ofnadwy nag y gall ymadroddion dynol, a geiriau amser, ymgynnal odditano, tuag at ei drosglwyddo i ddyn-

ion. "Ysbryd yw Duw," medd y Testament Newydd, heb roddi desgrifiad yn y byd o ysbryd, na'r deddfau perthynol iddo. "Ganwyd i chwi," medd efe, "Geidwad yn ninas Dafydd, yr hwn yw Crist yr Arglwydd;" heb wneyd un esgusawd dros ddywedyd peth mor hynod a bod yr Arglwydd wedi ei eni—yr Hwn a gynnwysai amser a thragywyddoldeb, a'u coflaid aruthrol, yn ninas Dafydd, ac yn y fan hono yn ddeiliad heddyw amser. Y mae y Testament Newydd yn gyflawn o ymadroddion yn dangos *fod* byd arall; ond pa fath fyd a fydd a âd i raddau mawr tu hwnt i'r llèn. "Byddwch byth," medd efe wrth bawb o'i ddarllenwyr; "ond pa beth a fyddwch nid amlygwyd eto." Dim ond taflu ffeithiau ger ein bron y mae, yn y cyffredin, heb roddi un rheswm am danynt. Dwg Dduw yn ddigon agos atom i'w addoli, ond nid i'w weled. "Ni welodd neb Dduw erioed, ac nis dichon ei weled." Daw â byd arall yn ddigon agos atom i ddeall ei fod yn hanfodi, fel y dywedwyd, ac y bydd ei wae neu ei wynfyd yn gyfran cyn hir i ni; ond rhaid i ni aros am enyd cyn myned i mewn iddo, er gweled pa fodd y mae ei weithrediadau yn cael eu cario ymlaen. Y mae y byd dyeithr yn ddigon agos atom i ni glywed swn ei ddyfroedd; eithr nid oes genym amcan am faint ei foroedd, uchder eu tònau, na dyfnderoedd eu gwaelodion. Gwelwn odre ei fynyddoedd, ond claddant eu penau yn niwl tywyllwch tragywyddoldeb, fel nad oes genym amcan am eu mawredd a'u huchder. Yn mygythion y Bibl clywn rywbeth o adsain corwyntoedd a thwrf taranau y byd tragywyddol; eithr am ddyferion tân ei gymylau, y rhai a ddisgynant ar yr annuwiol yno, nid oes genym ond dychymygu. Caria addewidion y Bibl ar eu hedyn enwau rhai o ganiadau Sïon y byd arall i ni, ond dim ond prin digon i ddeall fod yno ganiadau yn *bod*. Y maent yn rhy bell oddiwrthym, ac yn uwch yn eu natur nag y gallwn ni ar y ddaear ffurfio un drychfeddwl uniawn am natur eu cordiau, ysgogiad eu moddau, ac amrywiaeth eu lleisiau. Y mae holl drefniadau y byd tragywyddol ar raddeg rhy fawr i ddyn yn y byd hwn allu esgyn i unrhyw ddirnadaeth gywir am danynt: y mae duwioldeb yn ddirgelwch.

Eto, y mae *Duwioldeb* yn *Ddirgelwch* i ddyn, tra yn y fuchedd bresennol, oblegid y mae ei sefyllfa yma yn sefyllfa o ddysgyblaeth erbyn byd arall. Mae dyn wedi cael ei gynnysgaethu â'r fath alluoedd uchel, fel y mae yn hunanweithredydd. Gall ddewis y drwg a glynu wrth y da, fel y byddo yn ewyllysio. Hoff wrthddadl anffyddwyr yr oes hon, fel agos ymhob oes arall, yn erbyn crefydd y Bibl, ydyw ei bod yn anamgyffredadwy, a thrwy hyny yn anmhosibl i'w chredu a'i derbyn. "Nis gallwn amgyffred," meddant, "ac o ganlyniad nis gallwn gredu. Pe caem brawf anammheuadwy o wirionedd y grefydd Gristionogol, derbyniem hi fel gwirionedd Dwyfol." Ond y mae prawf felly o *dduwioldeb*, neu grefydd, yn beth nas caniatëir i ddyn tra yn y byd hwn, hyd yn nôd o'r hyn a allasai efe amgyffred perthynol iddi; oblegid y mae yn *ddyledswydd* ar ddyn fyw i fyny â gosodiadau crefydd, ac y mae *dyledswydd* ar unwaith yn tybied y posiblrwydd o wrthwynebu ei hawliau. Ymddibyna cyflawniad dyledswydd ar y gallu moesol sydd yn yr enaid. Gan mai ufudd-dod gostyngedig i'w Grëawdwr ydyw sefyllfa dyn yn y byd hwn, y mae yn annirnadwy pa fodd y gallai ymdeimlo â'i ewyllysgarwch i roddi yr ufudd-dod crybwylledig i Dduw gyda phrawf anammheuadwy o wirionedd crefydd. Gan hyny y mae y dyn sydd yn gofyn sicrwydd felly o wirionedd crefydd er cyflawni ei ddyledswydd, yn gofyn peth anmhosibl; oblegid ceisia gyf-

lawni ei ddyledswydd dan amgylchiadau a osodai bob dyledswydd yn beth anmhosibl.

Y gwir ydyw, fel y sylwa John Foster, y *gallai* Duw roddi gwybodaeth helaethach, os nid hollol, i ddyn, o rai pethau, gyda golwg ar ei sefyllfa bresennol a dyfodol. Gallai, mewn rhan yn ddiammheu, roddi atebiad i ofyniadau awenyddol peraidd ganiedydd Pant y celyn, gyda golwg ar y nefoedd a Christ mewn gogoniant; megys,

> "A yw ôl yr hoelion yno,
> Yn ei draed ac yn ei ddwylo?"

A ydyw yr enaid yn gwybod am amgylchiadau y ddaear wedi gadael y corff? a oes rhyw gymdeithas rhyngddo âg ysbrydion eraill uwch neu îs nag ef ei hun? a fydd efe yn adnabod ei gyfeillion oedd ganddo ar y ddaear yn y nefoedd? Gallai hefyd roddi iddo wybodaeth hollol am lawer o athrawiaethau dyrus yr efengyl; esbonio heb ddim yn taraw i'r gwrthwyneb drefn y prynedigaeth drwy Grist Iesu, rhoddi y fath eglurhâd ar ffurflywodraeth eglwysig, fel na byddai posibl camddeall gyda golwg ar ei natur, a phethau cyffelyb. Diammheu y *gallai* Duw hefyd roddi y fath amlygiad o'r nefoedd ac o uffern, fel y buasai yn anmhosibl peidio gochel y naill a cheisio y llall. Gallai anfon lliaws o lu nefol i'r ddaear yn llwythog o ddodrefn Caersalem, a chaniatâu iddynt gyffwrdd â rhai o dànnau telynau eu gwlad, a chwareu darnau o'r

> "Anthem faith ei hŷd,
> I gyd am Galfari,"

nes peri i bechaduriaid y blaned fod yn fyddar dragywyddol i sŵn eu gwlad eu hunain. Neu fe allai Brenin gogoniant roddi benthyg ei goron i fyntai o seraphiaid ddyfod ar bererindod trwy diriogaethau y byd yma, a rhoddi iddynt awdurdod i wneuthur arddangosiad o honi ger bron trigolion y llawr, nes y byddai dysgleirdeb ei pherlau a'i gogoniant yn eu dallu am byth i bob peth ond gogoniant y nef. Ac os byddai ambell hen bechadur yn ddigon caled er pob peth i fynu myned i ddystryw, *gallai* Duw gauad y ffordd lydan sydd yn arwain yno â lleng o deyrn Gehenna, â'u cadwynau yn gwreichioni, eu cleddyfau yn fflamio, eu ffroenau yn mellteni, a'u tafodau tân yn taranu, nes y byddai y caletaf yn gorfod ffoi tua'r nefoedd. Ond ni *fyn* Duw weithredu felly tuag at ddyn. Yn lle ei orfodi i fyned i ddedwyddwch, gadawodd ddigon o "bethau anhawdd eu deall" o gwmpas ei Air, fel y gall yr annysgedig a'r anwastad eu gŵyrdroi i'w dinystr eu hunain os ewyllysiant. Nid ydyw gwirionedd y Bibl y fath ag a orfoda ddyn i'w gredu. Nis gall y grëadigaeth ddireswm lai na gweithredu fel y mae yn gweithredu, oblegid y mae rhyw ddeddfau yn ei gorfodi i weithredu felly. Dyna y môr, fel gan ddychryn y gwynt, a'i fynwes yn ymchwyddo yn fynyddoedd tònog, yn claddu dan eu dyfrllyd seiliau y llong a'r llongwyr yn aml. Nid oes ganddo ef help am wneyd yn y modd dychrynllyd, canys y mae y gwynt ystormus yn rhuthro i'w wyneb nes ei orfodi. Nis gall y gwynt chwaith lai na gweithredu fel y gwna; o herwydd gosododd yr Hwn sydd â'r gwynt yn ei ddyrnau anghenrhaid arno i ofalu bod cydbwysedd awyrol yn ei le yn yr awyrgylch. Dyna filoedd o fydoedd yn sefyll yn grogedig ar ddyddim, heb ysgogi hanner modfedd o'u lle priodol am gannoedd o oesau; ac nid rhaid diolch iddynt am

hyny—y mae deddf dyscyrchiad fel wedi eu hoelio ar bared anweledig fel y mae yn rhaid iddynt fod fel y maent. Pe meddyliem eto am y tân a'r gwynt tanddaearol sydd yn achos o'r daeargrynfâau echryslawn sydd mewn manau y dyddiau hyn; gellid meddwl eu bod a'm hollti y ddaear, ac â'u hysgwydd gref ei symud o'i lle. Ond er eu bod yn ysgwyd gwledydd, crynu mynyddoedd, a chladdu dinasoedd, nid oes neb yn teimlo awydd eu galw i gyfrif am y trychineb arswydlawn a achosant; oblegid nid gweithredu y maent hwy, ond cael eu gweithredu gan arall. Yr un modd y gellir dyweyd am bob creadur direswm. Ond y mae dyn yn grëadur rhy fawr i'w orfodi i weithredu yn foesol hyd yn nôd gan Dduw—medda efe ar ewyllys yr hon nid ŵyr am orfodaeth.

Yn awr, tuag at roddi ufudd-dod ewyllysgar i dystiolaeth Duw yn ei air, ymddengys fod yn rhaid iddi fod o natur a roddai lawer llai na phrawf anammheuadwy i'r meddwl o'i gwirionedd. O eisieu cael sicrwydd felly am Ddwyfoldeb ei Berson a'i genadwri y cwerylai yr Iuddewon yn aml â Christ yn nyddiau ei gnawd. "Pa hyd," meddent, "yr wyt yn peri i ni ammheu? os tydi yw y Crist, dywed i ni yn eglur." Meddent ar amser arall, "Ni a chwennychem weled arwydd genyt," pan yr oedd Iesu Grist newydd ddangos iddynt arwydd trwy iachâu y cythreulig, mud, a dall. Diau mai yr hyn a geisient ydoedd, rhyw brawf mor hollol—trwy lef o'r nef, neu y cyffelyb, fel y mae Marc yn adrodd—nes y byddai yn anmhosibl iddynt ammheu mai Efe oedd y Messïah—prawf mor hollol, fel na byddai gan anghredinaeth le i osod gwadn ei throed i lawr mewn modd yn y byd. Eithr y mae Crist yn dangos iddynt na chaent brawf felly. "Arwydd nis rhoddir iddynt," meddai, "ond arwydd y prophwyd Jonas;" hyny ydyw, parhâd a pherffeithiad, trwy ei adgyfodiad oddiwrth y meirw, o'r un arwyddion o ran natur â'r hyn a gawsent yn barod. Rhoddodd Iesu Grist ddigon o brawf, i bob meddwl diragfarn ac ystyriol, mai efe ydoedd y Crist; ond nid ydoedd y fath fel nas gallai y meddwl rhagfarnllyd a llygredig anghredu, o herwydd cawn brawf eglur o hyny yn eiddo yr Iuddewon, fel cenedl, pan oedd Mab Duw ar y ddaear. Yr un fath yw y meddwl anffyddaidd ac anghrediniol, yn ein dyddiau ninnau, âg ydoedd yn nyddiau arosiad Crist ar y ddaear. Dywedant wrth Gristionogaeth,—"Os tydi ydyw y grefydd iawn, pa hyd y peri i ni ammheu? dywed i ni yn eglur. Os ydyw Duw yn hoff o drugaredd, os nad ydyw yn ewyllysio bod neb yn golledig, ac os ydyw am i holl gŷrau y ddaear droi ato i gael eu hachub, ni a ewyllysiêm weled arwydd o hyny o'r nef. Paham na chawsem brofion nas gallem ammheu gair yr efengyl, os ydyw yn wirionedd?" Ond y mae pob cangen o grefydd Crist yn ateb y cyfryw:—"Arwydd nis rhoddir iddynt ond arwydd y prophwyd Jonas"—yr un prawf o ran natur, ond mwy o ran graddau, a gânt o'm gwirionedd ag a gafodd y Ninifëaid o genadwri Jonah iddynt. Rhaid iddynt fel hwythau "rodio wrth ffydd ac nid wrth olwg." Y mae digon o eglurdeb mewn duwioldeb i ffydd, gobaith, a chariad weithredu; ond y mae ynddi ar y llaw arall ddigon o ddirgelwch fel y mae yn rhaid wrthynt. Y mae digon o oleuni yn yr efengyl i daraw tywyllwch glŷn cysgod angeu i ffoedigaeth, a gwneuthur y fynedfa dywell yn foreu ddydd i'r meddwl difrifol a gonest; ac y mae ei goleuni ar brydiau iddo ef mor nerthol, fel y mae yn gallu gweled y wlad bell, a'r Brenin yn ei degwch, er gwaethaf tywyllwch y glŷn. Ond y mae ynddi ddigon o dywyllwch hefyd, fel y gall yr enaid halogedig a chyndyn ei

dirmygu, trwy ddywedyd nad ydyw ond cynnyrchion dychymyg a mympwy dynion. Gwir fod y profion o wirionedd y Bibl yn gyflawn—yn orlawn yn eu maintioli, ac yn berffaith yn eu natur, yn gystal ag yn emog o ogoniant a phrydferthwch; ond nid ydyw yn gorfodi neb i edrych arnynt, mwy nag y mae y nefoedd wybrenol yn gorfodi dyn i edrych ar ei gogoniant hithau. Er fod "y nefoedd yn dadgan gogoniant Duw," ac er fod y "ffurfafen yn mynegu gwaith ei ddwylaw Ef," eto nid oes yna un amser seren ar dân, na phlaned yn fflamio; nid oes yna chwaith un daran yn bythol ruo, fel rhyw weinidog sefydlog tragywyddol yn y nefoedd er galw sylw preswylwyr y ddaear at ogoniant Duw yn y nefoedd. Cyhoeddi gogoniant Duw â'u dystawrwydd y mae y nefoedd a'r ffurfafen. Felly y mae gogoniant Crist wedi ei hau ar hyd wyneb ffurfafen yr Ysgrythyrau; ond nid oes na llef o'r nef, nac ochenaid o uffern, byth yn galw sylw at y gogoniant hwn. Eto pan y gall yr anystyriol, fel llawer yn naturiol, beidio dyrchafu ei lygaid ac edrych ar y nefoedd hon sydd yn llawn gogoniant, y mae yr hwn a fyn weled yr Iesu yn gallu "gweled ei ogoniant Ef" ymhob congl o'r ffurfafen ysgrythyrol—"yn ogoniant megys yr uniganedig oddiwrth y Tad, yn llawn gras a gwirionedd." Ymagora yr efengyl ger ein bron, nid fel rhyw baradwys yn yr hon y mae ei blodau, ei rhodfëydd, ei phlanigion, a'i phob peth wedi eu perffeithio gan law anweledig, ond yn hytrach fel maes ffrwythlawn yn ei natur, yn yr hwn y mae hadau pob peth gwerthfawr; a gall llaw y diwyd ymgyfoethogi yn anfeidrol wrth ei drîn. Gall godi planigion arno, y rhai a dyfant yn brenau digon mawrion i adar y nefoedd nythu a lleisio rhwng eu cangau, ac iddo yntau eistedd dan eu cysgod, a'u ffrwyth yn felus byth i'w enau. Yn ei ymyl y mae Rhosyn Saron a Lili y dyffrynoedd yn tyfu ac yn ymagor yn ei ogoniant anfeidrol; a gerllaw iddo y mae dyfroedd grisialaidd afon bywyd yn murmur dyddanwch diddiwedd i'w fynwes. Ond ar y llaw arall, i'r diog a'r difater, ymddengys y maes yma sydd mor doreithiog i'r enaid diwyd, fel gwreiddyn o dir sych, heb bryd na thegwch ynddo, nes y mae efe yn cuddio ei wyneb oddiwrtho.

Ond y mae yn llawn bryd i ni derfynu ein hysgrif bellach, yr hyn a wnawn gyda dyweyd, mai nid bai, ond gogoniant, Duwioldeb ydyw ei bod yn *ddirgelwch*. Ac nid yn unig y mae yn ogoniant ynddi yn ei chysylltiad â Duw, ond y mae felly yn ei chysylltiad â dyn hefyd; oblegid y mae felly y fath ag a ddeil yn newydd tragywyddol iddo. Rhywbeth i daflu melusder ar foroedd annherfynol tragywyddoldeb ydyw y dirgelwch sydd mewn duwioldeb. Y mae rhyw duedd diflasu yn y meddwl dynol ar bob peth fyddo ef wedi ei feistroli. Wedi i ddyn feistroli rhyw lyfr yn bur dda, y mae yn darfod i raddau â'r llyfr hwnw wedi hyny. A hyny ydyw un rheswm yn ddiau am newydd-deb tragywyddol y Bibl—am fod ynddo ddigon o ddirgelwch i feistroli yr angerddoldeb sydd yn y meddwl dynol i ymestyn at yr Anfeidrol. Cyn hir bydd haul dysgeidiaeth a gwybodaeth wedi codi mor uchel, gan daflu ei belydrau mor danllyd, nes gwywo holl gau grefyddau y byd. Ond pan y bydd haul llênyddiaeth wedi cyrhaedd ei derfyngylch, ni wna ond sugno allan gangau bytholwyrdd pren yr efengyl, a gwneuthur i'w geinciau gerdded mor effeithiol, nes llanw y byd â'u cysgod gwerthfawr. Gwawria y diwrnod cyn hir pan y bydd Pabyddiaeth, Iuddewaeth, Mahometaniaeth, a'r holl *aethau* cyfeiliornus sydd yn y byd i gyd, yn gorwedd ynghyd ar waelod bedd, wedi peidio â'u cyffro mawr

am byth; ond bydd crefydd Crist yr adeg hono yn bendefiges hardd, â'i gwrid coch heb adael ei gwyneb, a'i thraed ar eu beddrod yn canu concwest arnynt i gyd; oblegid y mae mewn Duwioldeb ddigon o ddirgelwch i'r enaid i dreiddio i mewn iddo yn oes oesoedd yn ei awydd angerddol i ymestyn at y Dwyfol; yma caiff

"Ddwfr i nofio heb fyn'd trwyddo—
Dyn yn Dduw a Duw yn ddyn."

---

## MARWOLAETH BABAN Y FAM WEDDW.

Mam weddw eisteddai dan dderwen gangenog,
Gan warchod ei baban ar noson farugog;
Heb lygad i'w chanfod, na chlust idd ei gwrando,
Ond ambell i seren oedd arni 'n ysbïo,
A chlust dyner effro y nos oedd agored
I wrando plant adfyd dan gwynion eu tynghed.
Y wraig ieuanc yna a welsai well cyfnod,
Ond trais a gorthrymder a'i taflodd i'r cysgod.
Hi fagwyd yn anwyl dan wênau manteision,
A heulwen addewid yn goglais ei dwyfron,
Tra 'r hunai 'r cymylau yn mynwes yr eigion.
  Un gobaith, yn unig, a wisgai 'r dyfodol
I'r weddw dylawd mewn adlewyrch dyddanol;
Sef gobaith i'w hunig fab anwyl a hoffus
Gael tyfu mewn rhinwedd a bywyd llwyddiannus;
Yr hwn ydoedd eisoes yn dangos hynodrwydd
Nad mynych ei gwelir yn gwisgo plentynrwydd.
Ac yntau Dymuniad a baentiai 'n ddiorphwys
Bob eilun o obaith â lliwiau paradwys:
A hynod o siriol pelydrai 'r meddylddrych
Arianaidd rhwng duon gymylau yr entrych;
Er nad oedd y cyfan ond gwênau rhagrithiol,
A gollir dan guchiad y gawod ddynesol.
Fe wywai ei gobaith fel rhosyn toredig,
A rhewai yn union fel dagrau 'r nos ffyrnig:
Mae oerder awelon glŷn cysgod marwolaeth
Yn llenwi ei henaid âg iasau oer alaeth.
Y weddw dylawd, tra aml ocheneidiai,
Mewn deilen nofiedig o obaith ymaflai;
Ac yn ei phryderwch fel hyn y llefarai—

Fy anwyl faban bach,
  Nid äi i ffwrdd ar hyn;
Nis gallaf ganu 'n iach
  I'm hunig blentyn gwŷn:
Mae meddwl colli 'i baban mwyn,
Yn fwy nag all dy fam ei ddwyn.

Mae cofio 'r ing a'r loes
Yr awr y ganwyd di,
A chofio 'r fynyd roes
Ryddhâd i'm hofn a'm cri,
Yn creu rhyw ymlyngarwch mawr,—
Nis gall dy fam ffarwelio 'n awr.

Na feddwl, blentyn bach,
Ac na feddylied Nêr,
Nad wyf yn ddigon iach
I'th wylio wrth oleu 'r sêr:
Yr unig beth rydd glwyf di nam,
Fydd colli 'i baban i dy fam.

'R wy 'n profi pleser mwy
Wrth sychu 'th ruddiau claer,
Nag allwn brofi trwy
Gael gwisgo coron aur:
Dy adael di, neu feddwl am
Dy golli, 'n wir nis gall dy fam.

Dy dad, un wythnos cyn
Dy eni, marw fu;
Ond ynot, blentyn gwŷn,
Caed gwawr trwy 'r cwmwl du:
Os tithau äi, bydd hyny am
Y mynir rhwygo mynwes mam.

'R wy 'n cofio, a hawdd i mi
Yw cofio 'r adeg brudd
Y rhoddais frawd i ti
Mewn beddrod bach yn nghudd;
Ond ti, fel olew pur di nam,
Fu 'n lleddfu tònau gofid mam.

Nid oes un angel ŵyr
Y gofid llym ei rawd,
A deimlais lawer hwyr
'R ol claddu 'th dad a'th frawd:
Tydithau äi, os ydwyt am
Berffeithio darlun gofid mam.

Machludodd ganol dydd
Haul fy ngobeithion byw,
A'r unig seren sydd
Yn oleu, tydi yw:
Os tithau äi, un fath bob cam
A chysgod angeu einioes mam!

Diammeu y cait ti
Well cwmni yn y nef,
A newid wylo 'n lli'
Am ganu "Iddo Ef;"
Ond pwy, fel costrel geid, mewn cam,
I dderbyn dagrau enaid mam?

O! oered, blentyn gwyw,
Yw 'th deimlad dan fy llaw!

Pa beth! ai marw yw?
A ddaethost, frenin braw?
Fy maban anwyl, dwêd *Paham*
Y myni adael mynwes mam?

Ti angeu, elyn mawr,
I'm cefn rhoist groes ar groes;
Os ychwanegi 'n awr,
Fe 'm lletha i lawr y loes:
Ar lithrig riw, dywed *Paham*
Yr hoffi lwyr ddirwasgu mam?

O Dduw! i fenyw wael,
Ai dyfroedd Marah i gyd
A leinw gwpan hael
Ei thynghed ar bob pryd?
Os ïe, dywed im' *Paham*
Y crëwyd teimlad mynwes mam?

"Ust, fam! dy fab sydd fyw,"
Medd sibrwd nefol ddawn,
"A llon garennydd yw
Mewn nefol gwmni llawn:
Bydd dawel, gorphwys, dyner fam,
Daw dydd cei ateb i'th '*Baham*.'"

Y fam rodd bwys ei phen
Ar addewidion Iôr;
Tawelodd gwynt y nen,
Gostegodd rhu y môr:
Ar draeth amynedd Cristion-fam
Yr huna tònau ei "*Phaham*."

Mewn annedd glyd acw mae 'r dyfal amaethydd
Yn gwylio ysgogiad amrantau y wawrddydd,
Ar fedr cyfeirio ei droediad mewn mwyniant
I gyfrif ei ddäoedd, a gweled eu llwyddiant.
Y ddôl a fesura â'i gam, gan chwibanu,
A sathra 'n ddi bryder dwmpathau briallu,
Gan ddeffro 'u haelfrydedd, fel pe 'n eu cusanu!
Ei glust a darewid gan dyrfiad ac afiaeth
Boreuol y pistyll yn taflu 'i gerddoriaeth,
Ar aden yr awel oedd newydd ddihuno,
Ac fel i gyfarfod yr heulwen yn brysio;
Ond yna canfyddodd, dan lygad yr huan,
Y weddw yn rhwymo gweddillion y baban
I freichiau marwolaeth ollyngodd ei hunan.
A synai wrth ganfod yr heddwch boddlonus
Eisteddai ar wyneb y weddw druenus,
Oedd yno, heb feddwl ei chanfod gan lygad,
Yn gwylaidd benlinio o flaen Duw ei Cheidwad.
Diolchai yn uchel, gan wasgu 'r corff truan,
Am iddi gael gwarchod ei phlentyn ei hunan;—
Na thaflwyd ei baban i ddwylaw annhirion,
A threngu o'i lefau yn nghlust blwm yr estron;—
Mai calon ei fam a atebodd—gŵyr hyny
Och'neidiau y truan—nid gwaliau tylotty!

Mai 'r fynwes dynerol fu 'n foddion hanfodiad,
A'r ddwyfron bryderus fu 'n ffynnon cynnyddiad,
A roddodd le beddrod i'w olaf anadliad!
Ac hefyd diolchai yn ffyddlawn a gwresog,
Am gysgod a nodded y dderwen gangenog.
  Wrth wrando y weddw yn gwresog addoli,
A gweled ei drych o dan lwyth o drueni,
A chofio ei ddull annheimladol ei hunan,
Dan wênau Rhagluniaeth yn diolch mor egwan,—
I lawr y mae 'n syrthio, rhwng c'wilydd a syndod,
Ffynnonell ei ddagrau agorwyd i'r gwaelod;
Yr awrhon fe rwygwyd ei galongaledwch,
Tywalltodd ei enaid mewn dwfn edifeirwch;
Erfyniai faddeuant gan Dduw ei Grëawdwr,
Am iddo 'n brin geisio *dynwared* addolwr!
  At wrthddrych ei syndod yn araf dynesodd,
Ac yna yn dirion efe a'i cyfarchodd,
A'r marw i'w freichiau ei hun a gymerodd.
  Yn awr, mae olwynion aurenwog Rhagluniaeth
Yn troi, er o olwg pob llygad dynoliaeth.
Yn fuan mae 'r fenyw oedd gynneu 'n newynllyd,
Yn ail ddôd i feddiant o'i breintiau a'i golud;
Ac yntau 'r gormeswr, yn nghanol ei ŵyrni,
Yn syrthio dan garnau caledion tylodi.
Cyn hir wele 'r weddw oedd dan y pren deiliog
Yn wraig briodasol i'r ffermwr goludog!
Ac iddynt hwy meibion a merched a welwyd
Yn llachar ddysgleirio ffurfafen eu haelwyd;
A hithau Rhagluniaeth, â'i siriol haul wênau,
Yn deffro 'u gobeithion a chwyddo 'u serchiadau!
  Ond byth nid anghofiwyd, yn nghanol byd dyddan,
Y noson arbenig y trengodd y baban;
Edrychid byth mwy ar yr hen dderwen gaeadfrig,
Roes gysgod i'r marw, fel pren cysegredig,
Y lle daethai engyl gogoniant i gyrchu
Yr anwyl sant bychan i'r nef i gartrefu!
Yn awr cydnabyddai ei fam mewn parodrwydd,
Mai o'r hyn dybiasai fel eithaf ei haflwydd
Y daeth iddi ddiwedd daionus yr Arglwydd!

---

# JABEZ BUNTING.

Y MAE tremio ar y grëadigaeth—y ddaear ar yr hon y preswyliwn, neu y nefoedd uwch ben—yn dangos tragywyddol Allu a Duwdod, er na ddarfu i'r Paganiaid doethaf erioed dybied fod Crëawdwr, neu ddechreuad i'r byd hwn, oddieithr iddynt gael y gyfryw wybodaeth trwy draddodiad. Cawn fod dirgelion yn amgâu llawer o waith Duw oddiwrth ddirnadaeth y craffaf a'r mwyaf dysgedig o blant dynion; ceir ammheuon o berthynas i un ddeddf, a gwahaniaeth opiniwn am y ddeddf arall; ond nid oes neb yn gallu

ammheu fod *amrywiaeth* diderfyn yn nôd neillduol gweithredoedd yr Anfeidrol. "Y mae rhagor rhwng seren a seren mewn gogoniant." Rhai ydynt yn sefydlog, eraill yn wibiog; rhai yn ymddangos bob nos oleu, eraill yn dyfod i'r golwg fe allai bob pedwar ugain mlynedd; rhai o honynt â chynffonau yn gannoedd o filldiroedd o hŷd, ac eraill hebddynt; rhai â'u goleuni wedi cyrhaedd y ddaear y noswaith gyntaf ar ol eu crëu; ac eraill, er fod eu llewyrch wedi tramwy gyda chyflymder annirnadwy am tua chwe' mil o flynyddoedd, â'u goleuni heb gyrhaedd y belen hon hyd yn hyn! Gellir dywedyd yr un peth am y cymylau, agweddau a chynnwysiad pa rai a amrywiant mor fawr ac aml. Cymerwn fynyddoedd y byd, neu anwastadrwydd gwyneb y ddaear,—y fath wahaniaeth sydd rhwng y bryn bychan prydferth a ffrwythlawn, â'r Andes neu gopäau uchaf yr Himalaya, y rhai a ymddangosant fel am adael y ddaear, a byw yn y cymylau uwch ben! Cyfyd un mynydd yn raddol; ymsaetha arall yn unionsyth o'i waelod i'w gopa, ac ymddengys yn fwy fel ellyll cawraidd na dim arall. Trown ein golwg at ddyffrynoedd y ddaear, y fath amrywiaeth diderfyn! Gwelwn un yn gul a byr, eithr dymunol; ond am ddyffrynoedd yr Amazon a'r Mississippi, gall Ewrop oll orwedd yn eu mynwes heb eu llanw na'u llethu. Ceir rhai o gyffelyb faintioli yn Asia. Yr afonydd a amrywiant tu hwnt i amgyffred llawer un: ceir un yn cyfodi ar fryn gerllaw, a gallwn weled ei chwrs, ac fe allai ei hymarllwysiad i'r môr cyfagos; ond am afonydd mawrion America, Affrica, ac Asia, nid oes neb er chwilio wedi dyfod at darddleoedd rhai o honynt. Ant trwy wledydd cyfain; y maent yn rhai miloedd o filldiroedd o hŷd, ac yn gannoedd o led, ac y maent fel rhyw brif-ffyrdd dirfawr i fasnach y byd. Y môr a'i breswylwyr a ddygant ddelw amrywiaeth. Y llysiau, mor hynod ydynt! Yn eu lliw, eu llun, eu maint, yr hinsawdd ymha un y tyfant, natur y ddaear a'u meithrina, eu natur feddygol, faethol, neu wenwynig, dynodant oll fod rhyw Un cyfoethog mewn deall a dyfais wedi eu crëu. Ceir mil o wahanol gysgodau o liwiau ar flodau a dyfant oll yn yr un fath ddaear. Yr ednogod, yr ymlusgiaid, yr adar, y pedwar-carnolion,—y fath amrywiaeth mewn gwisg, arferion, trigfodau, ymborth, gallu, a gwasanaeth! Y mae cannoedd o fathau o honynt, ac o dan driniaeth dyn y maent yn gwella. Po fwyaf y syllwn ar y gwahaniaeth, mwyaf y mae yn ymddangos, megys wrth edrych yn ddyfal ar y nefoedd wybrenol. Dywedir nad oes un dau wlithyn nac un ddwy ddeilen yn union yr un fath. Gyda golwg ar faint ac agwedd y corff dynol, y mae y mwyaf arwynebol ei sylw wedi nodi fod amrywiaeth hynod yn bod: un yn dàl, cryf, a hoew, arall yn fyr, gwan, ac anystwyth; un yn brydferth a hawddgar, wedi ei ffafrio gan Dduw natur, arall yn hagr a sarug, ac megys o dyfiant anystwyth ac anniddig. Er fod y teulu dynol mor llïosog, digon tebyg nad oes un dau ddyn na dwy ddynes â'u hwynebpryd yn union yr un fath. Gall ambell ddau fod mor debyg i'w gilydd i olwg dyn dyeithr, fel ag i beri iddo gymeryd y naill yn lle y llall; ond i'r rhai a'u hadwaenant yn dda, y mae digon o wahaniaeth fel nad oes perygl camsynied personau. Nid yw wyneb dyn gymaint â gwyneb cloc; ond pa wneuthurwr awrleisiau a allai wneyd miloedd o'r rhai hyny o'r un natur, ac eto i amrywio digon i ddynion allu eu hadnabod y naill oddiwrth y llall yn rhwydd? Pa grochenydd a allai ddyfod â'r fath lïaws o *fodels* i lunio a phrydferthu ei lestri pridd ag sydd gan y Duw mawr i gerfio amrywiaeth a gwahaniaeth ar wyneb pob dyn? Rhyfedd ac ofnadwy ein gwnaed!

Os treiddiwn i fynwes dyn, a gweled pa beth sydd yn y meddwl, cawn fod gwahaniaeth hynod rhwng dyn a dyn. Cawn fod un yn eistedd yn oracl yn y wlad; ond bydd arall â'i synwyrau wedi eu cloi megys mewn daeardŷ o'i febyd heb weled goleuni, a gwallgofrwydd hyll yn teyrnasu ar bob cynneddf. Gall un amgyffred pob peth amgyffredadwy, a gwna ei feddwl cryf a choethedig dori ffyrdd newydd i gyrhaedd gwybodaeth; ond am y llall, ni fedr osod brawddeg yn iawn, na dywedyd nifer y bysedd sydd ar ei ddwylaw, ond edrycha yn chwithig, yn derfysglyd, ac yn wag hynod ar bob peth ac ar bawb. Gall un lywodraethu ei feddwl fel y myno; ond bydd cynneddfau y llall fel môr yn cael ei guro gan wyntoedd,—ymhlith y beddau y myn fod, nid all neb ei ddofi, ac y mae yn berygl myned y ffordd hono. Y mae cewri mewn meddwl wedi bod ar y ddaear mewn gwahanol oesau, y rhai a barasant i'w hoes deimlo eu bod, a chynnyrch meddyliau pa rai a ddylanwadasant ar oesoedd dilynol. Fe allai mai ymhen oesoedd wedi iddynt farw y bu eu gweithiau yn fwyaf grymus i roddi dysg a choethiant i liaws o ddynolryw. Fel hyn yn sicr y bu gyda llawer o hen awdwyr Groeg a Rhufain. Ond yr oeddynt yn fwy o lawer nag eraill o'u cydoesolion mewn maintioli meddyliol. Mawredd meddyliol Homer, o dan ysbrydiaeth danllyd yr awen, a alluogodd dad y prydyddion i roddi bywyd, cyfoeth, a phrydferthwch i'r iaith Roeg, yn gystal ag ennill enw iddo ei hun tra pery dysgeidiaeth ar y ddaear. Areithiau digyffelyb Demosthenes a roddasant iddo y fath ddylanwad yn ei ddydd, ac a'i coronodd yn frenin yr areithwyr trwy y cenedlaethau. Y mae cynnyrchion meddyliau grymus wedi gwneyd llawer mwy er symud y byd a diwygio dynoliaeth, na'r cyfan a wnaed gan ddynion o faintioli corfforol cewri, yn hen a diweddar. *Meddwl* sydd yn rhoddi cymeriad, grym, a hynodrwydd i ddyn. Yr oedd un foneddiges wedi clywed llawer am y rhagorol a'r clodfawr Dr. Watts, a hoffasai lawer gwaith gael cyfle i'w weled ac i ymddyddan âg ef. Hi a aeth un tro i dŷ *Lady* Abney, lle yr arosai y Doctor, ac wedi ei dwyn i'w bresennoldeb, mynegodd ei syndod ei fod yn ddyn o gorffolaeth bychan, ac i fesur yn afluniaidd; ond atebodd Watts hi, "mai y meddwl sydd yn gwneyd y dyn."

Ond nid yr hen oesoedd Paganaidd, nid llywodraethau y byd hwn, nid y chwareudai, nid masnach a chelfyddyd yn unig sydd wedi cael eu dynion mawrion; eithr y mae gan eglwys Dduw hefyd ei henwogion hen a diweddar. Gellid dysgwyl os cyfodai mawredd meddyliol ei gofgolofnau yn rhywle yn y byd hwn, mai mewn cysylltiad â chrefydd y byddai hyny. Nid oes un dawn mor fawr ag y dylai fod os na bydd wedi ei sancteiddio ar allor Cristionogaeth. Buasai yr holl fawrion mewn meddwl yn y byd Paganaidd yn llawer mwy pe carasent Dduw. Eu hanwybodaeth o hono Ef a'u gwnaent yn fach ac yn druenus. Y mae galluoedd y dyn godidocaf, wrth lifo dros galon wedi ei hadnewyddu trwy ras, yn derbyn grym, tanbeidrwydd, dylanwad, a choethiant, nas gall dim arall ei roddi iddynt. Nid helyntion yr amserau sydd yn gwneyd dynion yn fawr, ac yn eu donio â chymhwysderau arbenig. Duw yw awdwr pob dawn meddyliol; ond gall amgylchiadau wneyd lle i'r dynion hyn weithio, a dyfod i'r golwg yn fwy hynod. Y mae Duw yn cyfodi offerynau i'w waith fel y myno efe; ac os gwna dynion a ddoniwyd yn uchel wneyd eu rhan, byddant yn enwog yn eu gwaith, a daw anrhydedd heb ei ddysgwyl ar eu penau a'u henwau. Nid oes un enwad crefyddol heb ei enwogion. Trown ni at y llwyth a fynom yn Israel Duw, cawn fod comedau wedi gwneyd eu cylch yn ffurfafen yr eglwysi, ac wedi gadael

goleuni mawr ar eu hol, yr hwn a barhâ i lewyrchu am oesoedd lawer. Y mae yn werth edrych ar dalentau mawrion wedi eu cysegru am oes hir yn ngwasanaeth dynoliaeth a duwioldeb. At un penodol oedd yn meddu ac yn iawn arfer y cyfryw dalentau y galwn sylw yn yr erthygl hon.

Ganed Jabez Bunting yn Manchester, Mai 13eg, 1779. Ddeng mlynedd Wedi i bregeth ar 1 Cron. iv. 9 ,10, ar Weddi Jabez, fod o fendith neillduol i'w fam, y ganwyd ef. Daeth geiriau y pregethwr yn gryf a hyfryd i'w meddwl, ac, fel yn yr hanes yno, felly yma, "Ei fam a alwodd ei enw ef Jabez." Bedyddiwyd ef yn Manchester gan yr hybarch John Wesley. Anfonodd ei dad ef i un o'r ysgolion goreu yn y lle, a daeth y bachgen Jabez yn gynefin â mab Dr. Percival, boneddwr o enwogrwydd meddygol a llênyddol yn y dref. Byddai yn myned ar droiau i dŷ y Doctor gyda'i fab, pan y tynwyd sylw y boneddwr at Jabez fel bachgen o gyneddfau cyflym a grymus; ac oddiar ddyddordeb ynddo, efe a'i cymerodd i'w dŷ fel rhwymwas ac ysgrifenydd; ac ychydig cyn i Mr. Bunting fyned i'r weinidogaeth, gwnaethai Dr. Percival ddarpariaeth ar iddo gael graddeb o brif ysgol ar y Cyfandir yn ddidraul, a'i osod mewn cylch meddygol a sicrhâu *saith gant* o bunnau yn y flwyddyn iddo i ddechreu. Fel hyn y mae Rhagluniaeth yn troi dyn i un ffordd, pan yr oedd pethau yn ymddangos fel yn ei arwain y llwybr arall.

Yn y flwyddyn 1799 y derbyniwyd ef i'r weinidogaeth, wedi iddo fod yn pregethu yn gynnorthwyol am beth amser. Yr oedd yn ddyn llawer amwy na'r cyffredin o'r dechreu. Ei gyfaill Mr. James Wood, masnachwr cyfoethog yn Manchester, a'i clywodd yn gwneyd y cynnyg cyntaf i bregethu mewn tŷ annedd mewn ardal gyfagos; a dyma ei dystiolaeth, "Ni chlywais erioed well pregeth! caiff Jabez fod yn anrhydeddusach na'i frodyr." Yr oedd yn ugain mlwydd oed pan y dechreuodd ei weinidogaeth deithiol. Cychwynodd Dr. Newton ac yntau eu gyrfa weinidogaethol yn yr un flwyddyn. Teithiodd yn ei flynyddoedd cyntaf yn amryw o'r cylchdeithiau pwysicaf yn y cyfundeb, cyn ei ymsefydliad swyddogol yn Llundain. Yn raddol iawn y mae dynion yn ymgodi yn y Gynnadledd Wesleyaidd, ac ystyrir hwy yn ieuainc er y gallent fod wedi treulio ugain mlynedd yn y weinidogaeth; ond cyfododd Mr. Bunting yn gyflym iawn.

Am flynyddoedd lawer cyn 1816, cynnelid y cenadon Wesleyaidd trwy waith Dr. Thomas Coke ac eraill yn myned o dref i dref, ac o ddrws i ddrws, i ddadleu achos y byd Paganaidd; ond daeth yr amser pan yr oedd yn anghenrheidiol gweithredu yn fwy cyson a chyffredinol trwy gyfluniad cymdeithas neillduol at hyny. Yn y flwyddyn grybwylledig y bu hyn; ac un o'r prif offerynau i osod sail y Gymdeithas Genadol Wesleyaidd i lawr yn drefnus a pharhâus oedd Mr. Bunting. Gan ei fod o feddwl mor afaelgar, o farn mor addfed, ac o benderfyniad didroi yn ol pan y gwyddai ei fod yn iawn, yr oedd wedi ei gyfaddasu mewn modd arbenig i lunio, i lywodraethu, i ddiwygio, ac i hwylio llong y cyfundeb dan hwyliau newydd trwy bob anhawsderau ac ystormydd. Dewiswyd ef yn fore yn Ysgrifenydd y Gynnadledd am flwyddyn neu chwaneg; ac etholwyd ef bedair gwaith i'r swydd o Lywydd y Gynnadledd, sef yn y blynyddau 1820, 1828, 1836, ac 1844. Fel Llywydd, bu mewn dau neu ychwaneg o gyfarfodydd taleithiol yn Nghymru, a chofus genym ei weled a'i glywed yn Abertawe a Chaerfyrddin. Bu dair blynedd yn olynol yn Olygydd yr Eurgrawn Seis-

unig, a chyhoeddiadau cyfundebol eraill. Cafodd y raddeb o D.D. o un o brifysgolion y Wesleyaid Trefnyddol yn America.

Wedi cymeryd bras olwg fel hyn ar ei fywyd cyhoeddus, nid anmhriodol fyddai edrych i mewn i elfenau ei nerth, a'i enwogrwydd yn yr eglwys i ba un y perthynai. Yn chwanegol at wir dduwioldeb, a galwad yr Ysbryd i'r weinidogaeth, yr oedd yn meddu gwybodaeth berffaith yn yr iaith Saesoneg; nid yn unig meddai ddigon o eiriau i osod allan ei feddwl, ond defnyddiai yn wastad y rhai cymhwysaf i'r pwrpas. Gwyddai i'r blewyn y gwahaniaeth bychan rhwng dau neu bedwar gair tebyg i'w gilydd, a chyfrifid y cyfan a ddywedai fel goleuni yr haul, yr hwn nid ellir ei wella. Nid geiriau mawr, ond rhai grymus a chyfaddas, fyddai ganddo ef. Diammheu fod hyn yn un parotöad da mewn pregethwr,—fod ganddo eiriau cymeradwy—nid rhai gwael a llygredig, na rhai gwan ac anghymhwys. Beth bynag a ysgrifenai Dr. Bunting, yr oedd yn barod i'r wasg; wedi myned un waith dan ei law ni fyddai eisieu "gwella gwallau," a gwneyd brawddeg yn fwy goleu. Diau fod eglurdeb, ymadrodd grymus ac addas, yn offer nerthol yn llaw gweinidog yr efengyl.

Yr oedd yn naturiol yn nhraddodiad ei bregethau. Nid oedd yn hawdd ei efelychu, meddai Dr. Leifchild, ac nid efelychai efe neb. Y mae llawer o bregethwyr yn draflerthus a blinderus iawn yn nghyflawniad eu gwaith; curant y pulpud, drylliant y llyfrau, trystiant â'u traed, poerant bob pum' mynyd, cadwant swn mawr wrth fyned ar ol eu hanadl i'w gyrchu yn ol i allu siarad ymhellach. Nid oedd dim o'r pethau hyn yn Dr. Bunting,—dim i dramgwyddo y tyneraf ei deimlad, tra yr oedd ganddo ddigon i dynu sylw y mwyaf trwsgl a diddysg. Cawn fod rhai wrth bregethu yn gwneyd ymdrech nerthol i ddynwared rhyw ddyn poblogaidd, a thrwy hyny yn efelychu ei anmherffeithiau, ac yn gadael ei ragoriaethau yn ddigon pell. Y mae bod yn naturiol yn un peth, ond os bydd ein dull naturiol yn ddengar, goreu oll; bydded pregethwr yn efe ei hunan yn y pulpud, ac na fenthyced wisg arall. Ni byddai dim yn annaturiol a chwithig yn nhestynau Mr. Bunting. Cynnwysent fêr yr efengyl,—Cariad Duw—marwolaeth Crist—gwaith yr Ysbryd Glân—dyledswyddau a breintiau y Saint—y Ddeddf a'r Efengyl. Y mae rhai pregethau o'i eiddo o'n blaen yn awr, a ysgrifenwyd genym wrth ei wrando, neu drannoeth ar ol hyny. Cawn eu bod yn athrawiaethol ac ymarferol, wedi eu traddodi fel pe buasai rhai yn y dorf yn clywed yr efengyl am y tro olaf. Yr oedd y bregeth bob amser yn dyfiant naturiol o'r testun. Y mae chwithigrwydd testynau yn annyoddefol pan y mae y gyfrol sanctaidd mor llawn o adnodau cymhwys i bregeth. Nid peth sydd yn dygwydd unwaith mewn canrif yw clywed un yn cymeryd y geiriau hyn yn destun pregeth: "A hwy a alwasant ar Rebeccah, a dywedasant wrthi, A ài di gyda'r gŵr hwn? A hi a ddywedodd, Af." Yma tynir cymhariaethau, heb fod y rhai mwyaf tlws, am garu a charwriaeth, a thramgwyddir y rhan ddeallus o gynnulleidfa yn fawr; a hawdd yw cynnwys swm y daioni a gynnyrchir gan y fath bregethau. Testun arall a fu geiriau ysgolaig dinas Ephesus,—"O herwydd enbyd yw rhag achwyn arnom am y derfysg heddyw." Y mae yn bryd tywallt gwawd ar ben y fath chwaeth i ddewis testynau. Yr oedd Dr. Bunting yn siampl ac yn gerydd yn hyn.

Dangosai deimlad dwfn yn nhraddodiad ei bregethau. Nid pregethau sychlyd oeddynt. Dylifai ei holl ddeall, ei allu i drychwalu, a'i holl gy-

mhwysderau meddyliol, drwy galon gynhes a doddai yr oll, ac a adawai ei delw a'i naws ar y cyfan. Pa beth sydd yn gwneyd y gwahaniaeth rhwng dwfr a dwfr? dim ond natur y ddaear a'r ceryg dros ba rai a thrwy ba rai y llifa. Felly mewn pregeth, pan bydd yr un gwirionedd yn cael ei draddodi gyda ac heb deimlad addas, y mae y gwahaniaeth yn ddirfawr. Byddai y tân a ennynid yn ei fynwes ef yn effeithio ar yr holl gynnulleidfa. "Wele faint o ddefnydd y mae ychydig dân yn ei ennyn!" Y mae llawer o hen saint eto yn fyw a allant gyda llawenydd gyfeirio at bregethau nerthol Dr. Bunting yn Hull, Liverpool, Manchester, Llundain, a manau eraill. Dywedodd Dr. Leifchild yn ei araeth angladdol, na chlywodd efe y fath bregethu cyn hyny nac wedi hyny, ag eiddo gwrthddrych y nodion hyn yn Nghapel Heol y Ddinas yn Llundain. Dyna yr amser y deffröwyd ef ac eraill i feddwl am bregethu. Bu Dr. Bunting yn foddion i droi llawer i gyfiawnder, ac i roddi ail fywyd yn mhlant Duw. Teimlad dwfn yw un o anhebgorolion y weinidogaeth; ac er nas gall dyn ei gynnyrchu, gall Duw ei roddi i'w weision nes peri i'r holl wrandawyr blygu ac ymostwng i'r gwirionedd. O! am fwy o bregethu o'r galon, a hono yn llawn o ffydd ac o'r Ysbryd Glân!

Yr oedd gallu Dr. Bunting mewn gweddi yn fawr a nerthol. Elai o radd i radd rhagddo yn ei weddi; ac ymhen ychydig crëid teimlad o gynhesrwydd a difrifoldeb, ac yna ymddangosai y nefoedd fel yn ymagor, a Duw yn Nghrist yn ymostwng i fendithio y gynnulleidfa; ac addefai pawb fod Duw yn y lle, ac fod nerth y Goruchaf yn cysgodi y pregethwr a llawer o'r gwrandawyr. Byddai ei weddïau gafaelgar yn barotöad mawr i draddodiad llwyddiannus a grymus o'i bregethau. Gorphwysai ysbryd nerth arno mewn modd helaeth. Nid dawn yw hwn i'w gyrhaeddyd gan egni dynol, ond i'w gael gan Dduw mewn canlyniad i weddïau dyfal, ac fel ffrwyth rhodiad agos a pharhâus gyda Duw. Llewyrchai gwyneb Moses wedi bod yn hir yn nghymdeithas y Jehofah. Y mae duwioldeb gweinidog yn sicr o effeithio ar ei weinyddiadau cyhoeddus fel gwas Crist, ac fel ceuad dros Dduw at bechaduriaid. A dyma wraidd pob gweinidogaeth lwyddiannus ac achubol, mor belled ag y mae y mater yn llaw dyn. "Ein digonedd ni sydd o Dduw."

Byddai cyrchu mawr i'w wrando pan y byddai yn pregethu yn achlysurol ar gylchwyl capel, neu bregeth genadol, neu i'r Ysgol Sabbothol. Anfonai pobl y "*Penny Pulpit*," a'r cyffelyb, eu *reporters* i roddi i lawr y cyfan a ddywedai Dr. Bunting; ond fe allai y gwelai ef rywun yn brysur gyda'r gwaith o ysgrifenu ei bregeth, a dywedai yn gyhoeddus wrtho am beidio cymeryd y drafferth, fod rhywrai o'r blaen o frawdoliaeth yr ysgrifbin wedi argraffu y bregeth hono yn well nag y gallai ei thraddodi y pryd hwnw, ac y gellid ei chael am geiniog neu ddwy. Ond y mae yn debyg mai *ymlaen* yr äi y llên-leidr er hyny. Ni chymerai efe y drafferth byth o ddefnyddio y fraint a rydd y gyfraith yn erbyn cyhoeddi pregethau heb ganiatâd yr awdwr. Ymddangosodd amryw o'i bregethau heb ei ganiatâd, ïe yn groes hollol i'w feddwl, yn y "*Pulpit*," y "*Penny Pulpit*," a'r "*Wesleyan Preacher*."

Yr oedd ganddo amryw bregethau agos ar yr un materion, fel y dengys yr hanesyn canlynol. Cafodd wahoddiad i bregethu pregeth achlysurol i le na buasai yno erioed o'r blaen. Cydsyniodd, a'i destun oedd, "Melldigwch Meroz (ebe angel yr Arglwydd), gan felldithio melldigwch ei thrigolion: am

na ddaethant yn gynnorthwy i'r Arglwydd, yn gynnorthwy i'r Arglwydd yn erbyn y cedyrn." Aeth yno yr ail waith, a'i destun oedd, "Od oes neb heb garu yr Arglwydd Iesu, bydded anathema, maranatha." Erbyn hyn ffurfiesid cyfeillach rhyngddo ef â'r bobl, a deisyfasant arno y drydedd waith ddyfod i'w gwasanaethu. Ei destun y waith hono oedd, "Galw yr wyf yn dyst i'th erbyn heddyw y nefoedd a'r ddaear," &c. Gwnaethpwyd y pedwerydd cais, ond safai rhywbeth ar y ffordd; yna dywedodd y gofynwr, "Na, Doctor, yr ydych wedi cyhoeddi melldith arnom dair gwaith; yn sicr ni wnewch wrthod dyfod i'n bendithio." "Beth yw hyna?" ebai y Dr. Ailadroddwyd ei destunau iddo. Gwenodd, a dywedodd yn ddioed, "O deuaf, fy mrawd, deuaf i lawr i'ch bendithio cyn fy marw; os gwna Duw fy arbed, yr wyf yn derbyn eich gwahoddiad." Cadwodd ei air, a'i destun oedd, "Mai gan fendithio y'th fendithiaf." A dywedir ei bod yn un o'r pregethau goreu a draddododd erioed.

Yn 1833, symudodd Dr. Bunting i Lundain i gymeryd lle yr enwog R. Watson fel prif Ysgrifenydd y Gymdeithas Genadol. Cyn ymgymeryd â'r swydd bwysig hon, ymrwymasai i ryw fesur â chyfaill i gydweithio mewn llafur llênyddol; ond wedi myned i'r swydd newydd, gwelodd fod raid roddi heibio y pleser a'r anrhydedd sydd ynglŷn â llesâu ei gydgrëaduriaid trwy ysgrifenu llyfrau. Ymaberthodd yn wirfoddol a llwyr i waith yr Ysgrifenyddiaeth Genadol. Parhäodd i gyflawni y swydd hon hyd o fewn ychydig iawn o flynyddau cyn marw. Tra ynddi, cariai ddylanwad mawr, ac ymestynai ei gynlluniau i eithafoedd y ddaear. Y mae llawer ardal yn y byd pellenig a Phaganaidd yn dwyn rhyw gof am dano, megys Buntingville; a mynych y bedyddiwyd plant paganiaid dychweledig dan yr enw Jabez, gyda chyfeiriad ato ef. Fel pregethwr yn y pulpud, fel areithiwr ar yr esgynlawr cenadol, fel cyfarwyddwr mewn pwyllgorau, fel dadleuwr yn y Gynnadledd, ac fel deddfroddwr eglwysig, nid oedd nemawr, yn ei gyfundeb ei hun beth bynag, yn ail iddo. Safai i fesur mawr wrtho ei hun,—fel y Palas Gwydr yn Sydenham ymysg y tai amgylchol; fel y dderwen fawr gangenog ymysg prenau llai; ac fel Saul ymysg ei fyddin;—yn fwy mewn maintioli meddyliol, mewn gafael a grym ymddadleuol, na'i holl frodyr a'i hamgylchent.

Y mae yn dra amlwg i bob un cyfarwydd yn nhrefnidaeth eglwysig y Wesleyaid, nad oes un person unigol yn yr oes hon wedi gadael cymaint o'i ddelw ar y corff uchod âg ef. Pa fodd y cafodd y dylanwad dirfawr hwn oedd yn ddirgelwch i rai, ac yn flinder i eraill. Mewn cymdeithas wirfoddol a chrefyddol, lle y mae dyrchafiad dyn yn ol barn annibynol yr aelodau, rhaid fod ryw ragoriaethau a chymhwysderau yn y neb a ddyrchefir i swyddau o'r fath uchaf yn y cyfryw gorff dro ar ol tro,—a wrandewir mor astud ar bob pwnc,—a ymddyrchafa i fod yn oracl ei frodyr,—a'r rhai hyny oll yn ddynion o synwyr cyffredin, o ddeall da, a llawer o honynt yn wŷr dysgedig, ac o feddyliau coethedig a grymus. Os gall dyn ennill ei ffordd i fod megys brenin yn y fyddin, ac i gael ei ddodi trwy bleidlais yn nghadair Moses, rhaid fod rhyw fawredd hanfodol yn perthyn i'r cyfryw. Y mae yn anmhosibl llunio offeryn i fesur meddwl, onidê byddai yn hawdd dangos fod meddwl un dyn yn dalach na meddwl dyn arall. Duw sydd yn rhoddi cymeriad meddyliol, yn gystal a maintioli corff, fel y myno efe. Y mae mor afresymol dysgwyl i feddwl y naill ddyn fod cân gryfed a'r llall, ag yw i bob bŷs fod yr un hyd. Y mae Duw wedi gofalu gwneyd y

gwahaniaeth. Os ymdrecha dyn am fyned tu hwnt i'w safiad meddyliol,—er mai dyledswydd pob dyn yw gweithio allan yr hyn sydd ynddo,—try hyny yn wendid ac yn warth yn y pen draw; fel dyn a ymdrecha gyda gorchwyl na fêdd nerth corfforol i'w gyflawni. Gwelir rhai yn cyfodi yn uchel fel gwladgarwyr a dadleuwyr seneddol, fel awdwyr, neu mewn rhyw gylch cyhoeddus arall,—hyd bwynt neillduol; yna safant, neu, fe allai, disgynant. Ond yr oedd Dr. Bunting yn myned uwch uwch trwy oes hir—elai rhagddo fel yr haul yn ei rym; ac er cael ei gymylu weithiau, ni wnai hyny mo'i gymeriad yn llai dysglaer, ond tynid mwy o sylw ato; ac ymddangosai yn ogoneddusach wedi i'r awyr glirio.

Yn ystod bywyd cyhoeddus Dr. Bunting, bu amryw ymraniadau a therfysgoedd yn y cyfundeb, a chafwyd ef yn gymhorth bob amser i ddyfod allan i le diwall. Un o ymdrechion ei fywyd oedd gwneyd Wesleyaeth mor boblogaidd ag yr oedd modd, trwy ddwyn gwŷr lläyg i gymeryd rhan mewn pwyllgorau perthynol i'r corff. Efe a fu yn brif foddion i ddyfod â goruchwylwyr y cylchdeithiau i gael lle yn y cyfarfodydd taleithiol pan fyddo materion y capeli, amgylchiadau arianol y cylchdeithiau, &c., yn cael eu trin; a bellach, er cyn cof genym, y mae y *circuit stewards* yn gynnrychiolwyr eu cylchdeithiau yn gystal â'r gweinidogion. Dr. Bunting a ddaeth â'r elfen läygol i mewn i holl bwyllgorau y corff, fel y mae un hanner o bob pwyllgor, ond un, yn wŷr lläyg, a'r hanner arall yn weinidogion. Yr unig bwyllgor a ffurfir gan weinidogion *yn unig* yw eiddo y *Preachers' Annuitant Fund,* yr hon ni chynnwys ddimai ynddi ond tansgrifiadau gweinidogion. Ond os bydd dim o arian y cymdeithasau, a lles yr eglwysi, dan sylw, y mae y bobl eu hunain yn meddu cynnrychiolwyr priodol o honynt eu hunain, ac o ddewisiad cyfarfodydd perthynol i bob cylchdaith.

Meddyliwn yn awr am y Gynnadledd Wesleyaidd, o berthynas i'r hon y mae cymaint o gamddeall ar hyd y wlad. Am tua phythefnos cyn iddi agor, cyferfydd pwyllgorau ar bob mater a ddaw dan ei sylw, a gwaith y Gynnadledd yn gyffredin yw gwrando penderfyniadau y pwyllgorau, a gweithredu yn ol hyny. Yn yr holl bwyllgorau yn Llundain, cawn fod *laymen* yn aelodau cyson a chyfreithlawn o honynt, a bod yn dda gan y gweinidogion gael eu cymhorth ymhob peth a berthyn i'r bobl. Pwyllgor ein Llyfrau yw yr unig eithriad, am mai eiddo gweinidogion yn unig ydyw trwy ewyllys gyfreithlawn John Wesley. Os oedd Dr. Bunting yn un o'r rhai olaf i wrando ar floeddiadau terfysgwyr, y gwir yw nad oedd neb yn cymeryd plaid y bobl yn fwy nag efe.

Cafodd gyfle arbenig yn 1839—y flwyddyn ganmlwyddol Wesleyaidd—i ddangos ei ddawn ymadrodd a'i fedr lluniadol. Casglwyd dros ddau can' mil o bunnau y flwyddyn hono, a gwnaethpwyd defnydd da o honynt. Cyn hyny yr oedd tŷ cenadol y Wesleyaid yn Hatton Garden yn fach ac anghyfleus; ni feddai y cyfundeb athrofäau i gynnorthwyo pregethwyr ieuainc a allent ddyfod yn ymgeiswyr i'r weinidogaeth hyd 1834, pan y cymerwyd ar *lease* ddau le yn Llundain i'r perwyl. Penderfynwyd yn 1839 nodi symiau at gael tŷ cenadol newydd, dwy athrofa newydd, a llyfrfa fawr newydd, oll yn ddiddyled, ac yn feddiant y cyfundeb am byth. Y mae hyny er ys blynyddau bellach wedi ei ddwyn yn dra llwyddiannus i ben. Meddyliasai John Wesley am gael ysgol i'w weinidogion ieuainc, ond ni bu yn alluog i ddwyn ei fwriadau i ben. Yr oedd Dr. Bunting yn

ysgogydd arweiniol wrth ben y cynlluniau hyn oll, er na bu efe a'r rhai a gydwelent âg ef yn alluog i gyflawni eu hamcanion heb gryn wrthwynebiad. Erbyn hyn, yr ydys yn synu pa fodd yr oedd y Wesleyaid yn gallu gwneyd pan heb y pedair adeilad crybwylledig. Beth bynag yr ymaflai Dr. Bunting ynddo, gwnai ef â'i holl egni; ac yn gyffredin, os nad yn wastad, llwyddai i'w ddwyn i ben.

Wrth reswm, yr oedd ganddo ef law neillduol yn ymhelaethiad y maes cenadol perthynol i'r corff. Pan ymaflodd efe gyntaf yn swydd yr Ysgrifenyddiaeth Genadol, nid oedd nifer y cenadon ond tua dau gant; ond pan y rhoddodd ei swydd i fyny gan fethiant a henaint, yr oeddynt tua chwe' chant; ac yr oedd pob peth arall perthynol i'r genadaeth wedi cynnyddu mewn cyfartalwch.

Diau y rhydd ein darllenwyr ryddid i ni ei bortreiadu ger bron y Gynnadledd, fel dadleuwr ar ryw bwnc eglwysig. Darlunir ef gan un fel hyn, er na fydd raid i ni ymgyfyngu yn fanwl at y desgrifiad, canys clywsom ef ein hunain mewn llawer pwyllgor, a dwywaith yn y Gynnadledd:—Edrychwch arno: acw yr eistedda efe ar yr esgynlawr, yn amgylchynedig gan rai o brif aelodau y Gynnadledd, ei benelin ar y ford, a'i law yn cuddio ei ên. Os bydd pwnc pwysig mewn llaw, a'r siaradwr yn isel neu ymhell, tynir y llaw yn fuan oddiar yr ên, a gosodir hi tu ôl i'r glust, lle yr erys yn lle corn, i gasglu geiriau, tra y mae y clyw yn yfed y sŵn. Gwna nodyn achlysurol ar damaid o bapyr, neu ar gefn llythyr, yn ystod y ddadleuaeth faith; ond dibyna yn benaf ar y cof, yr hwn ni fetha byth ymron. Yn awr y mae yn dawel ac urddasol; ond mewn mynyd cyfnewidia yr olygfa. Y mae y siaradwr mor anffodus a gwrthwynebu rhyw ochr a gymer y Doctor, a sathru ar rai o neillduolion Wesleyaeth; y mynyd hwnw, edrycha gyda llygad craff ar hyd llinell y sŵn. Y mae yn dawel eto; ond tawelwch dyn ydyw sydd yn ystyried pa beth a ddywedwyd. Gwna siaradwr ddilyn siaradwr, nes daw gosteg yn y diwedd; ac yn ystod y dystawrwydd edrycha o'i amgylch; ond nid oes neb yn cyfodi, a thybia fod ei amser ef wedi dyfod. Siarada yn ddiweddaf fynychaf; ac yn awr, pan y mae ar ei draed, gadewch i'w lygad ymdaflu o gylch y gwyddfodolion, a bydd pawb ar eu dysgwyliad i wrando beth a ddywed. Bydd pob siaradwr blaenorol yn awyddus yn gwylied ffawd ei resymau o blaid neu yn erbyn rhyw fater, a sylla pob llygad yn ngwyneb Dr. Bunting. Ar y cyntaf, llefara yn dawel ar y pwnc yn gyffredinol; yna rhydd ei feddwl ei hun; yna ä rhagddo i sefydlu ei resymau; ac yn ddiweddaf, efe a ä at yr atebiad ffurfiol, ymha un y cymer yn aml arno ei hun faich y pethau i'w profi, naill ai gan restru dadleuon ei wrthwynebwyr, neu gan gymeryd eu gwrthddadleuon ar wahân, fel yr etyb ei ddyben oreu; gan fod ei hun megys yn amgylchynedig mewn tŵr cadarn, allan o ba un y gall edrych heb dderbyn niwed oddiwrth y rhai sydd yn gwahaniaethu mewn golygiad oddiwrtho. Yn aml iawn, pan fyddo siaradwr blaenorol yn ymlawenhâu wrth feddwl yn debygol y câ ddiangfa ddedwydd, daw i lawr arno mewn mynyd, fel mellten annysgwyliedig, yn llydan a bywiog, gan ddryllio yn chwilfriw âg un ergyd yr holl adeilad a gyfodasai. Ar y fath achlysuron gall fod yn watworus, yn ddifrifol, neu yn chwareugar. Nid yw byth yn cyffwrdd â phwnc heb daflu goleu arno, ac anaml y dychwel o'r maes heb fuddugoliaeth, gan gael ei ddilyn â gwenau rhai o'r un olygiad, a chan adael y rhai a gymerent yr ochr arall mewn syndod hollol. Ni fu cyfreithiwr yn y llys,

na gweinidog gwladol wrth ben y senedd, erioed yn fwy meistrolaidd mewn atebiadau nag ef. Y maent fel areithiau goreu y prif lefarwyr; mor gyflawn, mor rheolaidd, mor ddillyn, mor gyson, mor berthynasol, mor hawdd, mor barod! Nid yw byth yn siarad er mwyn siarad, o ymffrost, neu er mwyn cael y fuddugoliaeth. Y mae ganddo bob amser amcan mewn golwg ar wahân oddiwrtho ei hun, yr hwn ni chyll olwg arno. Wrth ei wrando, y mae Cicero yn hytrach na Demosthenes yn dyfod i'r meddwl; ond Cicero yn ei gymeriad athronyddol ac nid areithyddol ydyw; nid areithiau trystfawr i'r bobl yw yr eiddo ef. Y mae rhywbeth yn fwy gwydn yn nghyfansoddiad Dr. Bunting; y mae yn fwy cymhwys i wynebu yr ystorm; ond er hyny nid allwn ymattal rhag cyfeirio at Cicero, uwchafiaeth yr hwn a deimlid gan bawb, doethineb yr hwn a dynai barch, a hyawdledd yr hwn a swynai y gwrandäwr. Yma gwelwn debygolrwydd. Y mae pob ateb yn dwyn gydag ef fanylwch myfyrdod blaenorol, hyd yn nôd pan nad oedd cyfle i wybod beth a ddywedid gan yr ochr arall; dygir y cyfan ymlaen heb goegedd, eithr gan gyfranu goleuni fel yr haul yn ddirodres. Y mae y cyfan, pa un bynag ai byr ai hir, mor berffaith â phe buasai wedi ei barotôi fisoedd ymlaen llaw, er mai pethau wedi eu cyffröi gan areithwyr blaenorol ydynt. Dengys hyn allu canfyddol, a chyflymder meddwl dirfawr. Nid oes dim twyll, dim coll, dim o bwys yn cael ei anghofio; ond tywelltir yr oll mor newydd ac esmwyth â'r ehedydd yn canu ei garol cyntaf yn y bore. Ni fêdd amser i bwysleisio, ond ymgyfyd mewn teimlad gyda phwysigrwydd ei bwnc; ac ä y bobl i fyny gyd âg ef nes iddynt oll gyrhaedd pen y mynydd, a theimla y rhai a'i gwrandawant anhawsder i ddisgyn eto at bethau cyffredin. Y mae ei hyawdledd yn anwrthwynebol. Pe dygasid ef i fyny i'r gyfraith, nid arosasai byth yn ei yrfa, nes y buasai yn brif weinidog, neu yn uchel arglwydd ganghellwr; ac yn y lle y mae, brenin yw ymysg ei ddeiliaid. Nid yw ei bresennoldeb meddwl byth yn ei adael. Nid oes un dyn yn gwneyd llai o gamsyniadau yn ei atebion; ni wna byth adael mantais heb ei gweithio. Rhydd ei ysbryd hyfryd a'i wroldeb, pan eu gollyngir allan, rym a chyfeiriad i'r oll a ddywed, gan gludo ymaith bob gwrthwynebiad. Nid yw, fel llawer o siaradwyr, yn llawn o ailadroddiadau; anaml yr ä yn ôl i'r un tir. Gorphena ei waith fel yr ä rhagddo. Y mae nid yn unig yn gyflym, ond yn sicr. Y mae ei gynneddfau bob amser yn ddigwmwl a naturiol, a gellir dibynu arnynt yn wastad; ac y mae ei farn ar bethau yn sicrhâu iddo lwyddiant ac ymlynwyr.

Geiriau gwirionedd heb ormodiaeth yw y desgrifiad uchod o Dr. Bunting pan yn ngrym ei ddyddiau a'i lwyddiant.

Gyda ei holl fawredd, yr oedd efe yn ddyn gwylaidd. Y mae mawredd yn ymddangos yn drwsgl ac annaturiol heb wylder. Nid yw gwylder yn codi oddiar ofn eraill, ond oddiar anghefnogrwydd o hunan. Ei waith a'i ddyledswydd oedd mewn golwg ganddo ef, ac nid un cymhelliad hunangar; gan hyny efe a groesai olygiadau ei gyfeillion agosaf, i ddilyn argyhoeddiad ei ddeall a'i gydwybod. Ei arwyddair oedd, "Nid allwn ni ddim yn erbyn y gwirionedd, ond dros y gwirionedd." Ei lwybr oedd iddo yn eglur, tra y gadawai y canlyniad yn llaw ei Farnwr. Parchai deimladau a golygiadau eraill, yn enwedig dynion da, ymhob man y cyfarfyddai â hwynt. Diau fod hyny yn help mawr i'w ddylanwad ymdaenu a theyrnasu mewn llawer mynwes. Y mae geiriau Job yn dra darluniadol o'i safiad ymysg ei frodyr,—"Hwy a

wrandawent arnaf, ac a ddysgwylient; dystawent wrth fy nghynghor. Ar ol fy ymadrodd ni ddywedent hwy eilwaith; a'm hymadrodd a ddyferai arnynt hwy. A hwy a ddysgwylient am danaf fel am y gwlaw; ac a ledent eu genau fel am y diweddar wlaw. Os chwarddwn arnynt hwy, ni chredent, ac ni wnaent hwy i lewyrch fy ngwyneb syrthio. Dewiswn eu ffordd hwynt, eisteddwn yn benaf, a thrigwn fel brenin mewn llu, megys yr hwn a gysurai rai galarus."

Nôd hyfryd a berthynai i Jabez Bunting oedd ei ryddfrydigrwydd. Yr oedd yn dra chalonog yn ymuno ar y 19eg o Awst, 1846, gyda thua mil o bobl feddylgar yn *Free Mason's Hall*, Llundain, i ffurfio y Cynghrair Efengylaidd. Y mae yn gam â chariad Crist yn y galon os na châ ryddid i ddywedyd, "Gras fyddo gyda phawb sydd yn caru ein Harglwydd Iesu Grist mewn purdeb." Dygodd dyeithriaid o wledydd pell dystiolaeth i'w ysbryd galluog ac efengylaidd. Fel hyn y dywedodd un wrth Dr. Cox, o New York, America, yn y cyfarfod uchod, "Y fath hen ddyn rhyfedd yw hwna!" "Ië, syr," ebe y Doctor, "o'r holl ddynion mawr a adnabuais ac a hoffais cyn eu gweled, nid oes neb o honynt wedi dyfod mor fawr wrth agosâu atynt ag yw Dr. Bunting."

Yr oedd yn gynhes yn ei gyfeillgarwch, fel y gwelir yn ymlyniad Dr. Liefchild ac yntau wrth eu gilydd fel Dafydd a Jonathan, am hanner can' mlynedd, er fod un yn Annibynwr a'r llall yn Wesleyad. Meddyliau bach a chrefydd wan sydd yn peri i ddynion da o wahanol enwadau wgu ar eu gilydd. Gwrandewch pa beth a ddywedodd un o bobl fawr enwad arall, ac un o ddynion mwyaf ei oes, am dano. Yn Mai, 1847, yr ymwelodd Dr. Chalmers â Llundain am y tro olaf. Ar fore Sul y 9fed, aeth Dr. Bunting i'w wrando yn pregethu, a galwodd i'w weled yn y prydnawn. Yn ei ddyddlyfr am y diwrnod, dywed Dr. Chalmers fel hyn,—"Llawen fu genyf i Dr. Bunting alw arnaf ar ol ciniaw, gyda'r hwn y bu Mr. Mackenzie a minnau ein hunain am awr o leiaf. Ymddyddan tra hyfryd gydag un o'r goreu a'r doethaf o ddynion. Y mae Mr. M. a minnau yn ei garu i'r eithaf." Y mae yn wir fod Eglwys Rydd Ysgotland yn ddyledus am lawer casgliad mewn cynnulleidfa Wesleyaidd, pan oedd hi heb un eglwys i addoli ynddi; ond nid hyny oedd sail serch Dr. Chalmers at Dr. Bunting—rhagoriaethau moesol dwy galon fawr yn cydgyfarfod oedd y gwraidd. Yr oedd Dr. Bunting yn wastad yn barod i gydweithio gyda dynion da o wahanol enwadau, a gwelir ei lafur dyngarol yn gysylltiol â'r fath ddynion a Mr. Wilberforce, Zachary Macaulay, James Stephens, Syr Fowell Buxton, a llawer eraill a lafuriasant yn galed i wella sefyllfa y Negröaid yn Affrica a'r India Orllewinol, ac i ddiddymu caethfasnach. Llawenydd ei galon oedd cyfarfod â phrif swyddogion y Fibl Gymdeithas, a chydweithio gyda hwynt hyd eithaf ei allu. O'r dechreuad, yr oedd yn gyfaill ac yn bleidiwr galluog y Gymdeithas hono. Diammheu i hyn ddylanwadu yn nerthol i dynu allan haelioni dynion fel Mr. Thomas Farmer, boneddwr haelionus yn nghyfundeb y Wesleyaid, yr hwn a rydd ei gannoedd, ac weithiau fil o bunnau ar unwaith, at y Fibl Gymdeithas, ac at gymdeithasau eraill crefyddol a dyngarol. Gwyddys yn dda fod dylanwad Dr. Bunting ar eraill yn fawr; ac y mae yn hoff meddwl fod y gallu mawr hwnw yn cael ei arferyd bob amser er daioni—er hyrwyddo mynediad yr efengyl dros yr holl fyd. Er nad aeth yn genadwr i India, fel y cynnygiasai ei hun yn nechre ei weinidogaeth, ni pheidiodd y tân cenadol a llosgi yn ei fynwes byth.

Yn ofer y ceisir mawredd Dr. Bunting yn y gweithiau a adawodd, oblegid ni chyhoeddodd ond dwy bregeth o'i eiddo yn ystod ei fywyd cyhoeddus a maith,—un ar Gyfiawnhâd trwy Ffydd, yr hon a aeth trwy saith argraffiad; ac un a draddodwyd o flaen Undeb yr Ysgol Sabbothol, yn nghapel Dr. Winter. Math arall o lafur sydd wedi ei wneyd ef yn fendith i'r byd.

Ond y mae y bywyd mwyaf defnyddiol yn dyfod i ben, a'r oes hwyaf yn terfynu. Rhaid i ni yn awr ddilyn gwrthddrych y nodiadau hyn i waered i henaint a phenllwydni. Cyflawnodd yn ffyddlawn ei swyddogaethau tra y daliodd ei allu, ac yr oedd yn myned i'r gwahanol bwyllgorau yn Llundain mor gyson â neb, os gallai adael ei dŷ o gwbl. Gorfodaeth oedran yn unig a'i cadwai oddiwrth ei waith apwyntiedig. Os oes mwy o amgylchiadau crefydd yn gorphwys ar un dyn na'r llall, trugaredd i'r enwad y perthyna iddo os tynir y dyn hwnw yn raddol i'r cysgod, ac y daw dynion i lanw ei le cyn iddo ef fyned at ei wobr. Gwelwn Dr. Bunting yn gorfod rhoddi yr Ysgrifenyddiaeth heibio, ac arall yn dyfod i'w le; y mae yn methu cymeryd ei le arferol yn y Gylchwyl fawr Genadol; nid all fyned i'r Gynnadledd, hyd yn nôd i wrandaw; nid all gyfarfod â'i frodyr yn unman; rhaid iddynt hwy ddyfod i ymweled âg ef yn ei dŷ, neu fod heb ei weled. Dyma gysgodau yr hwyr yn dyfod fel cwmwl ar ol cwmwl ar ddydd byr gauaf. Ond beth am ei brofiad tua therfyn ei oes? Bu am gryn amser bob dydd yn dysgwyl am ddyfodiad ei Arglwydd, a chlywai weithiau megys sŵn ei gerbyd. Yr oedd ei gynneddfau yn ddibŵl, oddieithr fod peth pall yn ei gôf, trwy ei gystudd, ac mor hir ag y gallodd ymddyddan. Ymwelid âg ef yn achlysurol, càn belled ag y goddefai ei wendid, gan gyfeillion o bell ac agos, y rhai a roesawid i'r tŷ. Yn mis Mai diweddaf, bu Dr. Guthrie, o Eglwys Rydd Ysgotland, yn pregethu i'r Wesleyaid mewn cysylltiad â'r Gylchwyl Genadol; a'r gweinidog enwog hwnw a alwodd gyda Dr. Bunting; ymddyddanodd ychydig âg ef ar bethau nefol, a gweddïodd. Yr oedd ei heddwch yn parhâu i lifo yn ystod ei gystudd diweddaf, ac ymorphwysai yn dawel ar yr Iawn mawr am fywyd tragywyddol. Dywedai ychydig cyn marw, "Mi a ymdrechais ymdrech deg;" ond methodd orphen yr adnodau gogoneddus hyn; eithr ymegnïodd i ddywedyd, "Buddugoliaeth! buddugoliaeth trwy waed yr Oen!" a dyna ei eiriau olaf. Ymadawodd â'r fuchedd hon mewn tangnefedd, Mehefin 16eg, 1858, yn ei 80 mlwydd oed. Dywed rhai fod dynion mawr yn ymddangos fel cydser,—amryw yr un amser, ac fod y byd wedi hyny am dro hebddynt. Ond, yn ddiau, os byddwn yn ffyddlawn fel eglwysi Crist, fe gyfyd Duw offerynau addas i bob gwaith, ac ni fydd un enwad crefyddol sydd o ddifrif am ogoneddu y Gwaredwr yn ddiffygiol mewn dynion cymhwys i flaenori y llu. Nid ydym yn rhwym o gael dynion mawrion cyn y gallwn fyned ymlaen; digon i ni yw cael mantell y rhai mawr sydd wedi blaenu arnom; yna bydd y gwanaf fel Dafydd, a dengys Duw fod godidogrwydd y gallu o hono ef, ac nid o'i weision.

O ran ei berson, yr oedd Dr. Bunting yn bump a deg, neu bump troedfedd ac un ar ddeg o fodfeddi o daldra, tra y rhoddai yr olwg ar y rhan uchaf o'r corff yr argraff ei fod yn dalach. Yr oedd braidd yn dew, ac yn syth yn ei gerddediad. Nid oedd ei wyneb yn hollol grwn; meddai olwg ddymunol, urddasol, a thawel; a phan yn hollol lonydd, dynodai felusder ac addfwynder. Yr oedd ei lygaid yn fach a llwydwyrdd; y talcen yn dda, y

pen yn hollol foel, a'r croen yn wŷn a dysglaer. Ymwisgai mewn du yn wastad, a dwyfron ei gôt yn syth; yn gyffredin cariai ffon, ac *umbrella* âg ôl gwaith arno, dan ei fraich. Cerddai yn hamddenol; gallai gael ychydig amser i edrych i ffenestr llyfrwerthwr, neu i aros wrth siop lyfrau ail law. Yr oedd yr olwg arno yn hollol gysurus. Ni ddywedai lawer ond ymysg ei gyfeillion. Gallai siarad hyd y bore mewn cwmpeini, ond byddai ei ymadrodd yn wastad yn gall a doeth. Yr oedd yn meddu arabedd miniog, ond anaml y defnyddiai yr arf hwn; gwell oedd ganddo ymresymu, a dywedyd pethau er adeiladaeth, a chynghor, a chysur. "Oni wyddoch chwi i dywysog ac i ŵr mawr syrthio heddyw yn Israel?" "A'r doethion a ddysgleiriant fel dysgleirdeb y ffurfafen; a'r rhai a dröant lawer i gyfiawnder a fyddant fel y sêr byth yn dragywydd."

---

# AFFRICA A DR. LIVINGSTONE.

GADAWSOM Dr. Livingstone yn Kolobeng, gyda Mr. Oswell a Mr. Murray, yn ymddarparu at gymeryd eu taith i'r Gogledd i ymchwilio am y llyn mawr llydan ag y clywsent gymaint o son am dano, ond yr hwn nis gwelsai yr un Ewropëad erioed, sef Llyn Ngami. Yr oedd y ffordd union tuag yno yn gorwedd ar draws anialwch Kalahári, o'r hwn y rhoddasom fras ddesgrifiad yn ein hysgrif flaenorol. Yr oedd o bwys, gan hyny, iddynt gael arweinwyr cyfarwydd â'r anial hwnw; rhai a wyddent am yr ychydig fânau lle y gellid cael dwfr. Heb hyny gallent grwydro ar hyd lleoedd sychion, nes y byddai iddynt hwy a'u hanifeiliaid drengu gan eisieu dwfr. Sicrhäwyd arweinwyr o blith y Bakwains, ac yn eu plith un o'r enw Ramotóbi. Perthynai y gŵr hwn i lwyth Sekómi, yr hwn oedd wedi dangos y fath anfoddlonrwydd i Dr. Livingstone fyned tua'r llyn; ond yr oedd wedi dianc oddiwrth ei feistr, ac wedi ymuno â llwyth Sechele. Tra yr oeddynt yn aros yn Kolobeng, daeth cenadau oddiwrth Lechulatébe, penaeth y wlad o amgylch y llyn, yn deisyfu ar Dr. Livingstone ymweled â'r ardal hono. Dygasant y fath hanes am y cyfoeth o ifori ag oedd i'w gael yn eu gwlad hwy—yr oedd hyd yn nôd eu corlanau hwy wedi eu gwneyd â dannedd elephantiaid o faintioli anferthol—nes gwneyd yr arweinyddion Bakwainaidd mor awyddus am gyrhaedd y llyn â Dr. Livingstone a'i gymdeithion; ac fel y dywedasom eisoes, cychwynasant ar eu hymdaith bwysig—pwysig iddynt hwy, a phwysig i'r byd, ar y dydd cyntaf o Fehefin, 1849.

Nid oes genym ofod a lle, ac nid yw ychwaith yn gydweddol â'n hamcan, i olrhain holl hanes y daith ddyddorol hon, na'r teithiau dilynol iddi. Ysgrifena Dr. Livingstone yn faith ac yn fanwl. Desgrifia bawb a phobpeth a gyfarfyddodd ar ei hynt. Rhydd hanes coedydd a llysiau, ffrwythydd a gwreiddiau. Desgrifia fwystfilod ac adar asgellog, ymlusgiaid ac ednogiaid, o bob math a maint. Desgrifia arwyneb y ddaear, a desgrifia hefyd drysorau y dyfnder. Cafodd pob peth ag y daeth ar ei draws fraint na chaw-

sai erioed o'r blaen—cafodd edrychiad oddiwrth lygad gwyddiant, a'i bwyso, a'i fesur, a'i farnu, gan feddwl llawn o athroniaeth. Nis gallwn ei ddilyn i bob man, oblegid rhaid i ni beidio ag ysgrifenu ond càn lleied ag a fyddo bosibl o Saesoneg a Lladin, a byddai yn fwy na mwy o drafferth i ni gael enwau Cymreig ar bob peth a ddesgrifia. Y mae yn rhwydd genym gyfaddef ar unwaith nad ydym ni mor fedrus i "grëu o'r gwreiddiau" â'n cyfaill athrylithgar o Waunhelygen. Ofni yr ydym, pe rhyfygem mor bell a myned i "grëu," na chai ein crëaduriaid ni ond croesaw pur oeraidd gan y rhan fwyaf o'n darllenwyr.

Ond prif destun ein dyddordeb mewn cysylltiad âg ymchwiliadau Dr. Livingstone yw y dynion. Nid er mwyn y coed, na'r llysiau, na'r anifeiliaid, na'r adar, y cymerodd efe ei deithiau anturiaethus, ond er mwyn y dynion; a'r hyn, uwchlaw pobpeth, sydd yn gwneyd ei hanes yn ddyddorol ydyw, iddo ddarganfod llwythau llïosog o blant dynion, y rhai ni wyddai un Ewropëad o'r blaen am eu bodolaeth. Am y dynion, gan hyny, yn benaf y gwnawn ninnau son; ond ni bydd i ni osod ein hunain o dan adduned i beidio son am ddim arall. Fe allai y bydd genym rywbeth i'w ddywedyd cyn diwedd ein hysgrif am elephantiaid a llewod, a chrëaduriaid eraill llai eu maint; ond prif destun ein sylw fydd y dynion.

Crybwyllasom eisoes am Sekómi, penaeth y Bamangwáto, llwyth o'r teulu mawr Bakwainaidd a breswylient i'r gogledd o Kolobeng, ac ar dueddau dwyreiniol anialdir Kalahári. Yr oedd hwn yn anfoddlawn i Dr. Livingstone a'i gymdeithion fyned tua'r gogledd. Ei esgus dros ei anfoddlonrwydd ydoedd fod arno ofn i ryw ddrwg eu gorddiwes, ac y byddai iddo ef gael y bai; ond y gwir reswm ydoedd ei fod yn credu mewn gorfaelaeth. Yr oedd yn awyddus i attal pawb i fyned i ardal y llyn, fel y gallai efe gadw y fasnach mewn ifori yn ei law ei hunan. Pan oedd ein teithwyr yn gorphwys yn Serotli, dychrynwyd eu hanifeiliaid gan ymddangosiad *hyena* yn eu plith. Dywed Dr. Livingstone am yr anifail hwn fod ei ddewrder yn debyg i'r eiddo ceiliog Twrci—fe ymlid bob peth a ffy o'i flaen, gan arwyddo wrth swn ei gyfarthiad mai gwae fydd iddo y mynyd y cyrhaeddo efe ei sodlau. Ond pan safo yr erlidiedig, sefyll a wna yntau, a dyna'r holl ystwr ar ben. Ond fel y bu gwaetha'r modd, nid sefyll a wnaeth ychen ein teithwyr. Darfu i ddau ar bymtheg o honynt ffoi nerth eu carnau, ac ni orphwysasant nes eu bod yn nwylaw Sekómi. Y mae un peth i'w ddyweyd yn ffafr y penaeth hwn. Er ei holl ffaeleddau, nid yw yn lleidr ychen, ac nid yw lladratta anifeiliaid ychwaith, yn ol dull Caffraria, yn beth arferol yn y gwledydd hyn. Nid ofni colli yr ychen a barai i'n teithwyr edrych ar y dygwyddiad fel un anffodus, ond yr anghenrheidrwydd a osodid fel hyn arnynt i ddyfod i gyffyrddiad â Sekómi, pan oeddynt yn y weithred o wrthwynebu ei ewyllys. Anfonodd y penaeth yr ychen yn eu hôl, gyda chenadwriaeth at y teithwyr yn taer ddeisyfu arnynt beidio ag anturio i'r anial. "Pa le," meddai, "yr ydych am fyned? Fe'ch lleddir gan yr haul, a chan syched, ac yna fe fydd i'r holl bobl wynion osod y bai arnaf fi am na buaswn yn eich hachub." Cefnogid hyn gan genadwri oddiwrth ei fam—"Paham yr ydych yn myned heibio i mi?" meddai hithau. "Yr wyf fi bob amser wedi peri i'r bobl ymgasglu i wrando y gair sydd genych i'w draethu iddynt. Pa ddrwg yr wyf fi wedi bod yn euog o hono fel yr ydych yn myned heibio heb edrych arnaf?" Sicrhäodd Dr. Livingstone y cenadau nad oedd achos i Sekómi ofni cael ei feio am eu

tynghed hwy, pa beth bynag a ddygwyddai iddynt; mai os trengu a wnaent, y byddai i'r bobl wynion briodoli hyny i'w pengaledwch hwy eu hunain. Wedi i'r isbenaeth a flaenorai genadau Sekómi dreulio ei holl hyawdledd i'w perswadio i ddychwelyd yn ofer, dechreuodd ymholi pwy oedd yn eu harwain. Gobeithiai yn ei galon nad oedd ganddynt neb cyfarwydd, ac mai trengu yn yr anial a wnaent. Ond wrth edrych o'i amgylch, canfu, er ei fawr siomedigaeth, ŵr o'r un llwyth ag ef ei hun, am yr hwn y crybwyllasom eisoes ddarfod iddo ffoi at Sechele, a dywedodd gydag wynebpryd a arwyddai yn anghamsyniol anfoddlonrwydd dwfn ei galon, "Ramotóbi yw." Yr oedd pob gobaith drosodd yn awr, oblegid ofnai fod Ramotóbi yn ddigon cyfarwydd i'w dwyn yn ddiogel trwy yr anial. Anfonasant anrheg werthfawr i Sekómi gyda'r cenadau, ynghydag addewid os byddai iddo adael i'r Bakalahari gadw y ffynnonau dwfr yn agored, y byddai iddynt wneyd yr un peth ar eu dychweliad. Ond nid oedd Sekómi wedi dybenu â hwy eto. Nid am ychydig y rhoddai efe i fyny ei amcan. Yr oedd yn gyfaill mwyn, hawddgar, gofalus am ddiogelwch a chysur y teithwyr mewn gair, ond yn elyn marwol mewn gwirionedd. Nis gallai chwareu rhan gelyn gonest ac agored. Nis gallai gael ar ei galon i ddywedyd, "Trowch yn eich holau, ac onidê mi a wnâf i chwi droi." Neidr yn y glaswellt oedd Sekómi. Yr oedd am eu brathu yn angeuol pe gallasai wneuthur hyny heb iddynt hwy wybod o ba le yr oedd y brâth yn dyfod. Gwnaeth ei eithaf i ddwyn arnynt yn yr anial y dynghed hono ag y proffesai fod arno gymaint o ofn iddi ddygwydd iddynt. Anfonodd ddynion o'u blaen i ymlid y llwynwyr a'r Bakalahari oddiar eu ffordd, rhag i'r bobl hyny eu harwain neu eu cynnorthwyo. Ac wedi iddynt groesi yr anial, a chyrhaedd yr afon Zouga, esgynasant yr afon o'u blaen, gan daenu y sôn mai amcan y bobl wynion a'u cymdeithion ydoedd yspeilio yr holl lwythau a breswylient ar lànau yr afon ac amgylchoedd y llyn. Ond wedi iddynt fyned hanner y ffordd i fyny yr afon, cymerwyd eu blaenor yn glaf mewn twymyn, a bu farw. Cafodd hyn effaith dda, oblegid edrychai y trigolion ar ei farwolaeth fel cosb am y drwg a geisiasai ei wneyd i'r teithwyr. Gwelsant trwy resymau Sekómi am ddymuno iddynt fethu yn eu hamcan; ac er iddynt ar y cyntaf ddyfod at Dr. Livingstone a'i gymdeithion o dan arfau, darfu i diriondeb a thegwch symud eu holl ammheuon, a'u gwneyd yn eithaf cyfeillgar. Fel hyn y siomwyd ystrywiau llechwraidd y penaeth ffals a dichellgar Sekómi.

Nid heb achos yr oedd ein teithwyr yn bryderus am gael arweinyddion cyfarwydd, oblegid yr oedd y ffordd ar hyd pa un y teithient yn wastadedd unffurf am lawer o filldiroedd. Yr oedd y ddaear dywodlyd o dan eu traed yn adlewyrchu pelydrau yr haul gyda thanbeidrwydd; ac er bod yno lwyni o goed yma ac acw, yr oeddynt mor debyg i'r naill y llall, a'r pellder rhyngddynt â'u gilydd mor unffurf, fel os crwydrai un o honynt o olwg y wageni, ca'i drafferth y byd i gaffael ei ffordd yn ol. Bu yn drafferth flin un noswaith ar y Meistri Oswell a Murray. Aethent i gryn bellder oddiwrth y wageni i geisio helwriaeth, o dan arweiniad un o'r Bakalahari. Darfu i berffaith unffurfedd y wlad beri i hwn, er ei fod yn fab yr anialwch, golli ei ffordd. O herwydd bod rhai geiriau yn ei iaith ef yn wahanol eu hystyr, tra yn debyg eu sain, methai ein teithwyr ac yntau ddeall y naill y llall; a phur ddigrifol gan hyny fu yr ymddyddan rhyngddynt ar hyd y noswaith oer hono. Gofynent iddo pa le yr ydoedd y wageni.

Atebai yntau, "Nis gwn; yr wyf wedi crwydro. Ni bu i mi grwydro erioed o'r blaen. Yr wyf wedi llwyr golli fy hunan." Ond tybient hwy iddo ateb, "Nis gwn. Y mae arnaf eisieu dwfr. Yr wyf yn llawen. Yr wyf wrth fy modd. Yr wyf yn ddiolchar iawn i chwi." "Cymer ni at y wageni," meddent, a chai ddigon o ddwfr." Ond yr unig ateb a gawsant, yn ol eu tyb hwy, oedd rhywbeth ynghylch diolchgarwch, a bod wrth ei fodd, a dwfr eto. Yr oedd yn ymddangos fel wedi gwylltio—ceisio cofio y ffordd yr oedd y dyn; ond yr oedd ei edrychiad yn ddigon o brawf iddynt hwy fod yr ychydig synwyr oedd ganddo wedi myned ar goll, tra nad oedd ei holl siarad am ddiolchgarwch ond dyfais i ddyhuddo eu digofaint. "Wel," meddent, "y mae Livingstone wedi gwneyd yn lân â ni wrth ein gosod o dan ofal ynfydyn o fath hwn. Bydd yn hir cyn y dalio ni yn ymddiried ein hunain i'w ofal eto. Beth ddichon y delff fod yn ei feddwl wrth siarad fyth am ddiolch—diolch a dwfr, dwfr? Y ffol geni, cymer ni at y wageni, a chei ddigon o fwyd *a* dwfr. Oni byddai i gurfa dda ddyfod âg e' i'w synwyrau? Na, fe barai hyny iddo redeg i ffwrdd, ac ni a fyddem yn waeth ein hynt nag ydym yn awr." Crwydrasant fel hyn trwy y nos. Drannoeth cyrhaeddasant y wageni, ac nid bychan y digrifwch a gafodd yr holl gwmpeini wrth glywed yr helynt yr oeddynt wedi bod ynddo gyda'u harweinydd. Yr oeddynt yn awr yn Serotli, lle yr oeddynt wedi aros am rai dyddiau er mwyn y dwfr oedd yno. Nid oedd i'w gael yno ar y wyneb. Rhaid oedd iddynt gloddio trwy y tywod at haen o glai oedd odditanodd, a gofalu na thorent trwy yr haen hono, onidê elai yr ychydig ddwfr i golli. Ac ar ol y drafferth i gyd, bu gorfod arnynt aros am ddyddiau cyn cael digon o ddwfr i'w disychedu hwy a'u hanifeiliaid. Cawsant hyny yn y diwedd, a chychwynasant. Gadawsant Serotli ychydig cyn gostwng haul; oblegid er ei bod yn auaf, yr oedd gwres yr haul y fath yn ngrym y dydd fel y buasai yn ynfydrwydd iddynt gynnyg teithio ond y bore a'r hwyr; ac araf y medrent deithio ar y goreu. Suddai y tywod o dan draed eu hychen, ac o dan olwynion eu wageni; ac erbyn hwyr yr ail dydd, deallasant wrth eu fforddfesurydd nad oeddynt wedi teithio ond pump ar hugain o filldiroedd er pan adawsent Serotli. Yr oedd hyn yn rhy araf i'r arweinydd Ramotóbi, a dywedodd fod gwaith tri diwrnod ganddynt cyn y deuent at y dwfr nesaf, ac os na byddai iddynt wneyd mwy o frys na byddai iddynt ei gyrhaedd byth. Ond y cwbl a allasent ei wneyd, er ymdrech, y diwrnod nesaf oedd pedair milldir ar bymtheg; a chan fod ganddynt ddeg ar hugain drachefn cyn dyfod at y dwfr, yr oedd wedi myned yn amser pur sobr arnynt. Er mwyn cadw y ceffylau yn fyw, anfonasant hwy yn y blaen gyda'r arweinydd, ac aeth Mr. Murray gyda hwy; a dilynodd y gweddill yn araf gyda'r ychen a'r wageni. Ond drannoeth, pan yr oeddynt yn tybied fod y ceffylau wedi cyrhaedd y dwfr, er eu mawr syndod, gwelent hwy ochr yn ochr â'r wageni. Yr oedd Ramotóbi wedi crwydro yn ôl traed rhyw lwynwyr, a Mr. Murray wedi ei ddilyn, a'r canlyniad a fu diwrnod o deithio caled heb fyned yn nês at y dwfr. Ond o'r diwedd, er eu mawr lawenydd, cyrhaeddasant y dyfroedd, a chawsant ddigonedd. Yn Nchokotsa, daethant ar draws y gyntaf o nifer mawr o bedyll halen *(salt-pans)*—math o bantle, agos i grwn, tuag ugain milldir o amgylchedd, ac yn orchuddiedig gan flottarddiad calchaidd *(efflorescence of lime)*. Yr oedd yr haul ar fachlud pan ddaethant i olwg y badell, a thaflai ei belydrau rhyw niwl glasaidd ar y cresteniadau gwynion hyn, nes yr ymddangosai yn berffaith fel llyn mawr o ddwfr. Tybiodd Mr.

Oswell eu bod wedi dyfod o hyd i'r llyn a geisient; taflodd ei het i fyny tua'r wybr, a gwaeddodd gan lawenydd. Yr oedd Dr. Livingstone ychydig y tu ôl iddo, a chafodd yntau ei dwyllo mor llwyr â Mr. Oswell. Yr oedd y twyllolwg mor berffaith, fel y gwelent y tònau yn dawnsio ar y wyneb, a'r coed o amgylch yn cael eu hadlewyrchu yn y dyfnder. Ac nid ein teithwyr Ewropëaidd yn unig a dwyllwyd. Twyllwyd yr Hottentotiaid—twyllwyd y cŵn, y ceffylau, a'r ychen, a rhedodd pawb a phobpeth byw yn frysiog tua'r dwfr. Ond nid oedd dafn o ddwfr yno; nid oedd yr holl olygfa ond twyll i gyd. Dygwyddodd hyn iddynt lawer gwaith wedi hyny. Yr oedd cael eu siomi fel yma yn beth blin, a blinach fyth oedd cael allan eu bod eto dri chant o filldiroedd oddiwrth y llyn y daethent allan i'w geisio.

Ar y 4ydd o Orphenaf, daethant at yr afon Zouga. Yr oedd yno bentref o Bakurutse ar ei glàn hi. Ymddygodd y trigolion yn gyfeillgar tuag at ein teithwyr, a dywedasant fod dyfroedd y Zouga yn dyfod allan o Lyn Ngami. Yr oedd hyn yn newydd da iddynt, oblegid teimlent yn awr fod y rhwystrau mwyaf oedd ar eu ffordd i gyrhaedd eu hamcan wedi eu gorchfygu. Dywedodd y trigolion wrthynt y gallent fod leuad ar y ffordd, ond fod ganddynt ddyfroedd y Zouga wrth eu traed; ac ond iddynt ddilyn y rhai hyny, y deuent yn y diwedd at y dyfroedd llydain. Aethant i fyny gyda glàn yr afon am yn agos i gan' milldir; ac wedi deall fod ganddynt ffordd faith eto cyn cyrhaedd y llyn, gadawsant y wageni a'r ychen, ond un wagen ac un wêdd, mewn lle a elwir Ngabisáne, ac aethant rhag eu blaen yn gyflymach, am eu bod yn ysgafnach. Clybu penaeth ardal y llyn am eu nesâd, ac anfonodd orchymyn i'r bobloedd a breswylient ar lànau yr afon i'w cynnorthwyo. Gelwir y bobl hyn Bakóba, a dengys eu hiaith fod perthynas rhyngddynt â llwythau y gogledd. Nid oes hanes eu bod erioed wedi bod yn ymladd. Y mae traddodiad yn eu plith i'w tadau wneyd bwâau o fath o balmwydd, a phan dorodd y rhai hyny iddynt roddi i fyny ymladd am byth. Ymostyngant i lywodraeth y llwyth a ddygwyddo fod yn arglwyddiaethu ar y gwledydd dyfradwy lle maent yn hoffi preswylio. Ymhen amser wedi ymweliad ein teithwyr â hwy, darfu i benaeth y llyn, er mwyn gwneyd milwyr o honynt, eu hanrhegu â thariannau. Yr oeddynt yn foddlawn dros ben i'r anrheg; hwy a ymladdent o hyny allan. Yr oeddynt wedi ildio bob amser o eisieu tariannau, ond yn awr gwae i'r gelyn a ymosodai arnynt. Ond nid hir y bu myntai o Makololo cyn bod yn ddigon rhyfygus i ymosod arnynt, er bod ganddynt dariannau. Profasant ar unwaith mai peth pur wahanol i fygwth yw ymladd. Heb daro ergyd mewn hunanamddiffyniad, neidiasant i'w cychod, a lawr â hwy gyda'r afon, heb droi eu hwynebau yn ol nes iddynt fethu a chael dwfr i'w cludo ymhellach. Ystyriai Dr. Livingstone mai hwynt-hwy yw cwaceriaid corff gwleidiadol canolbarth Affrica.

Ymhen deuddeng niwrnod wedi ymadael â'r wageni yn Ngabisáne, daethant at làn ogledd-ddwyreiniol Llyn Nghami; ac ar y cyntaf o Awst, 1849, aethant i waered ynghyd at barth llydan y llyn. Dyma y tro cyntaf erioed i lygad Ewropëad dremio ar y dyfroedd llydain hyn. Ymestyn y llyn yn agos yn y cyfeiriad o ogledd a dehau; ond dywedir fod ei ben deheuol yn troi rhyw gymaint tua'r gorllewin. Nis gallai ein teithwyr weled glàn wrth edrych tua'r dehau, na ffurfio dychymyg, ond oddiwrth yr hanes a roddid gan y trigolion, am faint y llyn. Dywedent hwy eu bod yn gallael myned o'i amgylch mewn tri diwrnod, ac felly, a gadael eu bod yn gwneyd pum' milldir ar hugain bob dydd, bernid fod y llyn yn bymtheng milldir a thri-

ugain o amgylchedd. Nid ymddengys ei fod yn ddwfn, a chafodd Dr. Livingstone brawf newydd yma o'r hyn a welsai droion o'r blaen, sef bod dyfroedd Affrica yn sychu i fyny. Yr oedd yn amlwg fod y llyn yn llawer llai nag yr oedd unwaith wedi bod. Mewn llawer man ceid enwau afonydd lle nad oedd ond eu henwau, a rhyw gafnau ag y gellid meddwl am danynt fod dwfr wedi bod yn llifo ar hyd-ddynt mewn amseroedd a aethant heibio. Ac am y pedyll halen ag y deuent ar eu traws yma ac acw ar eu taith, y mae y sail gryfaf i'r grediniaeth mai llynoedd ydynt wedi sychu i fyny. Pa bellaf yr elent tua'r gogledd, mwyaf dyfradwy y caent y wlad. Wrth esgyn yr afon Zouga, daethant o hyd i geg afon Tamunak'le, yr hon a ymarllwys i'r Zouga gryn ffordd i'r dwyrain i'r llyn. Gofynasant o ba le yr oedd hono yn dyfod, a'r ateb a gawsant ydoedd, "O, o wlad lawn o afonydd, gymaint o honynt fel nas gall neb ddywedyd eu nifer, a llawn o brenau mawrion." Pan aeth Dr. Livingstone i fyny i'r gogledd ymhen blynyddoedd ar ol hyn, cafodd y desgrifiad hwn yn gywir. Yr *oedd* yn wlad lawn o afonydd, a phrenau mawrion lawer iawn. Cychwynasai Dr. Livingstone o Kolobeng er mwyn gweled Llyn Ngami, a chyrhaeddodd ei amcan; ond yr oedd ganddo amcan heblaw, a thu hwnt i hwnw, sef ymweled â Sebituane, penaeth y Makololo, y mwyaf, o lawer, o holl benaethiaid y gwledydd hyny, yr hwn a deyrnasai tua dau gant o filldiroedd i'r gogledd o'r llyn. Ond cafodd hyn yn beth anhawdd i'w wneyd. Yr oedd Lechulatébe, penaeth y llyn, yn perthyn i dylwyth Sekómi yn yr ysbryd, gan nad beth am yn y cnawd. Y maent yn deulu llïosog iawn. Adwaenom bagad o'r perthynasau yn Nghymru, ac ambell un yn Lloegr hefyd. Gŵr ieuanc ydoedd hwn, ac nid oedd y teimladau goreu yn y byd rhyngddo â Sebituane, oblegid yr oedd y penaeth hwnw wedi gorchfygu ei dad, ac yntau wedi bod yn garcharor yn ei law am rai o flynyddoedd ei febyd. Yr oedd ganddo ewythr yn ŵr da, synwyrol. Prynodd hwnw ef yn rhydd, a gosododd ef yn y benaduriaeth. Wedi cael yr awdurdod i'w law, meddyliodd mai y ffordd briodol i'w arfer, oedd gwneyd pob peth yn groes i ewyllys ei ewythr. Os efe oedd y penaeth, yr ydoedd am fod. Pan gynghorai ei ewythr ef i fyned i'r dwyrain—os i'r dwyrain yr äi, ei ewythr fyddai y penaeth, ac nid efe; gan hyny, er mwyn ei berswadio ei hun, a pherswadio eraill, mai efe oedd y penaeth, ac nid ei ewythr, elai i'r gorllewin. Fe allai mai cynghor ei ewythr oedd y goreu er ei les ef ei hun, ac er lles ei bobl, ond teimlai fod yn rhaid iddo ef dalu sylw i beth llawer mwy pwysig na lles pobl—yr oedd yn rhaid iddo ef ddangos mai efe oedd ben. Nid yw llwyddiant gwlad, na llwyddiant eglwys chwaith—nid yw lles eneidiau anfarwol, na gogoniant y Duw mawr ei hun, ond pethau bychain distadl a dirmygedig iawn, pan fyddo ar ddyn mewn swydd eisieu dangos mai yn ei law *ef* y mae yr awdurdod—mai *efe* ac nid neb arall yw y dyn mawr.

Cynghorodd ei ewythr Lechulatébe i roddi derbyniad anrhydeddus i'r teithwyr, ac anfonodd yntau iddynt anrheg o afr. Dylasai fod yn ŷch. Cynnygiodd Dr. Livingstone gan hyny ollwng yr anifail barfog yn ei ôl fel awgrym i'w berchenog. Yr oeddynt am brynu ychain a geifr, a chynnygiodd y penaeth iddynt ddannedd elephantiaid. "Na," meddent hwythau, "Nis gallwn fwyta y pethau hyn; y mae arnom eisieu rhywbeth i lenwi ein cylla." "Nis gallaf finnau chwaith," oedd ei ateb yntau; "ond yr wyf yn clywed eich bod chwi, y bobl wynion, yn hoff iawn o'r esgyrn yma, ac felly yr wyf yn eu cynnyg i chwi; y mae arnaf eisieu gosod y geifr yn fy nghylla fy hunan."

"Esgyrn" y galwent hwy yr ifori y pryd hwn, a rhoddent ef ymaith am rywbeth neu ddim, ac yn fynych gadewid iddo bydru gydag esgyrn eraill yr anifail yn y màn y trengai; ond cyn pen dwy flynedd wedi yr ymweliad hwn, yr oeddynt o'r mwyaf hyd y lleiaf wedi dyfod i wybod gwell. Gofynodd Dr. Livingstone i'r penaeth am arweinwyr i fyned i fyny at Sebituane, ond yr oedd ymhell o fod yn foddlawn i gydsynio. Yr oedd arno ofn y penaeth hwnw, a drwgdybiai y byddai i bobl wynion eraill fyned i fyny a rhoddi arfau tân iddo. Yr oedd yn ddigon trech nag ef eisoes—byddai yn ormod wed'yn; tra ar y llaw arall, os gallai efe gadw y fasnach â'r bobl wynion yn ei law ei hun, a meddiannu arfau tân tra yr oedd Sebituane hebddynt, efe fuasai y dyn mwyaf yn y màn; a buan y buasai raid i Sebituane ei ofni ef. Yn ofer yr addawai Dr. Livingstone berswadio Sebituane i fod yn heddychol, ac y dywedai fod y penaeth hwnw wedi bod yn dad iddo ef yn gystal ac i Sechele, a'i fod mor awyddus am ei weled ef ag yr oedd yntau wedi bod. Yn y diwedd, rhwng bodd ac anfodd, addawodd roddi arweinyddion iddynt; ond y dydd nesaf, pan oeddynt yn barod i gychwyn, gwrthododd, ac nid hyny yn unig, ond dilynodd siampl Sekómi, trwy anfon dynion i orchymyn i'r bobl beidio eu cynnorthwyo i groesi y Zouga. Bu Dr. Livingstone am lawer o oriau yn gweithio hyd ei ganol yn y dwfr, yn treio yn galed i wneyd cludai i groesi yr afon, ond yn ofer; oblegid yr oedd y coed mor grinion fel na ddalient bwysau un dyn. Nis gwyddai y pryd hwnw fod y Zouga mor llawn o grocodiliaid ag y mae hi; a dywed, a hawdd genym ei goelio, nad yw un amser yn meddwl am ei lafur yn yr afon heb deimlo yn ddiolchgar am iddo gael dianc rhag dannedd y crëaduriaid rheibus hyny. Gan fod y tymmor wedi myned mor bell, a chan i Mr. Oswell gyda ei ryddfrydigrwydd arferol addaw myned i waered i'r Penrhyn, a dwyn bâd i fyny oddiyno, penderfynasant ddychwelyd tua'r deheu ar unwaith, a rhoddi i fyny am y tro hwnw y bwriad o ymweled â Sebituane. Daethant i waered yn llawer haws nag yr aethent i fyny, a chyrhaeddasant Kolobeng yn ddiogel, wedi chwanegu yn ddirfawr at wybodaeth ddaearyddol y byd.

Arosodd Dr. Livingstone yn Kolobeng hyd Ebrill, 1850. Y pryd hwnw, cychwynodd eilwaith tua'r gogledd, gan gymeryd Mrs. Livingstone a'u tri phlentyn, a'r penaeth Sechele, gydag ef. Bwriadent groesi y Zouga yn ei phen isaf, a myned i fyny ar hyd ei glàn ogleddol nes dyfod at geg y Tamunak'le, ac yna esgyn ar hyd yr afon hono tua gwlad Sebituane. Yr oedd Sekómi wedi gorchymyn cau i fyny y ffynnonau a gloddiasent gyda chymaint o lafur yn Serotli, ac o ganlyniad gorfu iddynt gymeryd ffordd fwy dwyreiniol trwy dref y Bamangwáto. Gofynai y penaeth iddo paham y bu iddo ei osgôi ef yn ei daith flaenorol? Atebodd Dr. Livingstone, "O herwydd fy mod yn gwybod eich bod yn anfoddlawn i mi fyned at y llyn, ac nid oeddwn yn chwennych cweryla â chwi." "Wel," meddai yntau, "chwi a'm curasoch y pryd hwnw, ac yr wyf finnau yn foddlawn." Cyrhaeddasant y Zouga, a chroesasant hi mewn lle bâs, ond cawsant fyd o drafferth i deithio ar hyd ei glàn ogleddol hi, gan mor goediog ydoedd. Gorfu iddynt dori i lawr lawer o goed i wneyd ffordd i'r wageni, a chollasant lawer o'u hychen trwy eu bod yn syrthio i frâdbyllau (*pitfalls*) a wnaethai y brodorion i ddal anifeiliaid gwylltion. Yr oedd y Bayeíye, ymysg pa rai y teithient, yn dra charedig, ac agorasant lawer o'r pyllau hyn pan ddeallasant eu bod yn nesâu; a phan y dygwyddai anffawd i rai o'r ychen, nid oedd ein

teithwyr yn deimlo yn dueddol i achwyn, gan mai trwy y pethau hyn yn benaf yr oedd pobl y wlad yn cael eu bywioliaeth. Cyn iddynt gyrhaedd ceg y Tamunak'le, dywedwyd wrthynt fod glànau yr afon hono yn llawn o'r cylion angeuol hyny a elwir *tsétse*. Yr oedd hwn yn rhwystr annysgwyliadwy. Nid oedd o un dyben iddynt feddwl am fyned y ffordd hono mwy, oblegid buasai yn angeu i'w holl ychen, ac i bob rhyw anifail dôf arall oedd ganddynt, a buasent felly yn cael eu gorfodi i sefyll yn nghanol yr anial mewn lle nas gellent gael ymborth. Gorfodwyd hwy gan hyny yn fawr yn erbyn eu hewyllys i adgroesi y Zouga.

Y mae y *tsétse* yn ednogiaid tra rhyfedd. O ran maint y maent yn debyg i'r clyr cyffredin sydd yn mynychu ein tai, ac o ran lliw yn debyg i wenyn, ond bod tri neu bedwar o gylchoedd melynion ar y parth ol o'u cyrff. Y mae eu hadenydd yn hirion mewn cyfartaledd i faint eu cyrff, a gwnant sŵn wrth ehedeg sydd yn eu gwneyd yn hawdd i'w hadnabod; ac y mae y sŵn hwnw yn ddigon i daro y teithiwr â dychryn, os bydd ei symudiadau yn ymddibynu ar anifeiliaid dofion. Y mae eu pigiadau bob amser yn angeuol i wartheg, cŵn, a cheffylau. I ddynion y maent yn ddiniwed, yn gystal ag i asynod, mulod, geifr, ac anifeiliaid gwylltion. Pigant y rhai hyn, ond nid yw eu brathiad yn gwneyd un niwed iddynt hwy. Nid yw chwaith yn niweidiol i loi tra fyddont yn sugno. Y mae llwythau llïosog y rhai a breswylient ar hyd glànau y Zambesi yn analluog i gadw un math o anifeiliaid dofion ond geifr, o herwydd llïosogrwydd yr ednogiaid rheibus hyn. Brathwyd ein teithwyr droion ganddynt, a brathwyd y plant; ond ni theimlasant un math o anghyfleusdra ond ychydig o ysfa ar y pryd, llai nag ar ol brâth *mosquito;* ond brathwyd eu hychen, ac yn ystod un daith collasant dri a deugain o honynt. Ac nid oes eisieu rhyw lawer o honynt chwaith i wneyd y drwg; oblegid teimla Dr. Livingstone na bu mwy nag ugain o honynt yn agos at yr anifeiliaid er iddynt wneuthur yr holl alanastra hwn. Pa fodd y mae brâth yr un ednogyn yn angeuol i un math o anifail, ac yn ddiniwed i fath arall, nid oes neb eto yn gwybod. Nid yw yn lladd ar unwaith, ond y mae yr anifail a frethir yn dyhoeni am wythnosau, ac weithiau am fisoedd, cyn marw.

Troisom oddiar y ffordd i roddi ychydig o hanes y *tsétse,* gan adael ein teithwyr ar làn ddeheuol y Zouga. Clywsant yno fod amryw Saeson, y rhai a ddaethent i weled y llyn, wedi eu cymeryd gan y dwymyn, ac yn gorwedd yn glaf yno. Brysiasant atynt i'w cynnorthwyo, ac er eu mawr ofid cawsant fod un o honynt, Mr. Rider, wedi marw cyn iddynt gyrhaedd. Yr oedd y boneddwr hwn ymron gorphen tynu darlun o Lyn Ngami pan gymerwyd ef yn glaf, ac argraffiad o'r darlun anorphenedig hwnw a geir yn llyfr Dr. Livingstone. Yr oedd eu dyfodiad yn drugaredd i'r gweddill, oblegid trwy gymhorth cyffyriau meddygol, a gofal ac ymgeledd yr unig foneddiges Ewropëaidd a ymwelsai erioed â'r parthau hyny, cawsant adferiad buan. Defnyddiodd Sechele ei holl hyawdledd i berswadio Lechulatébe i roddi arweinyddion i Dr. Livingstone i fyned at Sebituane, tra yr arosai Mrs. Livingstone a'r plant gydag ef wrth y llyn. Rhoddodd ffordd o'r diwedd. Yr oedd gan ein teithiwr ddryll rhagorol a wnaethid yn Llundain, ac a roddesid iddo gan yr Isgadben Arkwright. Yr oedd yn gosod gwerth mawr arno er mwyn y rhoddwr, yn gystal ac o herwydd yr anhawsder i gael un cystal ag ef yn ei le. Syrthiodd y penaeth â'r enw hir mewn cariad â hwn, ac addawodd i Dr. Livingstone faint a fynai o ddannedd elephantiaid am dano; a chan

fod ein teithiwr mor awyddus am fyned at Sebituane ag ydoedd y penaeth am gael y dryll, daethant i fargen â'u gilydd ar y telerau hyn—y penaeth i gael y dryll, a Dr. Livingstone i gael arweinwyr. Ond drannoeth cyfododd rhwystr newydd. Cymerwyd dau o'r plant yn glaf gan y dwymyn, ac erbyn y diwrnod nesaf yr oedd eu holl weision i lawr yn yr un clefyd. Gan nad oes dim yn well yn y dolur hwn na newid lle, rhoddasant i fyny y bwriad o ymweled â Sebituane y flwyddyn hono, a dychwelasant i fwynhâu awyr iachus yr anialwch.

Yr oedd rhyw gamsyniad wedi bod yn y trefniant â Mr. Oswell. Bwriadai efe fod yn un yn y daith hon, ond trwy ryw gamddeall, yr oedd yn ol llaw, a chyfarfu ein teithwyr âg ef ar eu dychweliad wrth y Zouga yn gwneyd ei ffordd tuag i fyny. Rhoddodd efe gan hyny y gweddill o'r tymmor i hela elephantiaid. Cydunai y brodorion i ddywedyd mai efe oedd yr heliwr mwyaf campus a ymwelsai erioed â'u gwledydd hwy. Yn gyffredin defnyddid cŵn. Y mae yr anifail mawreddog hwn yn cael ei flino gymaint gan bresennoldeb tri neu bedwar o gorgwn ystrywgar, fel nad yw yn talu sylw i bresennoldeb y dyn. Gwna ymdrechion lledchwith i'w llethu trwy syrthio ar ei benliniau, ac ambell bryd gesyd ei dalcen yn erbyn pren, a gwthia hwnw i lawr o'i flaen, fel pe byddai yn dysgwyl bod yn abl dal ei elynion ffordd hyny. Y mae yr heliwr mewn perygl os bydd i'r cŵn redeg ato ef, ac felly tynu yr elephant at eu meistr. Ond heliai Mr. Oswell heb gŵn, ac yr oedd yn dra llwyddiannus. Lladdodd unwaith bedwar elephant gwryw llawn faint mewn un diwrnod. Byddai gwerth yr ifori a geid ar y rhai hyny oddeutu can' gini. Yr oedd ei lwyddiant yn fanteisiol i Dr. Livingstone mewn mwy nag un ffordd. Parodd i'r brodorion goleddu syniadau uchel iawn am wroldeb y Saeson; a phan fyddent am ei ganmawl ef, dywedent, "Pe na buasech chwi yn genadwr, chwithau a fuasech yn gystal heliwr ag Oswell, ac ni buasech yn defnyddio cŵn chwaith." Pan ddaeth Dr. Livingstone a'i deulu i'r Penrhyn yn 1852, a'i gob ddu yn un ar ddeg o flynyddoedd allan o'r ffasiwn, a'i blant yn hanner noethion, ac heb geiniog o gyflog i'w dysgwyl, cafodd gyflawnder o wisgoedd iddynt oll, gwerth dau cant o bunnoedd, wedi eu darparu gan Mr. Oswell. "Yr wyf fi o'r farn," meddai y boneddwr caredig hwnw, fel esgus dros ei weithred haelfrydig, "yr wyf fi o'r farn fod gan Mrs. Livingstone hawl i helwriaeth ei fforestydd ei hun."

Wedi methu yn eu hamcan i ymweled â Sebituane y tro hwn eto, dychwelasent i Kolobeng; ond nid hir y buont yno cyn i genadwyr ddyfod atynt oddiwrth y penaeth hwnw ei hun. Pan glywodd eu bod wedi ymdrechu dyfod ato, ac wedi methu, anfonodd dair myntai o wŷr, a thair ar ddeg o wartheg brychion i Léchulatébe, tair ar ddeg o rai gwynion i Sekómi, a thair ar ddeg o rai duon i Sechele. Ar ol talu ymweliad â Kuruman, preswylfa yr enwog Moffat, cychwynasant eto tua'r gogledd. Yr oedd Mr. Oswell y tro hwn yn gwneyd i fyny un o'r cwmni; a chan fod Dr. Livingstone yn gobeithio y ca'i le i breswylio ac i lafurio fel cenadwr rywle yn agos i Sebituane, cymerodd Mrs. Livingstone eu plant bychain y tro hwn eto gydag ef. Yr oedd Sekómi y tro hwn yn fwy haelfrydig nag arferol—ffrwyth y gwartheg gwynion, fe allai. Cariodd ei garedigrwydd mor bell ag i roddi arweinydd i'r teithwyr i fyned yn y blaen. Yr oedd ganddynt amryw arweinyddion eraill, traul pa rai a ddygid yn gwbl gan Mr. Oswell. Ond nis gwyddai neb o honynt y ffordd y bwriadent hwy fyned ar hyd-ddi

ymhellach na Nchokotsa. Aethant yn eu blaen, serch hyny, a daethant i fan i'r hon y mae enw mawr saithsillafog, ond yr hon a eilw ein teithwyr y "*Links.*" Cawsant yno gyflawnder o ffynnonau dyfroedd. Cawsant yma amryw deuluoedd o lwynwyr, rhai annhebyg hollol i lwynwyr melynddu corachaidd y Kalahári. Yr oedd y rhai hyn yn ddynion tàl, esgyrnog, a thywyll eu lliw. Cyflogasant un o honynt o'r enw Shobo, i'w harwain tua'r gogledd. Ni roddai efe un gobaith iddynt y deuent o hyd i ddwfr eto, mewn llai na mis o amser. Ond yn rhagluniaethol, daethant yn gynt nag yr oeddynt yn dysgwyl ar draws pydewau yn llawn o ddwfr gwlaw. Bu yn gyfyngder mawr arnynt am ddwfr wedi ymadael â'r lle hwn. Yr unig dyfiant a ddangosai ei hun trwy y tywod poeth o dan eu traed oedd rhyw lysieuyn hanner gwywedig a chorachaidd, yr hwn o'r braidd a ddangosai ei ben. Nid oedd nac aderyn nac ednogyn i sirioli yr olygfa, ac i wneyd pethau yn waeth, ar yr ail ddydd darfu i'r arweinydd Shobo ddechreu crwydro. Denent ef yn y blaen yn y nos, ond crwydrai ef ymhob cyfeiriad, yn ol traed yr elephantiaid ag oeddynt wedi bod yno ar y tymmor gwlawog; ac yna eisteddai i lawr gan ddywedyd, "Dim dwfr, gwlad i gyd —Shobo yn cysgu—fe'n tori lawr—gwlad i gyd." Ar ol yr araeth gysurus hon, plygai ei hun i fyny yn dawel ac elai i gysgu. Yr oedd syched yr ychen yn angherddol, ac mor lluddedig oeddynt fel yr oeddynt yn mron syrthio, a bore y pedwerydd dydd diflanodd Shobo yn gyfangwbl. Aeth y teithwyr yn eu blaen yn araf yn y cyfeiriad y gwelsent ef yn ei gymeryd, a chyn hanner dydd dechreuasant weled adar, ac ymhen ychydig ôl traed rhinoceros. Arwyddai hyn fod dwfr gerllaw. Dadieuasant yr ychen, a rhuthrodd yr anifeiliaid sychedig yn eu blaen at yr afon Mabábe, yr hon sydd yn dyfod allan o'r Tamunak'le, ac a orweddai i'r gorllewin iddynt. Yr oedd y dwfr yn y wageni wedi ei afradu trwy esgeulusdra un o'r gweision, ac erbyn y prydnawn nid oedd ond ychydig wedi ei adael i'r plant bychain. "Yr oedd hon," medd Dr. Livingstone, "yn noswaith o bryder chwerw; a bore drannoeth ymddangosai fel pe buasai prinder y dwfr yn gwneyd y rhai bychain yn fwy eu syched. Yr oedd y drychfeddwl iddynt drengu o flaen ein llygaid yn ddychrynllyd. Buasai braidd yn esmwythâd i mi gael fy 'meio fel unig achos y cyfyngdra, ond ni ddiangodd gair croes dros wefusau eu hanwyl fam, er bod y deigryn yn ei llygad yn dywedyd yn anghamsyniol am ing ei chalon. Prydnawn y pummed dydd dychwelodd rhai o'r dynion, er ein cysur annhraethadwy, â chyflenwad o'r hylif hwnw, yr hwn na theimlasem ei wir werth yn ein bywydau o'r blaen."

Cyrhaeddasant yn awr yr afon Mabábe, ac fel yr oeddynt yn dyfod i'w golwg hi, ymddangosodd y ffoadur Shobo wrth ben myntau o Bayeíye. Yr oedd efe am ddangos i'w gyfeillion newydd ei fod yn berson o gryn bwys. Daeth i gyfarfod â'r teithwyr, a gorchymynodd iddynt sefyll yn y fan, a dwyn allan dân a myglys, ac yna eisteddodd i lawr i fygu fel tywysog. Y diwrnod nesaf, daethant i bentref o Banajoa, llwyth sydd yn ymestyn ymhell tua'r dwyrain. Yma eillia y gwragedd holl wallt eu penau, ac ymddangosant yn fwy du eu crwyn na'r Bechuaniaid. Adeiladant eu bythod ar bolion, ac yn yn y nos cyneuant dân o tanodd, er mwyn i'r mŵg yru ymaith y *mospuitoes.* Nid oedd penaeth y pentref mor gall a chyffredin, ac eto mewn un peth yr oedd wedi dangos mwy o gallineb na llawer. Yr oedd wedi deall ei ddiffyg, wedi ymddyosg o'i awdurdod, ac wedi ei *rhoddi* i

fyny i ddwylaw perthynas callach nag ef ei hun. Dywed ein hawdwr mai hwn oedd y peth tebycaf a welodd erioed i'r Negro hagr a welir yn ffenestri gwerthwyr myglys; ond profodd yn arweinydd rhagorol iddo ef a'i gymdeithion dros yr afon Sonta, a hyd lànau y Chobe, yn ngwlad Sebituane. Arwyddodd y Makololo a gyfarfuasant ar y Chobe, eu llawenydd diledryw wrth eu gweled; a chan fod eu penaeth Sebituane ar hyny o bryd ryw ugain milldir yn îs ar yr afon, cymerodd Dr. Livingstone a Mr. Oswell fadau i fyned ato ar unwaith. Yr oedd wedi dyfod o Naliéle i waered hyd Seshéke càn gynted ag y clywodd fod pobl wŷnion yn chwilio am dano; ac yn awr yr oedd wedi teithio can' milldir yn ychwaneg i'w croesawu i'w wlad. Cawsant ef ar ynys yn yr afon, a'i bendefigion o'i amgylch, y rhai a ganent â'u holl egni ar eu dyfodiad. Dywedasant wrth y penaeth am y rhwystrau yr oeddynt wedi eu cyfarfod wrth ddyfod i fyny ato, ac mor dda oedd ganddynt eu bod wedi ei gyrhaedd o'r diwedd. Dadganai yntau ei lawenydd ei hun wrth eu gweled hwy, a chwanegodd, "Y mae eich holl ychen wedi eu brathu gan y *tsétse*, ac y maent yn sicr o drengu; ond peidiwch a gofalu, y mae genyf fi ychen, ac mi a roddaf i chwi gynifer ag y bydd arnoch eu hanghen." Wedi hyny anrhegodd hwy âg ŷch a chostrelaid o fêl yn ymborth, a rhoddodd hwy i fyny i ofal Mahále, arweinydd y genadwriaeth i Kolobeng, yr hon y cyfeiriasom ati eisoes, a'r hwn oedd yn awr yn awyddus am gymeryd iddo ei hun yr holl glod oedd ddyledus am ymweliad y bobl wŷnion â'i arglwydd galluog. Cawsant grwyn ychen wedi eu cyffeithio, ac mor dyner â brethyn, i'w cuddio y nos; a chan fod y penaeth hwn yn rhy fawr i dderbyn dim yn ei ol, aeth y pethau hyn yn eiddo i Mahále. Yn hir cyn dydd, daeth Sebituane atynt; eisteddodd wrth y tân, yr hwn oedd wedi ei gynneu y tu arall i'r bŵth at eu gwasanaeth hwy, ac adroddodd wrthynt y rhwystrau a gyfarfuasai efe ei hun pan yn ŵr ieuanc wrth groesi yr anial yr oeddynt hwy newydd ei feistroli. Efe, medd ein hawdwr, oedd y mwyaf hynod ei yrfa, a thu hwnt i bob dadl, y dyn mwyaf o holl benaethiaid y gwledydd hyny; a rhydd fraslinelliad o hanes ei fywyd.

Yr oedd Sebituane tua phump a deugain oed, yn dàl ei gorff, o liw llaeth a choffi—yn hytrach yn foel. Yn ei ddull, yr oedd yn oeraidd a phwyllog, ond yn fwy rhydd ac agored yn ei atebion nag un penaeth arall a gyfarfu Dr. Livingstone erioed. Efe oedd y rhyfelwr mwyaf y tu allan i'r drefedigaeth; oblegid yn annhebyg i Mosilikátse, Dingaan, ac eraill, yr oedd efe bob amser yn arwain ei fyddin i'r frwydr ei hunan. Pan welai y gelyn, teimlai fin ei fwyall, a dywedai, "Aha! y mae yn llym, a chaiff pwy bynag a dry ei gefn ar y gelyn deimlo ei mhin." Yr oedd mor gyflym o draed fel y gwyddai ei holl bobl nad oedd un gobaith am ddiangfa i'r llwfrgi a geisiai ffoi. Ca'i y cyfryw ei dori i lawr yn dra buan. Mewn rhai amgylchiadau, gadawai i'r ffôadur ofnus ddianc gartref, ac yna galwai ef ato, a dywedai, "Ah, y mae yn well genych farw gartref na marw ar y maes, ydyw? chwi gewch eich dymuniad." Y peth nesaf fyddai ei ddienyddiad. Daethai i fyny o'r dehau, o'r wlad yn agos i darddiadau yr afonydd Likwa a Namagári, ac felly cyfarfu ein teithwyr âg ef rhwng wyth a naw cant o filldiroedd o wlad ei enedigaeth. Yr oedd yn un o'r dorf anferth hono o farbariaid a ymosodasant ar Kuruman, yn 1824, ac a yrwyd ymaith gan y Girquas. Pryd hwnw, ffôdd i'r gogledd â myntai fechan o bobl ac ychydig anifeiliaid. Yn Melita darfu i'r Bangwaketse gasglu ynghyd y Bakwains,

Bakátla, a'r Bahurutse, i'w "bwyta hwy i fyny." Gosododd yntau ei ddynion yn y blaen, a'r gwragedd y tu ôl i'r anifeiliaid, a gyrodd ei holl elynion ar ffô ar un ergyd. Wedi iddo fel hyn orchfygu Makabe, penaeth y Bangwaketse, cymerodd feddiant ar unwaith o'i dref ac o'i holl feddiannau. Ymsefydlodd wedi hyny mewn lle o'r enw Litubaruba, lle y mae Sechele yn preswylio yn awr; a dyoddefodd ef a'i bobl yn ddirfawr yno trwy ymosodiad llofruddiog haid o ddynion gwỳnion. Aeth trwy lawer o gyfnewidiadau tra yn preswylio yn mharth gogleddol gwlad y Bechuaniaid. Yn awr yr oedd yn gyfoethog, yn y man yn dlawd; weithiau yr oedd yn llwyddo, weithiau yn methu. Collodd ei holl anifeiliaid ddwy waith trwy ymosodiadau y Matebele; ond bob amser cadwai ei bobl ynghyd, ac adgymerodd fwy o anifeiliaid nag a gollasai. Wedi hyny croesodd yr anial tua'r gogledd, yn agos ar hyd yr un llwybr ag y croeswyd ef gan ein teithwyr. Cymerodd ddyn cyfarwydd â'r ffordd yn garcharor, a gorfododd hwnw i'w arwain; ond gan ei fod yn anghenrheidiol teithio ar hyd y nos er mwyn cyrhaedd dwfr, cymerodd hwnw fantais ar hyny, a diangodd yn y tywyllwch. Parhasant i deithio trwy y nos, gan feddwl eu bod yn myned yn union rhag eu blaen; ond bore drannoeth cawsant eu hunain ymysg ol eu traed y dydd o'r blaen. Torodd llawer o'i anifeiliaid oddiwrtho wedi myned yn wyllt gan syched, a rhuthrasant yn eu holau i Serotli, lle y pryd hwnw yr oedd cyflawnder o ddwfr, ac i Lopépe a Mashüe, preswylfëydd eu perchenogion cyntefig. Ond nid oedd dim a ddigalonai Sebituane. Mynodd gyflawnder o anifeiliaid drachefn, drwy ymosod ar y Batleti, y rhai a breswylient ar amgylchoedd Llyn Kumadau. Wedi gorchfygu pawb a phobpeth yn nghymydogaeth y llyn, clywodd fod dynion gwỳnion yn preswylio ar yr arfordir gorllewinol. Dymuniad mawr ei fywyd oedd cael cyfathrach â phobl wỳnion; gan hyny dechreuodd ar unwaith wynebu tua'r deheu-orllewin, a daeth i'r parthau hyny yr ymwelwyd â hwy yn ddiweddar gan y Meistri Galton ac Anderson. Yno yn flinedig ac ymron trengu gan syched, daeth ef a'i fyntai at ffynnon fechan. Penderfynodd yno mai y dynion oedd i yfed gyntaf, am mai hwy oedd y mwyaf eu gwerth. Os trengai y dynion, byddai y cwbl drosodd; ond os trengai yr anifeiliaid, gallai y dynion ymladd am ychwaneg. Yn y bore cawsant fod yr anifeiliaid wedi dianc i Damarás.

Dychwelodd tua'r gogledd yn dlotach nag y cychwynasai. Esgynodd yr afon Teoughe, hyd fynydd Sorila, a chroesodd y wlad gorsog tua'r dwyrain. Aeth rhag ei flaen i'r wlad isel a ddyfrheid gan yr afon Leeambye; a chan nad oedd yr ardaloedd yn ateb ei archwaeth ef a'i bobl, aeth i waered gyda'r afon hòno nes dyfod i blith y Bashubia a'r Batoka, y rhai y pryd hwnw oeddynt yn byw yn eu holl ogoniant. Y mae tebygolrwydd mawr rhwng ei hanes ag eiddo Cesar, neu hanes y Prydeiniaid yn India. Gorfodid ef bob amser i ymosod ar y gwahanol lwythau, ac hyd y dydd heddyw y mae ei bobl yn cyfiawnhâu pob cam a gymerodd fel peth eithaf cyfiawn a theg. Preswyliai y Batoka ar ynysoedd mawrion yn yr afon Leeambye, neu Zambesi. Teimlent hwy yn berffaith ddiogel yn yr amddiffynfëydd hyny, ac yn fynych hudent lwythau fföedig neu grwydrol i fân ynysoedd anghyfannedd yn yr afon o dan yr esgus o'u cludo i'r làn arall, a gadawent hwy yno i drengu. Eu holl amcan wrth wneyd yr ysgelerder hwn oedd lladrata yr ychydig feddiant a ddygwyddai fod ganddynt. O'r braidd y diangodd ein hen gyfaill Sekomi pan yn blentyn, rhag y dynghed druenus

hon. Bu yntau ar un o'r ynysoedd, wedi ei ddal yn y fagl; ond cymerodd dyn sydd yn awr yn fyw drugaredd arno ef a'i fam, a chynnorthwyodd hwy i ddianc yn y nos. Y mae yr afon mor llydan fel nas gall y llygad craffaf wahaniaethu rhwng ynys fechan o'r fath yma, â phlyg yn y lân arall. Treiodd y Batoka yr ystranc yma gyda Sebituane, ond yr oedd efe yn rhy gyfrwys iddynt. Gwnaeth i'r penaeth a'i cludai drosodd eistedd yn ei ymyl yn y cwch, a chadwodd ef yn ddiogel yno nes bod ei holl bobl a'i anifeiliaid wedi eu glanio ar yr ochr draw. Yr oedd holl wlad y Batoka y pryd hwnw yn llawn pobl, a phobl o archwaeth pur ryfedd. Nid oedd dim mor ddymunol ganddynt i addurno eu preswylfëydd â phenglogau dyeithriaid; a phan ymddangosodd Sebituane yn eu mysg, ymgasglodd byddin fawr o honynt i gymeryd meddiant o benglogau y Makololo; ond profodd hyn yn fwy na digon o dasg iddynt; a chafodd Sebituane esgus fel yma i ymosod arnynt hwy. Gwnaeth hyny, gorchfygodd, a chafodd y fath gyflawnder o anifeiliaid am ei drafferth fel yr oedd ei bobl yn gwbl analluog i rifo y defaid a'r geifr. Wedi hyny darfu i'r Matebele, o dan y rhyfelwr mawr Mosilikatse, groesi y Zambesi, ymosod arno a'i yspeilio o'i holl anifeiliaid, a holl wragedd ei lwyth; ond casglodd ei bobl wasgaredig at eu gilydd, ymlidiodd ar ol yr ymosodwyr, ac ail gymerodd y cwbl. Gwnaethant ail ymosodiad arno, ond cawsant eu gorchfygu. Wedi hyny meddyliodd am fyned i waered gyda'r Zambesi, tua gwlad y bobl wynion. Yr oedd wedi cymeryd yn ei ben, ar ba sail nis gallodd Dr. Livingstone erioed ddyfod i wybod, os gallai ddyfod o hyd i gyflegr, y ca'i wedi'yn fyw mewn heddwch. Yr oedd wedi arwain bywyd rhyfelgar, ac eto nis gallai neb ymddangos yn fwy awyddus am heddwch nag efe. Yr oedd wedi blino ar dywallt gwaed, ac yn sychedu am ryw fan i breswylio gyda ei lwyth mewn tangnefedd. Darfu i brophwyd ei berswadio i droi ei wyneb drachefn tua'r gorllewin. Enw y gŵr hwn oedd Tlapáne, a gelwid ef yn "senoga"—un yn dal cymdeithas â'r duwiau. Ymneillduai na wyddai i neb i ba le, i ryw ogof, fe allai, ac arosai yno mewn sefyllfa o hanner cwsg hyd y llawn lleuad; yna dychwelai yn guriedig a thruan yr olwg arno, taflai ei hun i lewygfëydd a chynhyrfiadau annaturiol, a thraethai ei brophwydoliaethau. Dywedodd wrth y penaeth, gan gyfeirio tua'r dwyrain, "Yna, Sebituane, yr wyf yn gweled tân—ymogel rhagddo; oblegid dichon y bydd iddo dy losgi. Y mae y duwiau yn dywedyd, Na ddos yno." Yna, gan droi tua'r gorllewin, dywedai,—"Yr wyf yn gweled dinas a chenedl o ddynion duon—pobl y dyfroedd ydynt; y mae eu hanifeiliaid yn gochion. Y mae dy lwyth di dy hun, Sebituane, yn trengu—diflanant yn llwyr. Ti a deyrnasi ar bobl dduon; a phan ddarffo i dy ryfelwyr gipio anifeiliaid cochion, na fydded i'w perchenogion gael eu lladd. Hwy fydd dy lwyth yn yr amser a ddaw—hwy fydd dy ddinas. Bydded iddynt gael eu harbed i beri i ti adeiladu. A thydi Ramosinii, dy bentref a lwyrddyfethir. Os bydd i Mokari symud o'r pentref yna, efe fydd y cyntaf i drengu, a thydi Ramosinii fydd yr olaf i farw." Am dano ei hun ychwanegodd, "Y mae y duwiau wedi peri i ddynion eraill yfed dwfr, ond i mi y maent wedi rhoddi dwfr chwerw y Rhinoceros. Y maent yn fy ngalw i ymaith fy hunan. Nis gallaf aros llawer yn hwy." Bu y ddau ddyn a enwir uchod, yn gystal a'r prophwyd ei hun, farw fel y rhagddywedasai; a chan hyny nid yw yn rhyfedd i Sebituane ddilyn ei gyfarwyddiadau ef i'r llythyren. Y "tân" yn y dwyrain oeddynt arfau tân y Portugiaid, am ba rai yn ddiau yr oedd wedi clyw

ed. Y "bobl dduon" y cyfeiriai atynt oeddynt y Barotse, a darfu i Sebituane arbed eu penaethiaid, er mai hwy oeddynt wedi ymosod yn gyntaf arno ef. Esgynasai ddyffryn y Barotse, ond ymlidiwyd ef gan y Matabele, oblegid nis gallai Mosilikatse byth faddeu iddo am ei guro yn yr amser gynt. Daethant i fyny yr afon yn fyddin gref. Gosododd Sebituane eifr ar un o'r ynysoedd mawrion fel abwyd i'r rhyfelwyr, a dynion mewn cychod rhwng yr ynys a'r lân i gydweithredu yn y ddichell. Ar ol cludo yr holl fyddin drosodd, gorchymynodd gymeryd y cychod ymaith, a chafodd y Matebele eu hunain yn y fagl. Bwytasant yr holl eifr, a buont byw rywfodd am ychydig ar wreiddiau a allent eu cael yn yr ynys; ond aethant waelach, salach; a phan welodd y Makololo eu pryd i fyned drosodd atynt, ni chawsant un drafferth i roi pob un o honynt ag oedd mewn oedran i farwolaeth, a chorfforwyd y gweddill â'r llwyth. Symbylwyd Mosilikatse gan ei ryfelwyr i ddial y golled hon; a daeth llu dirfawr i fyny, gan gludo cychod gyda hwy, er mwyn gochel yr anffawd a ddygwyddasai i'w rhagflaenwyr. Ond gorfu ar y rhai hyny droi eu hwynebau yn ol heb fod naws gwell, a darfu i dwymyn, a newyn, a'r Batoka, gwblhâu eu dinystr, fel na chyrhaedd-odd ond pump o'r fyddin nerthol yn ol at Mosilikatse.

Yr oedd Sebituane erbyn hyn, nid yn unig wedi gorchfygu yr holl lwythau a breswylient y parthau hyny, ond hefyd wedi gwneyd ei hun yn un i'w ofni gan y gorchfygwr arswydol Mosilikatse. Nis gallai byth, er hyny, roddi un ymddiried yn y penaeth creulawn hwnw; a chan fod y Batoka a breswylient yr ynysoedd wedi bod yn euog o gludo ei elynion ef dros y Zambesi, disgynodd arnynt yn ddisymwth, ac ysgubodd hwynt yn llwyr o'u hamddiffynfeydd. Fel hyn, heb yn wybod iddo ei hun, gwnaeth wasanaeth mawr i'r wlad trwy dori i lawr yn llwyr yr hen gyfundrefn a attaliai fasnach rhag treiddio i berfeddion y wlad. Am y penaethiaid y rhai a ddiangasant, dywedai, "Y maent yn hoffi Mosilikatse, bydded iddynt fyw gydag ef. Y Zambesi yw fy amddiffynfa i;" a gosododd ddynion ar hyd yr afon fel gwyliedyddion. Pan glywodd fod ein teithwyr yn awyddus am ymweled âg ef, gwnaeth bob peth yn ei allu i hyrwyddo eu hamcan. Yr oedd Sechele, Sekómi, a Lechulatébe, yn ddyledus am eu bywydau i'w diriondeb ef, a gallasai yr olaf gael ei alw i dalu yn ddrud am daflu rhwystrau yn eu ffordd. Gwyddai Sebituane am bob peth a gymerai le yn y wlad, oblegid yr oedd ganddo ffordd i ennill serchiadau, nid yn unig ei bobl ei hun, ond hefyd eiddo dyeithriaid. Pan ymwelai myntai o bobl dlodion â'i dref ef i werthu ceibiau neu grwyn, nid oedd wahaniaeth pa mor sal yr olwg arnynt y byddent, byddai efe yn fuan yn eu hadwaen oll. Weithiau, pan fyddai y penaeth galluog yn eistedd mewn rhwysg, a'i bendefigion o'i amgylch, cyfodai oddiar eisteddle, ac elai ac eisteddai yn ymyl y trueiniaid tlodion a lluddedig draw, a gofynai iddynt yn y modd mwyaf serchog a fyddent yn newynog. Yna gorchymynai ddyfod â pheilliaid, a llaeth, a mêl; cymysgai hwynt yn eu golwg â'i ddwylaw ei hunan i symud pob ammheuaeth o'u meddyliau, a gwnai iddynt wledda am unwaith yn eu hoes ar ddysgl dywysogaidd. Boddlonwyd hwynt tu hwnt i bobpeth gan ei serchogrwydd a'i haelioni, teimlent eu calonau yn gwresogi tuag ato, a dywedent wrtho yn rhwydd yr holl hanes a wyddent am bawb a phobpeth ymhob man; a chan na adawai i gwmni o bobl ddyeithr byth ymadael heb anrhegu pob un o honynt, y gweision yn gystal a'r meistri, seinid ei glod ymhell ac agos. "Y mae ganddo ef galon, ac y mae yn ddoeth," oeddynt

ymadroddion a glywodd ein teithwyr yn fynych am Sebituane, cyn iddynt erioed gael y pleser o'i weled.

Boddlonwyd ef yn fawr gan yr ymddiried a roddasai Dr. Livingstone ynddo wrth ddwyn gydag ef ei wraig a'i blant; ac addawodd eu cymeryd gydag ef i weled ei wlad, fel y gallent ddewis man i breswylio. Eu cynllun ydoedd fod i Dr. Livingstone aros i lafurio fel cenadwr, tra yr oedd Mr. Oswell i ymchwilio y Zambesi tua'r dwyrain. Ond darfu i Sebituane druan, yn y man wedi cyrhaedd amcan mawr ei fywyd, syrthio yn glaf o ennynfa yn yr ysgyfaint, a marw! Ofnai Dr. Livingstone roddi dim cyffyriau meddygol iddo, gan ei fod yn gweled ei fod yn agos i angeu, a chan y gallai y bobl ar ol ei farw osod y bai arno ef. Y prydnawn Sabbath y bu farw, ymwelodd y cenadwr âg ef, gan gymeryd gydag ef ei fab Robert. "Dewch yma," meddai y penaeth claf, "a gwelwch os wyf mwyach yn ddyn; yr wyf wedi darfod." Ymddengys felly ei fod yn wybyddus o natur beryglus ei ddolur, ac felly arwyddodd Dr. Livingstone ei gydsyniad, a chwanegodd air neu ddau ynghylch gobaith ar ol marw. "Paham y soniwch am farw? ebe un o'r meddygon, "ni bydd i Sebituane farw byth." Ond efe a *fu* farw yr hwyr hwnw. Parhaodd ei natur dda tra parhaodd ei anadl. Cyfodai ychydig o'i orweddfa, a dywedai wrth un o'i weinyddion, "Cymerwch Robert at Maunku (un o'i wragedd) a dywedwch wrthi am roddi llaeth iddo." Dyma eiriau diweddaf y penaeth mawr a galluog, Sebituane. Claddwyd ef, yn ol arfer y wlad hono, yn ffald yr anifeiliaid; a gyrwyd y rhai hyny ol a gwrthol am awr neu ddwy dros ei fedd, er mwyn symud o'r golwg bob arwydd o'r fan y gorweddai. Siaradodd Dr. Livingstone wrth y bobl, gan eu cynghori i aros gyda'u gilydd, ac i sefyll o blaid yr etifedd. Cymerasant hyn yn garedig, a dywedasant wrth y teithwyr am beidio bod yn ofnus, nad oeddynt yn teimlo un duedd i briodoli marwolaeth eu penaeth iddynt hwy—fod Sebituane newydd fyned i ffordd yr holl ddaear, ond ei fod wedi gadael plant ar ei ol, a'u bod yn gobeithio y byddent mor gyfeillgar â'r rhai hyny, ac y bwriadent fod âg ef, pe buasai yn aros ar y ddaear.

Disgynodd y benaduriaeth, yn ol ewyllys Sebituane, i ddwylaw ei ferch, yr hon ar y pryd oedd yn aros daith deuddeng niwrnod i'r gogledd. Daeth cenadwri oddiwrthi hi yn rhoddi caniatâd iddynt ymweled âg unrhyw barth o'r wlad a ddewisent. Aeth Dr. Livingstone a Mr. Oswell, gan hyny, gant a hanner o filldiroedd i'r gogledd-ddwyrain, i le o'r enw Sesheké, a chawsant eu gwobrwyo am eu trafferth trwy ddarganfod y Zambesi yn nghanol y cyfandir. Yr oedd hwn yn bwnc o bwys dirfawr, oblegid ni wyddid o'r blaen fod yr afon hon i'w chael yn y fan hono. Desgrifir hi ar y mapiau Portugiaidd fel yn cyfodi yn bell i'r dwyrain o'r fan y caed hi yn awr gan ein teithwyr, yn afon fawr lydan. Yr oedd yn awr yn niwedd y tymmor sych, pan y mae yr afon yn y man isaf; er hyny, yr oedd ei lled o dri i chwe' chant o latheni o ddwfr dwfn rhedegog. Dywedai Mr. Oswell na welsai efe erioed afon mor fawreddog ei golwg, hyd yn nôd yn India. Yn amser y gwlawogydd, bydd yn cyfodi ugain troedfedd, ac yn gorlifo o bymtheg i ugain milldir o'r wlad ar hyd ei glànau.

Gan mai hwy oedd y bobl wynion gyntaf a welsid erioed yn y parthau hyn, ymwelwyd â hwy gan lïaws mawr o'r brodorion. Gwisgai rhai o honynt ddillad o gotwmwe lliwiedig *(printed calico)*, ac eraill o frethyn cedenog *(baize)* coch, glas, a gwyrdd. Wrth ymholi o ba le y daethai y pethau hyn, deallasant eu bod wedi eu cael oddiwrth lwyth a elwid Mam-

bari, y rhai a breswylient yn agos i Bihé, yn gyfnewid am fechgyn. Dechreuasai y rhai hyn gaethfasnachu â Sebituane mor ddiweddar â 1850; ac oni buasai anfoddlonrwydd penaeth hunanol y llyn i adael ein teithwyr i fyned i fyny at Sebituane, buasent gydag ef yn ddigon cynnar i rwystro y fasnach felldigedig hon rhag dechreu o gwbl. Ymwelsai y Mambári yn yr amser gynt â hen benaeth y Barotse, yr hwn a orchfygesid gan Sebituane. Daethant drachefn pan oedd y wlad o dan ei lywodraeth ef, ond gwaharddodd efe werthu plant. Ni bu iddynt ddyfod eilwaith hyd 1850, a dygasant gyda hwy y pryd hwn nifer o hen ddrylliau Portugiaidd. Meddyliodd Sebituane y buasai y rhai hyn o ddefnydd i'w amddiffyn rhag ymosodiadau y Matabele. Cynnygiodd ychen ac ifori am danynt, ond ni wnai dim y tro i'r Mambári ond bechgyn tua phedair ar ddeg oed. Dywed y Makololo na chlywsent erioed hyd y pryd hwnw am brynu a gwerthu dynion, ac nad oeddynt yn hoffi y peth, ond i'w hawydd am feddiannu y drylliau beri iddynt ildio. Nid plant o'u llwyth eu hunain a werthent fel hyn, ond plant caethion a gymerasent mewn rhyfel. Rhoddodd Dr. Livingstone i fyny y meddwl am ymsefydlu yn y wlad yma ar hyn o bryd. Yr oedd y parthau iachus yn anniogel, a'r parthau lle y gallai deimlo yn ddiogel yn afiachus. Meddyliasai unwaith am ddwyn ei holl bobl i fyny o Kolobeng oddiar ffordd y Boers melldigedig, ond nis gallai yn awr wneuthur hyny; a chan nad oedd un gobaith y buasai y Boers yn gadael iddo addysgu y bobl, a byw mewn tangnefedd yn Kolobeng, penderfynodd anfon ei deulu drosodd i Loegr, ac ymroddi i chwilio y wlad am ddwy flynedd. Felly y gwnaeth. Aeth i waered i'r Penrhyn yn Ebrill, 1852; gosododd ei deulu ar fwrdd llong yn myned i Loegr, a dychwelodd tua'r gogledd gan wneyd am y Zambesi. Dyma ei daith fwyaf, bwysicaf, a mwyaf dyddorol. Yn lle dwy flynedd, fel y bwriadai, bu oddiwrth ei deulu ac yn gladdedig o olwg y byd gwareiddiedig, am yn agos i bum mlynedd; a hanes y daith fawr hon a fwriadwn ei rhoddi yn y rhifyn nesaf, a hwyrach y bydd genym erbyn hyny rywbeth i'w ddywedyd am ddarganfyddiadau newyddion ar lànau y Zambesi, ar hyd pa un y mae Dr. Livingstone yn awr yn esgyn, o dan nawdd ac ar draul llywodraeth Prydain Fawr.

---

## ARFERION LLYGREDIG Y CYMRY.

[*Ychydig Sylwadau a Rhybyddion ynghylch Dull anfoesol ein Gwlad, yn amryw Arferion llygredig yn mhlith ei Thrigolion; yn fwyaf neillduol* PRIODASAU. *Gan* ROBERT JONES. Bala, argraffedig gan R. Saunderson. 1811.]

WRTH gymharu agwedd foesol a chrefyddol Cymru yn yr oes hon â'r hyn oedd bedwar ugain neu gan' mlynedd yn ol, er nad yw eto yn agos yr hyn y dylai fod, mae yn amlwg fod cyfnewidiad mawr, er gwell, wedi cymeryd lle. Nid heb lafur dirfawr, ac ymdrech di-ildio, pobl dda o dduwioldeb di-

ffuant, a llawer o honynt yn meddu doniau rhagorol, y dygwyd y cyfnewidiad o amgylch, a hyny yn wyneb gwrthwynebiadau, erlidiau, gwawd a dirmyg, anfanteision a digalondid, o lawer math. Dechreuwyd y gwaith da drwy weinidogaeth ddeffrous y Parchedig Griffith Jones, Llanddowror, a thrwy yr ysgolion Cymreig cylchynol a ddygwyd ymlaen yn egnïol ganddo ef; yna gyda nerth a thanbeidrwydd llawer mwy trwy bregethiad cyffrous ac effeithiol Harris a Rowlands a'u cydoeswyr; a phan oeddynt hwy, rai wedi heneiddio, a'r lleill wedi eu galw oddiwrth eu llafur at eu gwobr, cyfododd Pen yr Eglwys y Parchedig Thomas Charles a'i gydweithwyr effro a ffyddlawn i ddwyn ymlaen y gwaith o efengyleiddio, ac i raddau mawr, wareiddiad ein gwlad. Yn y modd yma, drwy bregethu teithiol, cymanfäoedd cyhoeddus, cymdeithasau crefyddol, yr Ysgolion Sabbothol a nosweithiol, ysgolion dyddiol Cymreig symudol, holwyddori, dysgu ac adrodd yr Ysgrythyrau ar dafodleferydd, ysgrifenu a thaenu traethodau ar egwyddorion a dyledswyddau crefydd, ac yn erbyn arferion llygredig, dygwyd yr ymdrech ymlaen; a thrwy fendith y Goruchaf, coronwyd eu llafur â llwyddiant nas gellir ei brisio yn rhy uchel, na bod yn ddigon diolchgar am dano. Yr ydym ni, yn yr oes hon, wedi dyfod i mewn i lafur ein tadau, ac yn cael medi o ffrwyth yr hyn a hauasant hwy, ac a ddyfrhäwyd gan y rhai a ddaethant ar eu hol; ond y mae i'w ofni fod perygl i ni anghofio eu llafurus gariad hwy tuag at eu cenedl, ac i eistedd i lawr yn ddifraw, a chydddwyn â gweddillion llygredigaeth sydd eto yn aros yn ein gwlad, y rhai, oni fuasai i grefyddwyr ymddiofalhâu, hepian, a chysgu, a fuasent cyn hyn wedi eu hymlid ymaith ar ol hen arferion llygredig a ddarostyngwyd drwy ymdrechiadau ein tadau. Ac nid hyny yn unig, os yw yr eglwysi yn hepianllyd, mae yn amlwg fod y gelyn yn effro ac yn ymhyfhâu yn y dyddiau hyn, ac yn amcanu ailgodi yr hen arferion ofer hyny, a dwyn i mewn lygredigaethau newyddion i'n mysg; gweddus, gan hyny, yw galw ar Gristionogion i fod ar eu gwyliadwriaeth, a bod yn barod i wrthweithio pob ymosodiadau a wneir i lygru ac anfoesoli trigolion "anwyl wlad ein tadau."

Arweiniwyd ni i wneyd y sylwadau hyn wrth ddarllen y Traethodyn bychan a nodwyd uchod, gyda'r amcan o'i gyflwyno i sylw ein darllenwyr, yr hyn a wnawn nid i'r dyben o'i adolygu, ond i'w ddodi yma ger eu bron yn gyflawn, fel y gallo pob un ei ddarllen yn fanwl a'i adolygu drosto ei hun. Yr oedd yr ysgrifenydd, awdwr hybarch "Drych yr Amseroedd," yn ŵr da a thra llafurus yn ei oes, drwy addysgu, ysgrifenu, a phregethu, i ddarostwng arferion pechadurus, a dyrchafu moesau ei gydwladwyr, ac yn benaf i'w hennill i gredu yn Iachawdwr y byd. Ysgrifenwyd a chyhoeddwyd y traethodyn hwn ganddo (yn yr hysbysiad a gawsom), ar gais Cyfarfod Misol y Trefnyddion Calfinaidd yn Swydd Gaer-yn-arfon; a thaenwyd ef yn rhad drwy yr ardaloedd, yn enwedig yn y lleoedd hyny yr oedd y llygredigaethau a wrthwynebir ganddo yn fwyaf ffynadwy. Hyderwn yr esgusodir ni am ei argraffu yn ddidalfyriad, air yn air, nid yn unig er mwyn ei gadw rhag llwyr golli, gan ei fod erbyn hyn yn anhawdd i'w gael, ond hefyd er dangos pa mor ffyddlawn a llym yr arferai ein hynafiaid argyhoeddi pechodau eu hoes; i'r dyben o wrthdaraw cyhuddiad a wneir gan rai yn y dyddiau hyn fod Ymneillduaeth Cymru yn achos o, ac yn feithrinfa i, anfoesoldeb y werin! Ni fu erioed gamdystiolaeth fwy haerllug a disail. Mae y diwygiad mawr sydd wedi cymeryd lle yn ffrwyth llafur ein tadau, ac i'r graddau y mae eu hymdrechiadau clodfawr hyn yn cael eu dilyn yn

ein hoes ninnau, mae y gwaith da yn cael ei ddwyn ar gynnydd; ond nid oes fawr ammheuaeth pe syrthiai eto i ddwylaw y rhai a'i cablant, na ddygid y wlad yn fuan drachefn i'r agwedd iselaf a fu arni erioed o ran coelgrefydd, anwybodaeth, anfoes, a thrueni. Bydded i Gristionogion Cymru Brotestanaidd ddyblu eu diwydrwydd mewn pob ymdrechiadau daionus i ymlid ymaith o'u mysg weithredoedd anffrwythlawn y tywyllwch, a phob arferion, hen neu newydd, sydd yn fagwraeth iddynt.—Yn awr, dygwn yr Awdwr hybarch ymlaen i lefaru yn ei ddull ei hun.

"1. Y mae yr olwg yn alaethus ar ein gwlad anniwair a thruenus, a'i dirywiad yn fawr, trwy y pechod o odineb, o ran cyffredinolrwydd y pechod, a'r digywilydd-dra o'i blegid.

"2. Mae y dull anllad sydd ar y rhan fwyaf yn ein gwlad, yn eu rhag-gyfeillach cyn priodi, sef cydorwedd ac anlladrwydd, a gwelyau halogedig, yn hollol wrthwyneb i eiriau yr apostol, 'Nid mewn cydorwedd ac anlladrwydd.' Rhuf. xiii. 13.—'Gwely dihalogedig: eithr puteinwyr a godinebwyr a farna Duw.' Heb. xiii. 4. Ac yn beth tra phechadurus a niweidiol; ïe, hudoledig y rhan amlaf i'r pechod ysgeler o odineb, ag sydd yn ganlyniad o hono yn fynych; gan hyny nid yw yn addas goddef neb yn aelod o gymdeithas grefyddol a fyddo yn euog o'r ffieidd-dra hwn. Y mae y digywilydd-dra a soniwyd uchod, yn ffiaidd ac adgas yn ngolwg penau teuluoedd y rhan fwyaf o ardaloedd Lloegr a Cymru, fel na oddefant neb o'u morwynion i ddilyn y fath aflendid, eithr eu troi allan o'u tŷau ar fis o rybudd.

"3. Mae y dull y cynnelir priodasau yn gyffredinol yn ein gwlad, sef y priodasau a elwir yn rhai cymhorth (a llawer hefyd o rai na elwir felly), yn agwedd bechadurus a niweidiol i foesau yr ardaloedd cynnulledig ynddynt, ac yn faethle gwrteithiol i annuwioldeb, yn enwedig y pechodau o ysgafnder, coegddigrifwch, meddwdod, anlladrwydd; ïe, weithiau, ymladdau gwaedlyd: a chan fod y cyfryw loddest o ganlyniadau mor niweidiol, dylem, nid yn unig ymgadw oddiwrth y cyfryw gyfarfodydd ein hunain, eithr attal, hyd y mae ynom, bawb o'n teuluoedd, sef ein plant, ein gweision, a'n morwynion, rhag ymuno â'r cyfryw gyfarfodydd llygredig; eithr yn hytrach bydded i bob penteulu sydd yn caru achos Duw, gymeryd siampl yr hen dduwiolion, yn enwedig Josuah; beth bynag a wnelai eraill, ei benderfyniad ef oedd hyn: 'Ond myfi, mi a'm tylwyth a wasanaethwn yr Arglwydd.' Jos. xxiv. 15. Bydded i bawb sydd yn caru llwyddiant yr efengyl, rybuddio eu teuluoedd yn addfwyn a charedig, gan ddangos iddynt y perygl a'r niwed o'r fath loddest bechadurus.

"4. Y dylem, bawb yn ei le, yn ddeffröus, rybuddio a dwys annog, pawb sydd yn proffesu duwioldeb, na byddo iddynt ar un cyfrif, gydymffurfio â'r dorf lygredig yn eu hagwedd bechadurus o gydorwedd, cyn eu myned i'r sefyilfa briodasol. Rhuf. xii. 2. Fe'i nodir yn amlwg yn bechod ymhlith y rhestr ddu eraill, yn Rhuf. xiii. 13. A'r gwely, yn nghyfrif y Duw Sanctaidd a Hollwybodol, yn wely halogedig. Heb. xiii. 4. Ac yn sicr yn waharddedig yn Eph. v. 3, 4; 1 Pedr iv. 3. Ac os bydd neb [rhai] a fyddo yn proffesu duwioldeb yn euog o'r cyfryw drosedd, dylid eu diarddel oni ddiwygiant.

"5. Os bydd i aelodau proffesedig syrthio i odineb, er iddynt fyned felly i ystâd briodasol, dylid eu dysgyblu yn ddyladwy, ac yn ddioed, yn ol y gair, gan dynu oddiwrthynt; ac na fydded i neb a fyddo yn arddel duwioldeb gydfwyta neu wledda gyda'r cyfryw, na rhoddi eu presennoldeb yn eu gwledd briodasol. 2 Thess. iii. 6; 1 Cor. v. 9, 11.

"6. Os dygwydd i fab neu ferch i ryw rai a fyddo yn arddel duwioldeb, neu ryw rai a fyddo tan eu llywodraeth, adnabod eu gilydd mewn dull anniwair cyn eu priodi, ymdrechant hyd y byddo ynddynt ar iddynt briodi mor fuan ag y bo modd, heb loddesta, na gwahodd eu cyfeillion i gyfeddach ar y fath achos, ond myned mewn gorchwyledd, dan ostwng pen a galaru, mewn dwys ystyriaeth o'r gwarthus anniweirdeb a ddygwyddodd yn eu teulu. Exod. xxxii. 29; Deut. xxxiii. 9.

"7. Os bydd arwyddion digonol o anniweirdeb y pleidiau cyn eu priodi (yr hyn sy ffieidd-dra tra chyffredin y dyddiau hyn yn ein gwlad, fel y mae mwyaf trueni,) gellir yn eglur benderfynu na ddylai y rhai fyddo yn gwir ofni Duw, roddi eu presennoldeb yn y cyfryw gyfarfodydd llygredig; oblegid braidd y gallwn edrych ar briodas y cyfryw (ynddi ei hun) yn anrhydeddus, am iddynt ddirmygu, trwy eu hanniweirdeb, yr ordinhâd hono a drefnodd Duw i fod yn anrhydeddus; addas gan hyny a fyddai

i'r cyfryw briodi yn ddystaw, gywilyddgar, heb wahodd eu cyfeillion a'u cymydogion i wledda a gloddesta; ac os rhyfygant fod mor haerllug a digywilydd a galw eu cyfeillion i gyfeddach ar y fath achos, na fydded i un o ddilynwyr Crist fod yn 'fraich i blant Lot,' na bod 'â'u cyfran gyda y godinebwyr.' Ps. lxxxiii. 8; a l. 18.

"8. Fe allai y cyfyd rhai wrthddadl oddiyma, gan ddywedyd, Onid yw yn addas priodi rhai wedi eu darostwng drwy anniweirdeb? Ai nid da dangos cariad, a gwneyd daioni i bawb hyd y gallom? I hyn yr atebir, mai nid dirmygu cyfraith Moses mewn un modd yr ydym; Deut. xxii. 29; Exod. xxii. 16, na rhwystro i neb wneyd pob daioni i'w cydgreäduriaid. Os bydd rhwymau perthynasol, neu gymydogol, neu ynte dlodi yn galw am ein cynnorthwy, mwy addas gwneuthur hyny i'r personau ar eu penau eu hunain (ar ol eu priodas), sef rhyw gyfran o'r peth a farnom yn fwyaf llesol iddynt tuag at ddechreu byw, ac nid i gynnal gwledd a chyfeddach bechadurus. 'Yr hwn sydd yn cyfranu, gwnaed mewn symlrwydd.—Casêwch y drwg, a glynwch wrth y da.' Rhuf. xii. 8, 9. 'Gan gasâu hyd yn nôd y wisg a halogwyd gan y cnawd.' Judas 23. Nid ellir yn gyfiawn farnu, os ymddygir fel hyn, fod un gradd o greulondeb, na chybydd-dod, yn cael ei ddangos at y cyfryw bersonau; canys ymwrthod â'r beiau, ac ymgais am ddiwygiad, yw y dyben, 1 Thess. ii. 5.

"9. Nid yw annhebyg y cyfyd gwrthddadl arall, sef fod Crist, ei fam, a'i ddysgyblion (ymysg eraill o'r gwahoddedigion), yn y briodas yn Cana Galilea. Barna y rhan fwyaf o'r duwinyddion, mai rhai o berthynasau Crist yn ol y cnawd oedd y rhai a briodwyd yno; neu ynte, rhai o'i ffyddlawn ganlynwyr ef oeddynt. Nid yw siampl Crist yn hyn, mewn un modd yn wanychdod, eithr yn hytrach yn gadarnhâd i'r bwriad o ymwrthod â chyfeddach a gloddesta, ar y cyfryw achosion. Ordinhâd Duw o'r dechreuad yw priodas; mae yn arwydd nodedig o'r dirgel undeb sydd rhwng Crist a'i eglwys; ac i addurno yr ordinhâd hon, y rhoddes Crist ei syml bresennoldeb yn y briodas yn Cana Galilea. Lle bynag, gan hyny y cynnelir priodasau yn ofn Duw, ac yn addas i'r efengyl (heb eu halogi â'r troseddiadau ffiaidd a rag-grybwyllwyd), gallwn ddysgwyl hyfryd bresennoldeb Crist trwy ei Ysbryd a'i ras, i droi dyfroedd Mara yn win o'r pereiddiaf: ond os dilyn gwleddoedd a wnawn, i gynnal i fyny lythineb, meddwdod, a chyfeddach lygredig, nis gallwn ddysgwyl ei bresennoldeb Ef, na'i fendith, ond yn hytrach troi gwin ein cysuron yn ddyfroedd chwerwon o ofid a melldith. Mal. ii. 2.

"10. Am briodasau na byddont mor gyhoeddus, ac na wybydder fod y pleidiau yn euog o anniweirdeb cyn eu priodi, a galwad gwir anghenrheidiol i fod ynddynt,—dylai pob cristion gwirioneddol ymddwyn yn syml, sobr, a gwyliadwrus, yn y cyfryw le; y gydwybod yn dyner, ac yn effro, nid yn unig i ymgadw rhag, ond hefyd i wrthsefyll hyd y galler bob peth a fyddo yn tueddu i anaddasu y gymdeithas, a'i harwain dros derfynau sobrwydd a chymedroldeb. 'Ymgedwch rhag pob rhith drygioni.' 1 Thess. v. 22. 'Ac na wnewch ragddarbod dros y cnawd, er mwyn cyflawni ei chwantau ef.' Rhuf. xiii. 14. Ond peidied neb a barnu yn fyrbwyll; nid gwledd, ond glythineb, meddwdod, ac anfoesoldeb mewn gwledd, y dywedir yn ei erbyn; gan hyny, 'Yr hwn sydd yn tybied ei fod yn sefyll, edryched na syrthio.' 1 Cor. x. 8.

"11. Am yr ordinhâd o Fedydd, yr hon a drefnodd, ac a orchymynodd Crist i fod yn ordinhâd sanctaidd yn ei eglwys, ac yn arwydd o bethau ysbrydol,—a ellir dangos mwy o ddirmyg ar ordinhâd Duw, nag ymgynnull ynghyd fel ynfydion i loddest, meddwdod, a choegddigrifwch, yn groes hollol i ddyben yr ordinhâd? Cyflwyno ein plant mewn ymddangosiad i'r Arglwydd yn eu bedydd, a'u cysegrladrata, allan o law, yn nghyfeddach y wledd, a'u hoffrwm i'r byd, y cnawd, a'r balchder, ac yna eu meithrin o'u babandod mewn pob dull o wisgiadau coegfalch yn bwysïau mursenaidd, fel pe baent dda i ddim ond i'w dangos! Pa ryfedd i rieni y cyfryw blant gael wermod oddiwrthynt, pan y tyfont i fyny, fel Dinah, i weled merched y wlad? Ni bydd holl feddiannau y cyfryw rieni, ond rhy fychan i feithrin y moethau a'r balchder a blanwyd ynddynt yn eu mebyd; a'r canlyniad a fydd (oni ragflaena gras), troi allan mewn anufudd-dod i'w rhieni, ac yn waradwyddus halogedig, a godinebus: gan hyny, yn lle eu hoffrwm hwy i Moloch, 'maethwch hwynt yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd.' Eph. vi. 4.

"12. Mae y dull a arferir mewn claddedigaethau yn ein gwlad, yn dra anaddas i amgylchiad mor sobr yn ei natur: danfon ein cymydog i dŷ ei hir gartref, wedi ei daflu gan angeu dros y geulan i annherfynol dragywyddoldeb! Yn lle dwys fyfyrio ar yr oriau y dygir ninnau i'r un amgylchiad sobr, beth a wna llawer, ond heidio yn lluoedd i'r tafarn-dŷau i ymlenwi o ddiod gadarn, i wisgo yn llwyr oddiar eu meddyliau, bob ystyriaeth am farw, a'r farn a fydd! Eraill, mewn dull mwy boneddigaidd

o bechu, a arlwyant wledd gostfawr, i groesawi torf o'u cyfeillion; yna wedi hir loddesta mewn glythineb a meddwdod, hawdd deall yr agwedd a fydd arnynt (amryw o honynt), yn myned i'w cartrefi. A allai y diafol ei hun ddyfeisio gwell ffyrdd na'r rhai hyn, i benysfrdanu dynion i'r graddau mwyaf o anystyriaeth? Mae yn weddus, ac yn ddyledswydd arnom dalu ein dyled olaf i'n cyfeillion, sef eu danfon yn anrhydeddus i'w gorphwysfa. Ond y mae allan o bob dadl na ddylai neb sydd yn ddilynwyr i Grist, gydymffurfio â'r agwedd bechadurus a soniwyd uchod ar ol claddu. Gan hyny, y mae yn llawn bryd i bob cristion syml, fod â'i lygaid yn ffynnon o ddagrau, wrth ystyried fod y fath ddibrisdod yn llenwi ein hardaloedd, fel pe bae dynion heb eneidiau ganddynt, neu eu bod i fyw yma byth, neu ynte i farw fel anifeiliaid. Taer ddymuniad Moses ydoedd, 'Oh na baent ddoethion, na ddeallent hyn, nad ystyrient eu diwedd!' Deut. xxxii. 29. A dyweded pob un a garo y gwirionedd, Amen.

"13. Gan fod y pechod ffiaidd a gwarthus o odineb wedi ymdaenu fel pla yn yr oes lygredig hon, heb na chosb na cherydd o'i blegid, ie, hyd yn nôd gymaint a *dwyn penyd*, fel y dyddiau gynt, i yru neb i gywilydd o'i herwydd, onid yw yr arfer o ymweled â'r cyfryw fudrogod puteinllyd, a dwyn anrhegion iddynt ar enedigaeth eu bastarddiaid, yn foddion neillduol i'w dal i fyny mewn caledwch a digwilydd-dra? a lleihau ar eraill (sydd eto heb eu halogi) yr ofn a'r arswyd diwair, rhag syrthio i'r un pyllau? Na fydded i neb gan hyny sydd yn ffieiddio anlladrwydd, ac yn parchu efengyl Crist, ddal i fyny yr arfer warthus yma, oddieithr fod iselder a thlodi yn galw am ein helusenau a'n tosturi tuag atynt fel crëaduriaid. 'Na fydded i chwi gydgyfeillach â gweithredoedd anffrwythlawn y tywyllwch, eithr yn hytrach argyhoeddwch hwynt.' Eph. v. 11.

"14. Gan fod y gair sanctaidd mor llawn o Ddwyfol hyfforddiadau i wragedd yn proffesu duwioldeb, a'r siamplau a roes y gwragedd duwiol gynt, o'u cariad a'u haelioni, tuag at Grist a'i ddysgyblion, sicr yw fod hyn yn uchel alw ar wragedd a gwyryfon yr oes hon, i sylwi yn ddifrifol ar eu diwair ymarweddiad hwynt. Ond y mae yn rhy wir yn ein dyddiau diffrwyth ni, yn lle porthi y tlawd a'r anghenus, a gofalu am achos Duw, ie, yn lle hyny, ymhoewi eu hunain mewn balchder, a phincio eu plant mewn coegwisgiadau, a'u gollwng i rodiana yn segurllyd, fel Dinah gynt, a wna llawer, nes eu llenwi â hufen llygredigaeth yr oes. Och feddwl gymaint o amser gwerthfawr llawer o wragedd sydd yn cael ei gamdreulio! Yn lle darllen y gair sanctaidd, a myfyrio arno, a dyfalbarhâu mewn gweddi, a gofalu am eu teulu, myned a wnânt i rodiana yn segur o dŷ i dŷ; ac nid yn segur yn unig, ond hefyd yn wagsiaradus ac yn rhodresgar, gan adrodd pethau nid ydynt gymhwys. 1 Tim. v. 13. Ac er nad yw y delyn, a'r bibell, &c., yn eu cyfeddach, eto y mae y gyfeillach yn ddiofn Duw, ac yn sawru yn gryf o ysgafnder, a choegddigrifwch yn fynych. Ac er fod eraill yn ddieuog o'r ynfydrwydd a soniwyd, eto nid ydynt yn nghyfrif Duw ddim gwell na hwythau; oblegid y mae holl feddylfryd eu calonau yn llawn cybydd-dod; nid yw y tlawd a'r anghenus well erddynt, na'r efengyl ond tân ei gwarth o'u plegid: ni thorant eu bara i'r newynog, ac ni ddilladant y noeth, fel y gwnai Dorcas gynt. Onid yw, gan hyny, yn anghenrheidiol rhybuddio a dwys annog proffeswyr efengyl Crist, i hollol ymwrthod â'r ffyrdd cyfeiliornus a grybwyllwyd uchod? Ond yn hytrach canlyn rheol y gair ymhob ymarweddiad, gan ddilyn siamplau y gwragedd sanctaidd, y rhai a addurnodd Duw â'i ras, i fod fel ser yn ffurfafen ei eglwys. O wragedd! awyddfryd duwiol a fyddo ynoch, am fod pawb o honoch yn wirioneddol, yn parchu eu gwŷr, fel Sarah; yn cyflwyno eich plant i Dduw, fel Hannah; yn ddoeth ac amyneddgar, fel Abigail; yn dewis y rhan dda, fel Mair; yn edifeiriol, fel Magdalen, &c. I benderfynu, yn ngeiriau yr Apostol:—'Bydded cuddiedig ddyn y galon, mewn anllygredigaeth ysbryd addfwyn a llonydd, yr hwn sy ger bron Duw yn werthfawr.' 1 Pedr iii. 4.

"15. Annhraethol fawr yw breintiau ein cenedl, ymhob ystyriaeth, yn yr amseroedd hyn, rhagor ein henafiaid gynt, pa rai a fu yn hir yn ymbalfalu mewn tywyllwch dudew o Babyddiaeth, a blin ryfeloedd; ond o fawr ddaioni Duw, tywynodd arnom hyfryd belydr yr efengyl; arbedwyd ni hefyd (megys yn wyrthiol) rhag y barnedigaethau arswydus sydd yn cael eu parhâus dywallt ar y rhan fwyaf o ardaloedd Ewrop. Mawr yw y rhwymau sydd arnom fawrygu a chlodfori Duw, nid yn unig am ei ddaioni cyffredinol, eithr uwchlaw y cwbl, am anfon ei Fab yn Gyfryngwr rhwng Duw a dynion; ac am lwyddo yr efengyl yn ein gwlad; a thueddu miloedd i'w charu a'i pharchu yn ein teyrnas; a gogwyddo hefyd feddyliau tyrfaoedd o ieuenctyd Cymru i lafurio gyda sirioldeb i drysori yr Ysgrythyrau yn eu cof. Ond, er y cwbl, wrth ystyried yr

annuwioldeb a'r ffieidd-dra digywilydd, fel y crybwyllwyd eisoes, sy fel pla yn goresgyn llaweroedd yn ein gwlad, a bwystfilod y nos yn ymhyfhâu i ymrithio liw dydd, y mae genym fawr achos i alaru a chrynu, rhag mai yn ein dyddiau llygredig ni y cyfyd rhywrai, fel Hiel y Betheliad gynt, i ailadeiladu Jericho. Cafodd llawer o hen frodyr, sydd yn awr yn gorphwys oddiwrth eu llafur, deithio yn wyneb gwawd ac erlid, mewn perygl am eu bywydau, cyn cael i lawr chwaröyddiaethau ar y Sabbothau, y cardiau, y gwylmabsantau, y nosweithiau llawen, a'r cyffelyb arferion llygredig oedd yn gorlenwi y wlad. Ac a gaiff y gelyn ddallu meddyliau cenedl mor gyflawn o freintiau, i ddwyn ymlaen yn ngŵydd yr haul, yr un arferion halogedig, ond yn unig eu gosod allan mewn gwahanol drwsiad? Cwynir fod cariad yn oeri (ac nid heb achos); pa ryfedd hyny, tra y mae anwiredd penuchel yn amlhâu; a ystyriaeth a ffurfioldeb wedi taflu llawer i drymgwsg; rhith duwioldeb, heb ei grym, yn llawn ddigon o grefydd gan amryw; gofalon bydol yn tagu y gair; caru melyschwant yn fwy na charu Duw? Yr holl bethau hyn, a'u cyffelyb, sydd yn mawr dristâu Glân Ysbryd Duw, ac yn galw yn uchel am farnedigaethau yr Arglwydd ar ein gwlad, ac yn neillduol y farn arswydus hono o symud canwyll oleu yr efengyl oddiwrthym, a'i danfon at filiynau o baganiaid tywyll, miloedd o ba rai sydd eisoes yn dechreu ei chroesawu gyda y sirioldeb mwyaf. Y mae yn llawn bryd i ni ddeffroi; canys tra yr oedd y dynion yn cysgu, yr hauodd y gelyn efrau yn y maes. Och! mor alaethus yw siamplau, hyd yn nôd amryw o'r hen dduwiolion yn y Bibl, o herwydd cysgadrwydd; megys gwarth Noah, llosgach Lot, gwanychdod Samson, godineb Dafydd, rhegfëydd Pedr, &c. 'Am hyny, na chysgwn fel rhai eraill, eithr gwyliwn a byddwn sobr.' Os darfu i Moses (er ei larieidd-dra), dôri y llechau wrth yr olwg ar Israel yn dawnsio o flaen y llô, (a hyny yn ngolwg Sinai), pa fath gyffro sanctaidd a ddylai feddiannu yr oes hon, pan y mae miloedd, er pob rhybuddion, yn dawnsio, ac yn llamu tua dystryw? Os ceir ni, wedi y cwbl, yn ddifraw ac yn gysglyd, yn wyneb yr agwedd annuwiol sydd ar ein gwlad, pa fodd y gwynebwn yr hen frodyr tanllyd, effro, yn y farn, pa rai a fu yn llafurus yn y winllan? A pha fodd y safwn ger bron yr Hwn a gerddodd oddiamgylch gan wneuthur daioni? Gan hyny, bydded i gynghor yr apostol gael ei briodol argraff ar bawb o honom: 'Deffro di yr hwn wyt yn cysgu, a chyfod oddiwrth y meirw; a Christ a oleua i ti.'" Eph. v. 14.

"16. Nid dynoethi ein gwlad, na chodi gwaed neb yn ei wyneb, yw dyben y llinellau hyn; ond ymgais i ddiwygio oddiwrth y beiau ysgeler, sy fel bwystfilod y nos yn ymlusgo i'n plith; a chan fod baneran Satan mor uchel yn ein hoes, y mae yn llawn bryd i bawb sydd yn caru achos Duw, gydymostwng yn edifeiriol ger bron yr Arglwydd, mewn ympryd a gweddi, am i'r Jehofah, o'i fawr ddaioni, dywallt ei Ysbryd yn helaeth arnom, a rhoddi cymaint o arddeliad a bendith ar ei air, ymhob ymdriniaeth âg ef, ag a lwyddo i ddiwygio ein gwlad; a rhoddi doethineb, dawn, ac ysbryd, yn y weinidogaeth a'r ddysgyblaeth, fel y byddont, trwy fendith yr Arglwydd, yn effeithiol i argyhoeddi pob graddau o bechaduriaid o'u beiau gwarthus, ac i ragflaenu eraill rhag rhedeg yn ddibris i ymdrybaeddu yn yr unrhyw ffieidd-dra. A bydded i bawb sydd yn proffesu eu bod yn dystion dros Dduw a'i wirionedd yn y byd, roddi siamplau, mewn buchedd ac ymarweddiad, o rodiad addas i'r efengyl, fel na chabler gair Duw, troi y cloff allan o'r ffordd, na chaledu yr annuwiol yn fwy yn ei bechod. Weithian yr ydym yn dybenu gyda deisyfiad y prophwyd, 'Bywha dy waith ynghanol y blynyddoedd!'" Hab. iii. 2.

## NODIADAU.

Ychwanegwn yma rai Nodiadau byrion ar y Traethodyn uchod. Cyfeiria y rhifnodau at y gwahanranau ynddo.

(3). *Priodasau Cymhorth.* Fel hyn y mae un ysgrifenydd yn darlunio y priodasau hyny:—"Pan fyddo cyttundeb priodasol wedi ei wneuthur, a rhieni a chyfeillion y ddwy blaid wedi eu gwneyd yn hysbys o hono, mae gwahoddiad i'r briodas yn cymeryd lle; ac ar y dydd penodedig, bydd pob un o'r gwesteion ar giniaw yn rhoddi swllt i lawr, heblaw talu am yr hyn a yfo: bydd y cymdeithion yn fynych o nifer dau neu dri chant, ac weithiau yn fwy na hyny. Bwriedir yr anrheg i gynnorthwyo y pâr ieuanc i brynu dillad gwely ac angheurheidiau eraill i ddechreu eu byd. Ac ni fyddai

eu haelioni yn terfynu ar hyn: pan ddygid y wraig ieuanc i'w gwely, ei chymydogion a ddeuent ynghyd i'r bedydd, o ewyllys da, heb wahoddiad, gyda rhodd o arian; yn gyffredin swllt i'r wraig yn y gwellt, chwe cheiniog i'r fydwraig, a chwe cheiniog i'r goges; mwy neu lai yn ol moddion a haelfrydedd y rhoddwr."* Mae yr awdwr hwn yn rhoddi yr olwg oreu ar yr hen ddefod, heb sôn dim am annhrefn ac anfoesoldeb y priodasau hyn; nid oedd hyny yn dyfod o fewn cylch ei amcan ef, gan mai ysgrifenu i estroniaid yr oedd, ac o deimlad dros ei genedl, adroddai am eu ffaeleddau mor gynnil ag y gallai. Mae ysgrifenydd arall ar nodweddiad y Cymry, yn dyfynu yr un awdwr, dybygem, yn dywedyd am eu priodasau:—"Y neithiorau Cymreig ydynt drystfawr, terfysglyd, ac yn gyflwynedig gan y gwesteiou i gyfeddach a chanu. Mae rhai blynyddoedd (medd yr awdwr) wedi myned heibio er pan ysgrifenwyd y desgrifiad hwn o'r arfer fynychaf mewn neithiorau Cymreig. Yn y cyfamser, mae cyfnewidiad mawr wedi cymeryd lle yn y modd o'u dathlu, yr hyn sydd yn awr yn agosach i ddull y Saeson. Effeithiwyd y cyfnewidiad yn benaf, drwy ymyraeth y Methodistiaid, y rhai, wrth weled fod y gwleddoedd priodasol hyn yn fynych yn cael eu dilyn gan olygfeydd o natur anfoesol a llygredig, a arferasant eu holl ddylanwad yn egnïol tuag at eu dodi i lawr."† Gelwid priodas o'r fath mewn rhanau o'r Dywysogaeth, *priodas wahawdd, priodas fawr*, &c. Côf genym weled, pan yn bur ieuanc, rai o'r priodasau hyn. Byddent yn dyfod o flaenau y cymoedd i lân y plwyf, nifer mawr ar geffylau, ar ol yfed yn lled uchel yn y dafarn wedi cyflawni y ddefod yn y llan, cychwynent yn ol, gan yru yn ynfyd; ac yr ydym yn cofio am rai damweiniau tra gofidus wedi dygwydd ar achlysuron o'r fath. Nid oedd y fantais o'r *cymhorth* a arferid mewn rhai manau mewn cysylltiad â hwynt (os oedd yn *fantais* hefyd), yn ddigon i wrthbwyso y niwed a ddilynai y cynnulliadau mawrion hyny yn gyffredin.

(4.) *Cydorwedd.* Llawer o waradwydd a gwawd a fwriwyd arnom fel cenedl o achos yr hen arferiad ynfyd a halogedig a fu gynt yn ffynu mewn rhai manau o'n gwlad. Yr ydym yn dywedyd *a fu*, gan ein bod yn hyderu yn fawr ein bod yn gywir yn y dybiaeth nad ydyw mwyach yn *arferiad* gyffredin mewn un ran o'n gwlad, neu os yw eto yn aros mewn rhyw gonglau anghysbell, nid yw yno ond ymysg y radd iselaf a mwyaf anwar. Dywedyd dim mewn ffordd o esgusodiad dros y fath arferiad anweddaidd ac anniwair, ni fynem ar un cyfrif. Eto yr ydym yn tybied fod y genedl gyfan wedi cael ei gwarthnodi, o herwydd arferiad wrthun a halogedig rhyw ranau a rhyw ddosbarth yn y wlad: dyledswydd pawb, gan hyny, yw gwnethur eu goreu i olchi ymaith y gwarth, drwy symud ymaith bob achlysur i'r achos o hono, ac i ddrwgdybiaeth am dano. Mae cyfeillachau ofer ac anamserol rhwng personau dibriod eto yn parhâu, meibion a llanciau amaethwyr mewn rhai ardaloedd eto yn dilyn yr hen arferiad ffol o gerdded y nos, fel y dywedir, i fercheta, heb un amcan mewn golwg yn hyny ond ynfydrwydd. Diau fod hyn yn un o brif achosion *bastarddiaeth* yn ein gwlad, a'r euogrwydd, y cywilydd, yr anghysur, y costau, a'r trueni, sydd yn dilyn y pechod o anniweirdeb. Gallai penau teuluoedd, trwy lywodraethu eu tai yn dda, a hyfforddi eu teuluoedd, wneuthur llawer tuag at gael llwyr ddiwygiad yn

* *The Mountains of Snowdon*, p. 12. † *Hemingway's Panorama of North Wales*, p. 17, 18.

hyn, i feddyginiaethu y drwg, ac i ragflaenu y canlyniadau gofidus o hono.

(5.) *Aelodau proffesedig*. Ymddengys fod y traethodyn hwn wedi ei fwriadu yn benodol er addysg aelodau eglwysig. Yr oedd dysgyblaeth y pryd hyny yn llem, a gwyddys ei bod yn cael ei chario allan yn effeithiol. Yr oedd yr hudoliaethau i bechod yn amgylchynu y proffeswyr ieuainc, a grym hen arferion y wlad yn gryf iawn, fel yr oedd yn anhawdd diddyfnu y bobl oddiwrthynt, a thramgwyddiadau galarus yn dygwydd yn aml; gan hyny yr oedd gweinidogion y gair a'u cynnorthwywyr wedi gosod eu gwynebau fel callestr yn erbyn llygredigaethau yr amseroedd, yr hyn a fu er bendith annhraethol i'n gwlad a'n cenedl. Gosodasant esiampl dda i ninnau i'w dilyn.

(11.) *Gwledd Bedydd*. Ar y Sabbothau y cynnelid y gwleddoedd hyn, ymron bob amser; ac y mae yn ddigon hysbys eu bod yn cael eu hynodi gan lythineb a meddwdod, a chyfeillachau ofer a thra anweddaidd ar y dydd sanctaidd. Er yr ystyrid cadw y cyfryw wleddoedd yn rheidiol er dal i fyny gymydogaeth dda, a haelioni cymdeithasol, fel y gellir gweled wrth yr hyn a ddyfynasom uchod, eto, mae yn ymddangos yn eglur nad allai yr anrhegion a ddygid ar y cyfryw achlysuron fod o nemawr help i'r sawl a'i derbynient, gan y dysgwylid iddynt gael eu talu yn ol, i'r rhoddwyr eu hunain neu rai o'u perthynasau, pan y deuai eu tro hwythau i alw am y cymmwynasau arferedig; a phan ystyrir y gloddest oedd yn cydfyned, ran fynychaf, beth bynag, â'r ddefod, rhaid ei bod yn wastraff ac afradlonedd, heblaw yn halogiad amlwg ar ddydd yr Arglwydd, ac o'r ordinhâd sanctaidd o fedydd.

(12). *Claddedigaethau* neu *gynhebryngau*.—Gellir dywedyd yn gyffelyb hefyd am ddefodau *gwylnosau* ac *angladdau*. Maent, gan mwyaf, wedi encilio o flaen goleuni gwareiddiad a moesoldeb, [illegible] fod rhyw weddillion eto yn aros heb eu llwyr adael heibio. Er mwyn dangos y cyfnewidiad sy wedi cymeryd lle, rhoddwn yma adroddiad byr o'r hen ddull o gladdu'r marw, allan o'r traethawd a enwyd o'r blaen :*—

"Pan genid cloch y llan i hysbysu marwolaeth un o'r plwyfolion, gwneid ymofyniad yn union pa pryd y byddai y cynhebrwng; ac ar y noson o flaen dydd yr angladd, ymgynnullai yr holl gymydogion yn y tŷ lle byddai y marw, yr hwn a elwid "Tŷ y corff." Yna gosodid yr arch, yn cynnwys gweddillion y trengedig, ar ystolion mewn lle agored yn y tŷ, wedi ei gorchuddio â brethyn du, neu, os byddai y marw yn ddibriod, â chynfas wèn, lân, gyda thair o ganwyllau yn oleu arni. Byddai pob un ar ei fynediad i'r tŷ yn myned ar ei liniau ger bron y corff yn dra defosiynol, ac yn adrodd wrtho ei hun weddi yr Arglwydd, neu ryw weddi arall a ddewisai. Wedi hyny, os byddai yn ysmociwr, cynnygid iddo bibell a thybacco. Dyma y cyfarfod a elwid *gwylnos*, [fel y gelwir cyfarfodydd cyffelyb eto,] ystyr yr hyn yw 'noson i wylio gyda'r marw.' Mewn rhai manau, fe'i gelwid *Padreua;* hyny yw, yn ddiammheu, y gair *Paderau* wedi ei lygru. Pan fyddai y cynnulliad yn llawn, darllenai y clochydd y gwasanaeth claddu; a therfynid trwy ganu salmau, hymnau, a chaniadau crefyddol eraill: ond er pan y daeth Methodistiaeth mor gyffredin, bydd rhywun yn sefyll i fyny ac yn traddodi araeth ar yr achlysur galarus, ac yna bydd y cynnulliad yn ymwasgaru. Ar y dydd canlynol bydd y claddedigaeth yn cymeryd lle rhwng dau a phedwar o'r gloch yn y prydnawn, pryd y bydd yr holl gymydogion yn ymgynnull drachefn. Ar gyfryw achlysuron, nid anfynych y gwelir tri neu bedwar cant o bobl, a mwy na hyny, wedi ymgynnull. Croesawid y bobl hyn oll â chwrw llysieuog, [*diod boeth*], bara brith, pibellau a thybacco, a rhoddid ciniaw i'r rhai a ddeuent o bell: fy

* *The Mountains of Snowdon*, p. 13, &c.

meddwl yw, y rhoddir y fath groesawiad ar gladdedigaeth amaethwyr parchus. Ym êir tua'r llan, ac ar ddiwedd y rhan hono o'r gwasanaeth claddu a ddarllenir yn gyffredin yn yr eglwys, cyn symud y corff at y bedd, bydd pob un o'r gynnulleidfa yn rhoddi dernyn arian i'r gweinidog; cyfneseifiaid y marw yn y cyffredin yn rhoddi swllt, y lleill yn rhoddi chwe cheiniog, a'r tlodion, geiniog yr un, ar yr allor. Hyn a elwir *offrymu*, ac weithiau bydd y swm yn wyth neu ddeg punt, a mwy, ar gladdedigaeth. Bydd offrwm hefyd i'r clochydd wrth y bedd, [*arian y rhaw* ei gelwir mewn rhai manau, gan y bydd y clochydd yn eu derbyn drwy ddal y rhaw uwchben y bedd], a bydd y swm yn gyffredin ynghylch y bedwaredd ran o'r hyn a dderbynia y gŵr llên. Ar ol claddu, bydd y cymdeithion yn ymgasglu i'r tafarndŷ [Ty'n llan], a phob un yn gwario chwe' cheiniog am gwrw; a dyna yr holl ddefodau drosodd.

"Edrychir ar y defodau afreidiol hyn fel dangosiad o barch dyledus i goffadwriaeth y marw, ac o gydymdeimlad â'i berthynasau a'i gyfeillion ar ei ol, er y gŵyr llawer mai gweddillion ofergoeledd Pabaidd ydynt. Y weddi ger bron y corff, nid oedd ddim amgen na gweddi am orphwysdra i'w enaid; neu os byddai o gymeriad rhinweddol a sanctaidd, yr oedd, yn ddiammheu, gyda gobaith y byddai iddo yntau weddio ac eiriol dros y rhai a adawsai ar ol. Yr offrwm i'r offeiriaid oedd am faddeuant i'r trengedig, a'i ryddhâd buan allan o'r purdan. Er, fel y dywedais o'r blaen, fod dechreuad y pethau hyn yn hysbys ddigon, y mae arfer wedi eu hawdurdodi a'u sefydlu i ddybenion gwahanol, er nad ydynt ond gweigion, afreidiol, ac ofer."

Aelod o'r eglwys wladol oedd yr ysgrifenydd, yn rhoddi desgrifiad o'r defodau Cymreig uchod i'r Saeson, a rhaid addef fod ei ddesgrifiad o honynt yn dra chywir; ond y mae yn amlwg ei fod o dynerwch canmoladwy yn tynu y llèn dros waradwydd ei genedl, heb son dim am feddwdod ac afreolaeth ei gydwladwyr ar gladdedigaethau. Tybiai hyny, fe allai, yn afreidiol, gan fod gradd mawr o ddiwygiad wedi cymeryd lle yn ei amser ef, fel y cydnebydd yn yr ymadroddion hyn:" "Mae yn amlwg i bob meddwl diragfarn, fod moesau y werin yn Nghymru, wedi gwella llawer er pan ddaeth Methodistiaeth yn gyffredin: mae tyngu a rhegi, meddwdod, ymladdau, &c., yn llai mynych, a'r Suliau yn cael eu cadw yn fwy manwl."

Mae y llygredigaeth a elwid *siot* claddedigaeth, arferiad yr ydym yn ei chofio mewn rhai plwyfydd mewn grym mawr, erbyn hyn wedi ei llwyr roddi heibio. Cof genym glywed y Parch. T. Charles o'r Bala yn dywedyd yn hallt yn ei herbyn. Yr oedd angladd yn ——, dau blentyn i ŵr lled barchus yno, ac yr oedd lliaws mawr wedi dyfod ynghyd ar yr achlysur. Yr oedd Mr. C. yn dychwelyd o Gymanfa ——, ac i bregethu yn y pentref hwnw y noson hono. Aeth i'r dafarn i weled yr agwedd oedd ar y bobl wedi bod yn claddu y meirw, cynhyrfodd ei ysbryd yn fawr wrth yr olygfa, a thrannoeth, clywsom ef mewn lle arall yn traethu ar anweddeidd-dra ac annuwioldeb yr arferiad ar y fath amgylchiad difrifol; dywedai am yr olygfa a welsai y dydd o'r blaen, ei bod yn arwydd o anystyriaeth tra gresynus, "a bod arogl eu cwrw a'u tybacco yn ddigon i gwympo ceffylau." Yr ydym yn credu i'w gyfarchiadau pwysig ef y tro hwnw gael effaith dda ar yr ardaloedd; daeth pobl i ystyried anmhriodoldeb yr arferiad, ac yn fuan i'w rhoddi heibio yn hollol. Mynych yr annogid yn yr Ysgolion Sabbothol, a chynnulliadau crefyddol eraill, i'w dodi heibio, a bu yr addysg yn dra effeithiol.

Mae yr hen ddefod o offrymu hefyd yn awr yn diflanu y gyflym, a'r arfer i bawb dalu am gladdu eu meirw yn dyfod yn fwy cyffredin.

(13.) *Dwyn penyd.*—Byddai yn arferiad o ddysgyblaeth gynt o roddi achwyn yn erbyn troseddwyr y seithfed gorchymyn yn llys yr esgob, a chyn y ceid eu henwau allan oddiyno, byddai raid iddynt dalu swm o arian; ac oni thalent caent eu hesgymuno, a'u difuddio o bob hawl i freintiau

grefyddol, ac nis adferid hwynt i gymundeb yr eglwys, heb iddynt ddwyn eu penyd mewn modd cyhoeddus, drwy ddyfod i'r gynnulleidfa ar y Sul yn droed-noeth, ben-noeth, a chynfas wèn yn orchudd drostynt, yn arwydd o'u hedifeirwch.

---

# DEWINIAETH.

[Anfonwyd y traethawd canlynol i ni gan glerigwr parchedig, yr hwn a dueddwyd i ysgrifenu ar y mater uchod oddiar ei ganfod yn destun cystadleuaeth eisteddfodol. Cyhoeddir ef yma megys gohebiaeth.]

WRTH geisio cyfansoddi traethawd ar y testun hwn, fy amcan yw bod mor drefnus ac eglur ag y medraf. Hawdd yw canfod ar unwaith nad gorchwyl bychan yw bod felly, mewn pwnc ag sydd mor ddyrus a dirgelaidd ynddo ei hun, ac nas gellir ymhelaethu arno oddiar brofiad personol, nac ychwaith wneyd unrhyw haeriad yn ei gylch gyda sicrwydd diymwad. Megys yn y mwyafrif o bethau eraill, y mae yn anghenrheidiol ymddibynu ar lafur ac ymchwiliadau y cyfryw o'n cyfoeswyr a'n cyndeidiau ag ydynt wedi efrydu dewiniaeth am yn agos yr oll o wybodaeth a allwn gael yn ei gylch. Gan fy mod newydd fod yn lloffa ryw ychydig ar feusydd rhai o'r cyfryw, ymdrechaf yn awr drefnu y tywysenau a gesglais yno mewn ffurf ac iaith ag y medr Cymro uniaith eu deall. Fy nghynllun fydd y canlynol. Dewiniaeth, I. Ei amrywiol ffurfiau. II. Ei hanes. III. Y modd yr ymddygid tuag at ddewiniaid. IV. Sylwadau cyffredinol.

I. AMRYWIOL FFURFIAU DEWINIAETH.

Y mae y grêd fod rhai personau yn feddiannol ar alluoedd goruwchnaturiol, a'r rhai a elwid dewiniaid, yn hen iawn, ac yn grêd ag a fu yn ffynu ymhlith agos yr oll o genedloedd y byd. Yr oedd Paganiaid y ddaear, megys y Rhufeiniaid a'r Groegiaid, yn priodoli y galluoedd hyn i'w duwiau, i ysbrydion da neu ddrwg, neu i ryw ddirgeledigaethau a dybient fod yn bodoli yn Natur. Nis gallaf yma ond rhoddi brâs-ddarluniad byr o ddewiniaeth ymhlith y Cenedloedd hyn. Y mae rhai awduron dysgedig, megys Aristotle, Plutarch, a Cicero, yn ein hysbysu fod dau fath o ddewiniaeth ymhlith y Groegiaid a'r Rhufeiniaid, sef yr *anghelfawl* neu y naturiol, a'r *celfawl*. Galwent y blaenaf yn *anghelfawl*, am ei fod yn cael ei arferu heb wneyd defnydd o unrhyw reolau, ffurfiau, na nodiadau; ond yn unig trwy ysbrydoliaeth uniongyrchol y duwiau. Gellir dyweyd fod dau fath o hwn eto, sef y dull o ddewino trwy oraclau, a'r hyn a elwid duw-ddewiniaeth (*theomancy*). Y dull blaenaf, a'r un mwyaf ardderchog o ddewino oedd trwy oraclau, gan y meddylid eu bod yn deilliaw mewn modd uniongyrchol oddiwrth y duwiau. Yr oedd lluoedd yn ymdyru at y rhai hyn i'r dyben o gael cyfarwyddiadau yn ngwahanol helyntion bywyd; nid yn unig y werin anwybodus, ond hefyd dynion o'r cynneddfau uwchaf. Meddylid mai Iau oedd ysbrydolydd mawr yr oraclau, a'i fod yn cyfranu o'i ysbryd i'r is-dduwiau yn ol ei ewyllys ei hun. Apolo oedd y duw nesaf ei alluoedd at Iau mewn dewiniaeth; ond nis gallasai Apolo weithredu ond mewn ymddibyniad arno ef. Yr oedd yr oraclau yn lliosog iawn. Yr oedd gan Iau un yn Dodonea, yr hon oedd ddinas yn Thessaly, medd rhai, ac yn Epirus, medd eraill. Yr oedd gan Apolo amryw o honynt, megys y rhai hyny

yn Delphi, Cirrha, Delos, a Didyma. Meddai Trophonius un yn Lebadea yn Bœotia, yr hon a fu unwaith yn fawr ei chlod. Yn yr oraclau hyn, menywod y rhan amlaf oeddent yn trosglwyddo y cyfarwyddiadau.

Gwahaniaethai y duw-ddewiniaeth oddiwrth yr oraclau hyn. Cyfyngid ysbrydoliaeth yr oraclau yn gyffredin i amserau penodedig, ac yn wastad i leoedd neillduol. Nis gallasai y Pythia gael ei hysbrydoli ond yn nheml Apolo, tra yr oedd y duw-ddewiniaid yn agored i gael eu hysbrydoli un amser neu mewn unrhyw ran o'r byd, ar ol offrymu aberthau a chyflawni defodau eraill.

Y math nesaf o ddewiniaeth a nodir yw y celfawl. Yr oedd hwn yn ymddibynu ar gelfyddyd a dyfais ddynol, er y meddylid fod gan y duwiau ryw gymaint i'w wneyd âg ef. Gan y ceir achlysur i ymhelaethu ar yr amrywiol ffurfiau o'r math hwn rhagllaw, nis gwnaf ychwanegu yn bresennol.

Sylwyd eisoes fod y byd cenedlig yn priodoli galluoedd y dewiniaid i'w duwiau, neu i achosion naturiol. Ond pan y daeth Cristionogaeth i mewn, gwisgodd dewiniaeth ffurf newydd. O hyn allan, priodolid galluoedd y dewin i'r diafol. Meddylid fod y bôd galluog a nerthol hwn, oddiar fwriad maleisus i ddrygu yr hil ddynol, yn gwneyd cyttundeb â'r ddewines, trwy yr hon yr oedd i gyflawni ei holl ddymuniadau, a'i chynnorthwyo yn ei holl amcanion gwenwynig, ar yr ammod y byddai ef yn cael cyflawn feddiant o'i henaid a'i chorff yn angeu. Y canlyniad o'r cyfnewidiad hwn ar ddewiniaeth fu, i ddynion edrych arno o hyny allan fel trosedd o'r natur fwyaf bechadurus. Byddent yn darlunio y diafol yn y modd mwyaf chwerthinus. Ceisient ei wneyd mor salw ag y byddai yn bosibl; ac i'r dyben o'i wneyd felly, priodolent iddo ddau gorn, cynffon buwch, ac ewinedd fforchog. Dywedir wrthym, mae yn wir, y gallasai ymddangos mewn unrhyw ffurf arall a ddewisai; ond er hyny yr oedd y rhai adnabyddus o'i ddichellion yn gallu canfod yr "ewinedd fforchog" ar unwaith, neu, mewn geiriau eraill, yn gallu treiddio i mewn i'w wir gymeriad. Meddylid fod y bôd anferth hwn yn chwareu rhan bwysig yn newiniaeth y Canol Oesoedd, yr hyn a ystyrid fel yn gorphwys yn hollol ar ei offerynoliaeth. Nid oedd y farn hon yn cael ei chyfyngu i'r annysgedig, neu i bersonau o dymher ofergoelus; eithr yr oedd dynion hynod am eu cynneddfau a'u dysgeidiaeth yn cael eu meddiannu gan yr un cyfeiliornadau.

Bernid fod y dewiniaid yn feddiannol ar alluoedd mawrion iawn. Y gred gyffredinol oedd, eu bod hwy, trwy offerynoliaeth y diafol, yn gallu achosi tymhestloedd ar dir a môr; deifio cnwd y ddaear, a niweidio anifeiliaid; dwyn afiechyd corfforol ar unrhyw berson a ddygwyddai fod yn wrthddrych eu malais; ïe, cyfodi y meirw i fywyd; a'u bod yn gallu cyfnewid eu hunain ar lun cathod, ysgyfarnogod, neu anifeiliaid eraill, yn ol eu mympwy eu hunain. Pan y syrthiai anifail i'r ffôs a threngu yno, priodolid yr achos o hyny i ryw hen wrâch a fyddai yn cael ei ddrwgdybio gan y gymydogaeth; a phan y byddid yn methu corddi yr hufen, priodolid hyny i'r un achos. Trist yw meddwl mor gryf yr oedd y tybiau ofergoelus hyn yn dylanwadu ar bob gradd o ddynion. Y prif achos o'r dylanwad hwn oedd eu hanwybodaeth o'r rhan fwyaf o ymddangosiadau anian. Yr oedd natur yr awyrgylch, a rhai ymddangosiadau goruchionllyd — y deddfau ag sydd yn llywodraethu tymhestloedd ar y môr—a'r clefydau ag y mae dyn yn etifedd iddynt, ynghyd a'r modd o'u meddyginiaethu, yn hollol anadnabyddus y pryd hwnw. Gan eu bod yn anwybodus o achosion naturiol pethau, yr oedd y meddwl egwan yn dyfod i'r penderfyniad fod pob drwg yn deilliaw oddiwrth allu gelyniaethus i ddyn, a bod yn bosibl i ddyn ddrygu ei gymydog trwy wneyd cynghrair annuwiol â'r gallu hwnw.

Ni a ddeuwn weithian i sylwi yn fwy neillduol ar yr amrywiol ffurfiau o ddewiniaeth. Dichon fod y 10fed a'r 11eg adn. o'r xviii. bennod o Deuteronomium, yn cynnwys yn agos yr oll o'r ffurfiau hyn:—"Na chaffer ynot a wnelo i'w fab, neu i'w ferch, fyned trwy y tân; neu a arfero ddewiniaeth, na phlanedydd, na daroganwr, na hudol, na swynwr swynion, nac a geisio wybodaeth gan gonsuriwr, neu frudiwr, nac a ymofyno â'r meirw." Cymeraf ach-

lysur oddiwrth yr adnodau hyn i ymhelaethu ychydig ar yr amrywiol wisgoedd, ymha rai y gwnai dewiniaeth ei ymddangosiad yn ein byd.

1. "A arfero ddewiniaeth." Yr oeddynt yn gwneyd hyn mewn amrywiol ffyrdd; ac un ffordd oedd sylwi ar ymysgaroedd eu haberthau, trwy yr hyn y cymerent arnynt ragfynegi pethau dyfodol. Ymddengys eu bod yn aml yn gwneyd hyn âg aberthau dynol; a dichon fod cyfeiriad at yr arferiad barbaraidd hwn yn y geiriau dan sylw. Yn union ar ol dyweyd, "Na chaffer ynot a wnelo i'w fab, neu i'w ferch, fyned trwy y tân," ychwanegir, "Neu a arfero ddewiniaeth." Yr ydym yn canfod yr un cysylltiad rhwng tynu plant trwy dân ag arfer dewiniaeth mewn rhanau eraill o'r Bibl, megys yn 2 Bren. xxi. 6, lle y dywedir am y brenin annuwiol Manasseh;—"Ac efe a dynodd ei fab trwy dân, ac a arferodd hudoliaeth, a brudiau, &c." Yr oedd hyn yn arferiad cyffredin ymhlith Paganiaid, fel y gŵyr pawb ag sydd yn hyddysg mewn hanesiaeth cyffredin. Byddai eraill yn arfer dewiniaeth trwy fwrw coelbren. Yr oedd yr arferiad hwn yn perthyn yn neillduol i'r Groegiaid a'r Rhufeiniaid; ac yr oedd wedi bod yn arferiad, fel y mae tebycaf, yn yr oesoedd gynt, ymhlith y cenedloedd dwyreiniol. Dywedir wrthym yn neillduol am un ogof yn Bura, yn Achaia, yn yr hon yr oedd delw i Hercules. Y sawl a fyddent awyddus am gyfarwyddyd mewn unrhyw achos, a arferent ymgrymu o flaen y ddelw hon ac adrodd eu gweddïau; yna taflent bedwar ffristyn ar y bwrdd, a thrwy y llythyrenau neu y nodau ar ba rai y byddai iddynt syrthio, yr oedd y cyfarwyddyd yn cael ei roddi. Gellir ychwanegu yma fod eraill yn arfer dewiniaeth trwy ymwneyd â phenglog dyn marw. Yr oedd hyn yn arferiad ymhlith y Groegiaid, yn gystal a chenedloedd cenedlig eraill.

2. "Na phlanedydd." Wrth "blanedydd," medd rhai, y golygir y cyfryw a arferent ddewino oddiwrth ymddangosiadau y cymylau, gan ystyried *(ounen)* y gair gwreiddiol, fel yn tarddu o *(onon)*—cwmwl. Ond haera eraill nad oedd y cyfryw ffurf o ddewiniaeth yn adnabyddus yn yr oesoedd gynt, ac yn ganlynol tybiant mai ystyr y gair "planedydd" yw un yn hudo, swyno, neu rheibio â'i lygad, a bod y gair gwreiddiol yn tarddu oddiwrth *(aïn)*—y llygad. Ond gellir gofyn yma, Onid yw y gwlaw-wneuthurwr *(rainmaker)*, yr hwn yn ol tystiolaeth Moffat ac ysgrifenwyr eraill ar Affrica, sydd i'w gyfarfod mor aml yn y wlad hono, yn tebygoli i'r planedydd dan sylw?

3. "Na daroganwr." Wrth hyn y golygir un yn dewino oddiwrth ymddangosiad seirph—ffurf o ddewiniaeth ag oedd yn gyffredin iawn ymhlith yr henafiaid. Rhydd Homer un enghraifft neillduol o'r arferiad hwn yn y 7fed Llyfr o'r Iliad. Darfu i Calchas, yr hwn oedd ddewin yn y fyddin Roegaidd, ganfod sarph yn llyncu wyth o adar y tô ynghyd a'u mham, a daroganodd oddiwrth hyny pa hyd y byddai i ryfel Caerdroia barhâu. Galwai y Groegiaid y dull hwn yn *Ophiomanteia—nomen ab re factum*—neu enw arwyddocäol o'r arferiad.

4. "Na hudol." Ymddengys fod yr ymadrodd hwn yn gryfach nag un o'r rhai blaenorol. Y mae y gair a gyfieithir yma "hudol," yn arwyddo un a fyddo yn arferu swyngyfaredd, neu yn llefaru ryw eiriau swynol a dirgelaidd gyda'r bwriad o niweidio personau neu feddiant perthynol iddynt. Mae yn debyg fod gan y dewinesau gynt lyfrau yn cynnwys ymadroddion perthynol i'w swydd, trwy adrodd y rhai y proffesent ddwyn melldith neu ddrygfyd ar wrthddrychau eu digofaint. Byddai yr hynafiaid yn dychrynu rhag y gallu a dybient fod ganddynt, er drwg, trwy adrodd eu swyngyfaredd.

5. "Na swynwr swynion." Nid oes un sicrwydd pa ffurf o ddewiniaeth a olygir wrth yr ymadrodd hwn. Ymddengys fod y gair gwreiddiol yn arwyddo cysylltu neu glymu ynghyd; ac mewn canlyniad, y mae rhai yn tybied mai adroddwr tesni a olygir wrtho; sef y sawl a broffesent ragfynegi pethau dyfodol trwy gysylltiad y planedau. Y mae'n sicr fod dewiniaeth yn gwisgo y ffurf hon hyd yn nôd yn ein gwlad ni, ac yn yr oes bresennol. Ond pa un ai y ffurf hon sydd i'w golygu wrth yr ymadrodd dan sylw, nis gallaf ddyweyd yn benderfynol. Dywed rhai eilwaith fod hen arferiad o ddewino trwy gasglu

amryw anifeiliaid i'r un lle, a bod yma gyfeiriad at yr arferiad hwnw. Ond y mae'n debyg mai barn gyffredinol yr hen Iuddewon dysgedig oedd, fod yma gyfeiriad at y sawl a arferent eiriau dyeithr a diystyr er swyno seirph gwenwynig, i'w hattal rhag brathu na gwneyd unrhyw niwed arall. Yr oedd yr Iuddewon gynt mor ddarostyngedig i'r ffurf hon o ddewino, hyd yn nôd ar ol i Moses roddi y gorchymyn hwn, fel yr oeddent yn arferu adrodd y geiriau canlynol fel swyngyfaredd:—"Ni roddaf arnat un o'r clefydau a roddais ar yr Aiphtiaid; o herwydd myfi yw yr Arglwydd dy Iachawdwr di." Ex. xv. 26.

6. "Nac a geisio wybodaeth gan gonsuriwr." Ymddengys fod y gair *oboth*, yr hwn a gyfieithir yma "consuriwr," wedi peri cryn lawer o aflonyddwch i ddysgedigion. Ystyr y gair hwn weithiau, megys yn Job xxxii. 19, yw, "costrelau newyddion," neu lestri gweigion; yn ganlynol, tybia rhai fod yma gyfeiriad at y cyfryw a broffesent ddewino trwy lefaru allan o'u boliau neu eu mynwesau, gyda llais cau, fel pe byddai yn dyfod allan o gostrel wâg. Y mae yn sicr fod y cyfryw i'w cael ymhlith y Groegiaid, y rhai a alwent *Engastrimuthoi*, neu bol-lefarwyr. Byddai y llais weithiau yn dyfod allan o dwll cesail y dewin, a meddylid ei fod yn cael ei achosi trwy offerynoliaeth yr ysbryd aflan. Braidd y mae yn anghenrheidiol crybwyll fod y math hwn o ddewiniaid yn gyffredin iawn yn ein dyddiau ni, o dan yr enw bol-lefarwyr *(ventriloquists)*, a'n bod yn priodoli eu galluoedd i achosion hollol naturiol.

7 "Neu frudiwr." Wrth "frudion" y golygir dyn doeth, gwybodus, neu gyfrwys. Llefarir am danynt yn Daniel v. 11 mewn cysylltiad â dewiniaid, astronomyddion, a Chaldëaid; ac yr oedd Daniel yn benaeth arnynt. Nid oes dim yn anhebgorol ddrwg mewn cysylltiad â'u henwau, er fod rhai o honynt, fe allai, yn proffesu adferu rhyw beth a fyddai wedi myned ar goll, neu adrodd tesni, a hyny trwy gyfrwng y planedau.

8. "Nac a ymofyno â'r meirw." Mae y ffurf hon o ddewiniaeth yn un o'r rhai mwyaf rhyfeddol o'r cwbl. Bernid fod y person a ymofynai â'r meirw yn feddiannol ar alluoedd anferthol, ac edrychid arno gyda theimlad yn cyfranogi o arswyd a pharch. Dywed un awdwr dysgedig mai eu dull o weithredu oedd y canlynol:—Byddai y dewin neu y ddewines yn ymprydio am ryw gymaint o amser; yna yn gorwedd ar fedd y marw y mynai ymofyn âg ef, ac yn cysgu. Wedi hyny, yr oedd y marw yn dyfod ato, fel y tybid, ac yn ei hysbysu o'r hyn a ewyllysiai. Yr oedd yr arferiad hwn yn un cyffredin iawn yn y byd cenedlig. Y mae Plutarch, yn ei fywgraffiad o Cimon, yn ein hysbysu ddarfod i Pausanias fyned i oracl y meirw yn Heraclea, a galw i fyny ysbryd Cleonia. Dywed Homer wrthym yn y 9fed Llyfr o'r Odyssey, ddarfod i Ulysses, ar ol iddo aberthu dafad ddu mewn ffôs, a thywallt allan ryw fath o ddiod-offrwm, wahodd ysbryd Tiresias i yfed o'r gwaed, yr hwn, ar ol gwneyd hyny, a ddaeth yn ewyllysgar i ateb ei gwestiynau. Ac y mae gyda ni un enghraifft hynod o hyn yn yr Ysgrythyrau sanctaidd, mewn cysylltiad â Saul a'r ddewines o Endor. Ymddengys fod y ddewines hono yn proffesu ymofyn â'r meirw; a phan y darfu i Saul fyned ati, pan yr oedd Duw wedi ei adael, a'i amgylchiadau wedi myned yn gyfyng, gwelodd yr Arglwydd yn dda ganiatâu i Samuel ymddangos iddo.

Y cyfryw yw y rhan amlaf o'r ffurfiau ymha rai y mae dewiniaeth wedi gwneyd ei ymddangosiad yn ein byd ni.

II. Hanes Dewiniaeth.

Meddylid fod ysbryd dewiniaeth yn cael ei feddiannu, y rhan amlaf, gan y rhyw fenywaidd. Gwir fod rhai o'r rhywogaeth arall yn cael eu cyhuddo yn awr ac eilwaith o fod yn feddiannol arno; ond y mwyafrif o'r cyhuddedigion oeddynt fenywod. Dichon mai y prif achos o hyn oedd y ffaith fod menywod, yn y cyffredinolrwydd, yn fwy ysgafn eu meddwl a byr eu deall na'r gwyrywod, ac felly yn fwy darostyngedig i syrthio yn ysglyfaeth i ddychymygion ofergoelus. Y mae un ysgrifenydd galluog yn rhoddi y darluniad canlynol o'r hen wrachod a fyddent yn arfer dewiniaeth;—"Hen fenyw gyda gwyneb rhychiog, gwefus flewog, llygad tro, llais gwichleisiog, neu dafod cecrus; a chanddi hen hugan

garpiog ar ei chefn, gwerthyd yn ei llaw, a chi wrth ei hochr—hen grëadur truenus, eiddilaidd, ac analluog, yn cael ei baeddu a'i herlid gan ei holl gymydogion." Garw na fuasai genyf ddigon o'r awen farddonol i Gymreigio y darluniad canlynol allan o "*History of the Devil.*"

"When the Devil for weighty dispatches
  Wanted messengers cunning and bold,
He pass'd by the beautiful faces,
  And pick'd out the ugly and old.
Of these he made warlocks and witches,
  To run on his errands by night,
'Til the over-wrought hag-ridden wretches,
  Were as fit as the devil to fright."

Y cyfryw oedd y crëaduriaid truenus a barasent gymaint o aflonyddwch yn y byd.

A dewiniaeth gelfawl y mae a wnelwyf yn fwyaf neillduol yn y traethawd hwn. Dywedir wrthym gan ddysgedigion ddarfod i'r math hwn o ddewiniaeth gael ei ddyfeisio yn Persia, lle yr oedd ar y dechreu yn fawr ei glod a'i anrhydedd. Ond pan y daeth dewiniaid i adael pethau naturiol a chyfreithlawn, a phroffesu ymwneyd â chythreuliaid, collasant eu hanrhydedd yn hollol. O Persia, dygwyd y gelfyddyd o ddewino i Groeg a gwledydd eraill y byd. Dywedir mai Oethanes, yr hwn a ddaeth i Groeg gyda byddin Xerxes, a'i dygodd hi i'r wlad hono. Yr oedd y Rhufeiniaid hefyd yn arferu dewiniaeth, ac yr ydym yn cael deddf yn ei erbyn mor foreu â'r Deuddeg Llech. Gellir sylwi yma nad oedd dewiniaeth yn drosedd yn erbyn crefydd ymhlith y Rhufeiniaid, nac ymhlith rhai o genedloedd Gogledd-dir Ewrop. Meddylid weithiau, mae yn wir, fod y ddewines yn derbyn ei gallu oddiwrth ysbrydion cyfeillgar i ddyn, ac yr oedd ei galwedigaeth yn cael ei anrhydeddu, er yn cael ei ofni, gan y penweiniaid a ymddiriedent ynddi.

Yr oedd hyd yn nôd yr Iuddewon, pobl etholedig yr Arglwydd, yn dra agored i'r ofergoeledd hwn. Yr ydym yn dysgu hyn oddiwrth y bygythion lliosog a dywelltir yn ei erbyn, a'r cosbedigaethau trymion a weinyddid ar y sawl a ymarferent âg ef. "Gŵr neu wraig a fo ganddynt ysbryd dewiniaeth, neu frud, hwy a leddir yn farw; â cheryg y llabyddiant hwynt: eu gwaed fydd arnynt eu hunain." Lef xx. 27. Ymddengys fod y genedl Iuddewig yn agored iawn i syrthio i arferion llygredig y cenedloedd a'i hamgylchynai, ac o herwydd hyn yr oedd yr Arglwydd yn rhoddi rhybuddion aml iddynt i'w gochelyd. "Pan elych di i'r tir y mae yr Arglwydd dy Dduw yn ei roddi i ti, na ddysg wneuthur yn ol ffieidd-dra y cenedloedd hyny:" ac un ffieidd-dra perthynol iddynt oedd dewiniaeth. Y mae yn anhawdd gwybod paham y gwelai yr Arglwydd yn dda weinyddu cosbedigaeth mor drom â marwolaeth ar bersonau euog o'r trosedd hwn. Digon tebyg yw, fod y mwyafrif o ddewiniaid yn dwyn eu gorchwylion ymlaen trwy offerynoliaeth y planedau; ac yn ganlynol, byddai dynion yn meddwl eu bod yn talu ryw fath o addoliad iddynt. Dichon, ynte, yr edrychid ar ddewiniaeth fel math o eilunaddoliaeth, ac fel yn deilwng o'r un gosbedigaeth. Y mae gyda ni un enghraifft hynod o ddyn a fu unwaith yn wasanaethwr y Duw byw, yn syrthio wedi hyny i afael yr ofergoeledd hwn. Ymddengys fod Balaam yn adnabod y gwir Dduw, a'i fod yn wir brophwyd, hyd oni ddarfu iddo "adael y ffordd uniawn, a myned ar gyfeiliorn gan garu gwobr anghyfiawnder."

Rhaid i ni frysio bellach at y cyfnod Cristionogol. Sylwyd eisoes ddarfod i ddewiniaeth wisgo ffurf newydd ar ymddangosiad Cristionogaeth. Yn lle edrych arno fel trosedd yn erbyn y gyfraith wladol yn unig, fel y gwnelai y rhan fwyaf o'r byd Cenedlig o'r blaen, ystyrid ef o hyn allan y pechod mwyaf ysgeler y gallasai dyn fod yn euog o hono. Golygai y grefydd Iuddewig ef yn drosedd mawr, o herwydd ei fod yn sawru o eilunaddoliaeth; ond golygai pleidwyr Cristionogaeth ef felly o herwydd eu bod yn credu fod dewiniaid yn derbyn eu galluoedd trwy wneyd cynghrair â chythreuliaid. Parhäodd i

gaethiwo meddwl y byd Cristionogol trwy gydol y canol oesoedd, ac oddeutu diwedd y bymthegfed ganrif, cyrhaeddodd ei nôd uchaf. Onid yw yn beth hynod fod y fath ofergoeledd â hwn yn cynnyddu mor ddirfawr yn yr amser yr oedd y Diwygiad Protestanaidd yn dechreu deffröi cysgadrwydd Pabyddol y byd? Onid yw yn ddirgelwch mawr fod ofergoeledd ag oedd â'r fath duedd ynddo i ddallu y meddwl dynol yn cydgynnyddu â'r egwyddorion efengylaidd a rhyddfrydig a gynnyrchwyd gan y fflam a gynneuwyd gan Luther? Onid ellir ystyried y cynnydd hwn ar ddewiniaeth fel dyfais o eiddo y diafol er attal llwyddiant yr egwyddorion hyny yn y byd? Gan nad beth am hyna, y mae gyda ni yr hyfrydwch o wybod yn awr, fod Protestaniaeth erbyn hyn o bryd yn agos wedi gyru dewiniaeth allan o'r gwledydd hyny ag sydd mor ddedwydd a bod fwyaf dan ei dylanwad; a da fuasai genyf pe gallwn ddyweyd ei fod wedi gwneyd hyny yn hollol.

Yn y flwyddyn 1484, cyhoeddodd y Pab Innocent VIII. gyhoeddlythyr yn erbyn dewiniaid, yn yr hwn y gorchymynodd iddynt gael eu dinystrio yn ddidrugaredd. Cyhoeddwyd llythyrau cyffelyb gan Alexander VI. yn 1494; gan Leo X. yn 1521; a chan Adrian VI. yn 1522; pob un o honynt yn gadarnach na'i ragflaenydd. Bu y canlyniad o hyn yn ofnadwy. Daeth y dewiniaid yn wrthddrychau o ofn ac arswyd yn agos i bawb. Os byddai unrhyw ddamwain galarus yn dygwydd mewn teulu, megys plentyn yn syrthio i'r tân, neu yn marw yn ddisyfyd, y ddewines oedd yn cael y bai, ac yr oedd y crëaduriaid truenus hyn yn cael eu cosbi wrth y miloedd. Ynghylch y flwyddyn 1515, cafodd pum cant o ddewinesau eu dinystrio yn Geneva mewn tri mis, a llawer o filoedd yn Ffrainc yn yr un amser. Cyfrifir ddarfod i gan' mil o honynt gael eu dinystrio yn yr Allmaen, o'r amser y cyhoeddwyd llythyr Innocent hyd ddilead yr erlidigaeth.

Ymddengys mai yn amser Harri VIII. y gwnawd y ddeddf gyntaf yn erbyn dewiniaid yn Lloegr. Gwnawd deddf arall gan Elizabeth, ond nid yw yn debyg ddarfod i lawer o honynt gael eu gosod i farwolaeth yn ystod y ddau deyrnasiad hyn. Ychydig ar ol esgyniad Iago I. i orsedd Lloegr, gwnaethpwyd dewiniaeth yn drosedd teilwng o ddienyddiaeth. O hyn allan, yr oedd y dewinesau yn cael eu dinystrio yn ddidrugaredd.

Yn y flwyddyn 1612, dinystriwyd deuddeg o honynt yn Nghaerwerydd; yn 1622, chwech yn Nghaerefrog; ac yn 1645 a 1646, dinystriwyd triugain yn Suffolk, ac yn agos yr un rhifedi yn yr un amser yn Huntingdon. Bernir i dair mil gael eu dienyddio yn ystod eisteddiad yr Hir-Barliament; a pharhäodd yr erlidigaeth yr un mor greulawn am amser maith wedi hyny. Y mae un ysgrifenydd dysgedig yn barnu ddarfod i gymaint â deng mil ar hugain gael eu gosod i farwolaeth yn Lloegr yn unig am y trosedd hwn!

Os trown ein golygon tua'r Alban, ni chawn fawr well golwg ar bethau yno. Yr oedd Iago VI., wedi hyny Iago I. Brenin Lloegr, wedi ei feddiannu â rhyw feddwl dychrynllyd am ddewinesau. Meddyliai ei fod ef ei hun wedi bod unwaith yn wrthddrych neillduol eu cynddaredd. Yn y flwyddyn 1590 cymerodd fordaith i Denmarc, i'r dyben o briodi a dwyn adref y Dywysoges Anne. Ar ei ddychweliad, bu yn agos cael ei orddiwes gan dymhestl, a chafodd amryw ddewiniaid a dewinesau ddyoddef o'r herwydd. O dan effaith yr arteithiau chwerwon a osodwyd arnynt, cyfaddefodd un o'r prif ddewinesau ddarfod i gyfarfod mawr o honynt gael ei gynnal, yn yr hwn yr oedd oddeutu dau cant yn bresennol, ac i'r diafol eu cymhell i achosi y dymhestl. Pan y gofynodd Iago paham yr oedd y diafol mor elyniaethus tuag ato ef, atebodd un o honynt yn dra chyfrwys, "O herwydd mai efe oedd y gelyn mwyaf oedd gan y diafol yn y byd." Diau fod y cyfryw atebiad yn bur foddhâol i ddyn balch fel Iago; ond ni thyciodd i'r dewinesau, canys cawsant eu gosod i farwolaeth. Am ryw amser ar ol symudiad Iago i Loegr, lleihâodd yr erlidigaeth. Ond pan, oddeutu diwedd teyrnasiad Siarl I., y cynnyddodd ysbryd Puritaniaeth, cynnyddodd yr erlidigaethau ar ddewiniaid gydag ef. Yr oedd teimladau crefyddol, mae yn debyg, yn chwerwi meddyliau pobl tuag atynt. Gweinidogion yr Eglwys o hyn allan

oedd prif erlidwyr y penweiniaid truenus, a chafodd rhai miloedd o honynt eu dienyddio. Nid ymddengys i neb gael ei brofi am ddewiniaeth yn yr Alban ar ol y flwyddyn 1722; ac y mae rhai ag sydd wedi gwneyd ymchwiliad i'r pwnc yn cyfrif nifer y sawl a ddyoddefasant yn y wlad hono oddeutu pedair mil.

Nis gallaf derfynu y rhan hon o'm traethawd cyn rhoddi hanes byr o ddewiniaeth yn "ngwlad fy ngenedigaeth." Bu amser pan yr oedd Gwyllt Walia yn hynod am ei dewiniaeth. Meddai yn agos bob pentref ynddo ddewines neu "ddyn hysbys," a byddai ein cyndeidiau yn gwrando cymaint arnynt ag y gwnai y Groegiaid gynt ar oracl Delphi. Un peth ag oedd yn cynnyddu nifer y creäduriaid hyn, oedd yr arferiad ymhlith pobl anwybodus o offrymu eu plant i'r diafol er eu gwneyd yn ddewiniaid. Darlunir yr arferiad barbaraidd hwn gan yr Hybarch Vicer Prichard yn y modd canlynol:—

"Tynu 'r plentyn trwy bren crwca
Neu trwy 'r fflam ar nos g'langaua,
A'u rhoi ymhinn y felyn uchel,
Yw offrymu plant i gythrel."

Pwy nad yw wedi clywed am y dewin mawr hwnw, Myrddyn Emrys? Bu ei enw yn adnabyddus unwaith yn agos dros yr holl fyd. Ystyrid ef y dewin mwyaf galluog yn ei oes, ac y mae rhyw deimlad o arswyd yn meddiannu dynion hyd y dydd heddyw pan y byddo ei enw yn cael ei grybwyll. Ymddengys fod rhyw wmbredd o chwedlau wedi eu cysylltu â hanes genedigaeth a bywyd y dyn rhyfeddol hwn. Dywed rhai iddo gael ei genedlu gan y diafol; dywed eraill i'w fam, yr hon oedd fynaches yn Ngwyryfdŷ St. Pedr, Caerfyrddyn, ac yn ferch i Frenin Dyfed, freuddwydio fod dyn ieuanc yn gorwedd gyda hi, ac yn ganlynol iddi feichiogi ac esgor ar Myrddyn. Mae y chwedl am y brenin Gwrtheyrn yn adeiladu castell yn mynyddoedd Eryri, a'i gysylltiad â Myrddyn yn yr achos hwnw, yn adnabyddus i'r rhan fwyaf o honom. Dywedir i Myrddyn wneyd gorchwylion mawrion yn ei ddydd, megys troi Uthyr Pendragon i rith Gwrlais, Tywysog Cernyw, ac amryw bethau eraill. Mae ei brophwydoliaethau yn bur lliosog, ac ymddengys fod rhai o honynt wedi eu cyflawni. Y ganlynol yw ei brophwydoliaeth am ddyfodiad y Ffrancod i Abergwaun, ac am fyddin fechan Arglwydd Cawdor yn myned i'w cyfarfod.

"Ceir gweled llong ar gefn purwyn,
Yn dod i Brydain Fawr,
Fe ddaw y gath a'r wenci,
Ar hyd glân Towy lawr."

Dywedir hefyd ei fod wedi prophwydo y bydd i Gaerfyrddyn gael ei gorlifo ryw ddiwrnod.

"Caer Fyrddyn cei oer fore,
Daear a gryn,—daw llyn i'th le."

Y mae diwedd Myrddyn yn orchuddiedig dan yr un lèn a'r rhan arall o'i hanes. Haerai rhai iddo gael ei golli yn y môr; ond "eraill o'r tu arall a gredent fod Myrddyn, ynghyd a'i holl gyfeillion o lys Arthur, yn byw mewn mawr ddedwyddwch yn ynys Afallon, yn ngwlad y Tylwyth Têg."

Dywed Giraldus wrthym fod dyn o'r enw Maelor yn byw yn Nghaerlleon oddeutu 1100, a'i fod yn cael ei ystyried yn gonsuriwr. Proffesai ddyweyd lle i gael gafael mewn nwyddau a fyddent wedi eu lladratta, a rhagfynegi pethau dyfodol. Yr oedd hefyd yn gallu adnabod dynion drwg trwy ganfod cythreuliaid yn neidio a chwareu o'u hamgylch. Byddai dewin arall yn byw yn y Gogledd ryw amser maith yn ol, yr hwn oedd yn agos gymaint ei glod â Myrddyn. Darfu i ddau lencyn un noswaith, ar eu dychweliad o garu, agor y clwydi ar ddau gae llafur perthynol i'r dewin hwn, a gyru yr anifeiliaid ag oeddent yn pori mewn cae arall cyfagos i mewn iddynt. Pan y cychwynasant ar eu taith adref, teimlasant ryw faich anferthol drwm yn pwyso ar eu cefnau;

a beth, meddwch chwi oedd y baich, ond y clwydi wedi eu glŷnu wrth eu cefnau gan y dewin! Yr oedd dyn yn byw yn Sir Benfro, yr hwn a elwid y "dyn hysbys" o Bentregethen, yn proffesu gwerthu gwynt i'r morwyr, mynegi hynt cyfeillion absennol, a chyflawni gweithredoedd rhyfeddol eraill a briodolir i gonsurwyr. Ymddengys oddiwrth yr enghreifftiau a nodwyd fod dewiniaeth yn bur flodeuog unwaith yn ein gwlad ni.

Pe byddai gofod yn caniatâu, gallaswn roddi hanes pur gyffelyb am ddewiniaeth yn yr Iwerddon. Fel y gellid meddwl, yr oedd trigolion yr Ynys Werdd wedi llyncu yr ysbryd hwn i fesur ehelaeth iawn, a chafodd miloedd o ddewinesau eu gosod i farwolaeth yno. Y mae yr erlidigaethau wedi darfod; ond nid yw yr ofergoeledd wedi diflanu eto. Y mae yr Iwerddon yn fwy ofergoelus nag un rhan arall o Brydain Fawr; ac ni ddaw i'w hiawn bwyll nes y byddo y grefydd Babaidd wedi ei diddymu neu ei chyfnewid, ac addysg wedi gorlenwi gwyneb y tir.

III. Y MODD YR YMDDYGID TUAG AT DDEWINIAID.

Y gosb ag oedd yr Iuddewon, yn ol cyfraith Moses, i weinyddu ar ddewiniaid oedd llabyddio â cheryg. Yr oedd y gyfraith Rufeinig yn gweinyddu cosb arnynt, ond nid ymddengys mai marwolaeth ydoedd. Byddai y Groegiaid yn gosod y rhai cyfrwysaf a mwyaf diohellgar o honynt i farwolaeth; ond yr oedd y barnwyr at eu rhyddid i gosbi rhai gwirion ac annysgedig yn y modd y gwelent yn oreu. Y gosb am y trosedd hwn o dan Gristionogaeth oedd llosgi yn fyw. Cafodd miloedd eu llosgi fel hyn yn yr Allmaen a gwledydd eraill, mewn canlyniad i gyhoeddlythyrau y Pab Innocent a'i olynwyr. Y dull mwyaf cyffredin o gosbi dewiniaid yn nheyrnasiad Harri VIII. ac Elizabeth, oedd eu gosod mewn gwddf-gyffion *(pillory)*. Ond ar esgyniad Iago I. i orsedd Lloegr, gwnaethpwyd deddf newydd trwy yr hon yr oeddent i gael eu llosgi. Gweinyddid y gosb chwerw hon gan bersonau a elwid Argeiswyr Dewinesau. Darfu i un o'r crëaduriaid hyn, yr hwn a elwid Matthew Hopkins, anfarwoli ei hun trwy yr hafog a wnaeth. Ei ddull o weithredu oedd fel y canlyn:—"Yr oedd yn eu dyosg o'u dillad, yn eu heillio, ac yn gwanu pinau i'w cyrff er cael allan nodau y ddewines. Yna yr oedd yn eu goblygu mewn cynfas, wedi clymu bawdfysedd eu dwylaw a'u traed ynghyd, ac yn eu llusgo trwy lŷnau neu afonydd. Os y byddai iddynt soddi, cyfrifid hyny fel arwydd nad oedd yr elfen fedyddiol yn eu gwrthod, ac yr oeddent yn cael eu rhyddhâu. Ond os byddai iddynt nofio ar y wyneb, yr hyn a wnaent fynychaf am ychydig amser, yr oedd hyny yn arwydd ddiffael o'u heuogrwydd. Os nad allai y ddewines wylo pryd y mynai, ac os na wnai adrodd Gweddi yr Arglwydd bob gair o honi, credid ei bod mewn cynghrair â'r diafol. Mewn gair, yr oedd y dyn barbaraidd hwn yn gosod y fath arteithiau arnynt, fel ag yr oedd y rhan amlaf yn cyfaddef eu bod yn euog er cael gwaredigaeth yn angeu." Er rhoddi enghraifft o'r poenau erchyll ag yr oedd rhai yn orfod ddyoddef, gwnaf nodi un Dr. Fian yn yr Alban. Darfu i rai dewinesau gyhuddo y dyn anffodus hwn o fod mewn cynghrair â'r diafol, ac o gymeryd rhan yn yr achosiad o'r dymhestl y cyfeiriwyd ati yn barod mewn cysylltiad âg Iago VI. I'r dyben o'i orfodi i gyfaddef ei euogrwydd, gosodwyd ef mewn math o offeryn poenydiol, yr hwn a elwid y *bootes.* Yr oedd y poenau a achosid gan yr offeryn hwn mor ddirfawr, fel y gorfu arno gyfaddef yn erbyn ei hunan. Taflwyd ef i garchar, o ba un y bu yn alluog i ddianc yn fuan. Wedi iddynt ei adgymeryd, dygwyd ef o flaen y Brenin Iago i'r dyben o gael ei adholi, pryd y galwodd ei gyfaddefiad blaenorol yn ôl. Yna gorchymynodd y Brenin ei ddwyn dan yr arteithiau canlynol:—"Holl ewinedd ei ddwylaw a holltwyd ac a dynwyd ymaith gan offeryn a elwir *turkas* yn yr Albaneg, ond yr hwn yn Lloegr a elwir gefail *(pincers)*; ac o dan pob ewin y gwanwyd i mewn ddwy nodwydd hyd y clopa; ond er yr holl arteithiau hyn ni wnaeth y Doctor gyfaddef un gair." Yna gosodwyd ef yn y *bootes* drachefn, lle yr arosodd am gryn amser, hyd nes y curwyd ei draed mor fân ag oedd bosibl. Ond yr oedd ei benderfyniad mor gryf, fel y parhâodd i wadu y cwbl hyd y diwedd; a'r canlyniad fu iddo gael ei lindagu, ac yna ei losgi yn ulw.

Y cyfryw oedd y poenau y darostyngid dewiniaid iddynt, a hyny am droseddau nas gallasent fod yn euog o honynt. Personau oedranus, eiddilaidd, cloffion, a deillion, y rhan amlaf, oedd y dyoddefwyr. Onid yw yn beth rhyfedd fod y diafol mor hoff o weithredu trwy offerynoliaeth y cyfryw rai? Eu dienyddwyr oeddent y doethaf, a'r anrhydeddusaf yn eu hoes; ond mewn gwirionedd nid oeddent yn rhagori fawr ar y dyoddefwyr eu hunain. Rhaid fod rhyw ddallineb rhyfeddol yn eu meddiannu, neu ni fuasent yn credu y fath ofergoelion gwaradwyddus.

IV. Sylwadau Cyffredinol.

Yr wyf wedi sylwi yn barod fod cosbedigaeth am arferu dewiniaeth wedi ei ddileu, o leiaf yn ein gwlad ni, a bod dewiniaid wedi dyfod yn brin yn ein mysg. Ond eto rhaid cyfaddef fod rhai i'w cyfarfod o bryd i bryd. Nid yw yr hiliogaeth ddewinaidd yn Cwrtycadno, ger Pumsaint, wedi peidio ag anadlu eto. Y mae yno ddewin yn awr, ac y mae llawer o bobl mor benysgafn a myned i ymgynghori âg ef. Gwir mai pobl o bell—o Swydd Faesyfed, neu ryw Swydd bellenig arall—ydynt y rhan amlaf. Nid yw pobl y gymydogaeth yn rhoddi un coel i ddewiniaid Cwrtycadno er ys amser maith, a hyny o herwydd yr amgylchiad canlynol. Darfu i un o'r dewiniaid hyn ladd mochyn a'i grogi i fyny mewn un o'i dai allan. Ar hyn canfyddodd ryw ddigrifwas fod ganddo gyfleusdra ardderchog i brofi galluoedd y dewin. Dygodd y mochyn o'r lle y gosodwyd, a chrogodd ef i fyny ar ryw goeden dewfrig gerllaw. Boreu drannoeth aethpwyd i hysbysu y dewin am ei golled, a cheisiwyd ganddo edrych ei lyfrau am y lleidr. Methodd, druan, a gwneyd hyny, a chollodd yntau ei ddylanwad ar ei gymydogion yn hollol. Mae yr hanesyn hwn yn eithaf gwir, ac y mae y goeden ar ba un y crogwyd y mochyn i'w gweled hyd y dydd heddyw.

Y mae dewiniaeth hefyd yn y ffurf o adrodd tesni yn parhâu yn bur flodeuog yn Nghymru. Galarus yw meddwl gynifer o fechgyn a merched ieuainc sydd mor ynfyd a rhoddi eu harian i hen wrachod twyllodrus, am broffesu dyweyd pa fath ŵr neu wraig, a pha nifer o blant, a fydd iddynt gael. Math o ddewiniaid yw y mwyafrif o wneuthurwyr y mân Almanacau ein gwlad, y rhai a broffesant ddyweyd pa fath dywydd fydd am y flwyddyn, a pha gyfnewidiadau a gymerant le ymhlith teyrnasoedd y byd. Nid llawer, os dim, llai ynfyd a rhyfygus yw y sawl sydd yn ymofyn â hwynt, ac yn rhoddi coel iddynt. Y fath ynfydrwydd yw meddwl y dichon un crëadur gwael ragfynegi y tywydd am flwyddyn, yr hwn nis gŵyr pa fath dywydd a fydd, na pha beth a ddygwydd iddo ei hun, am un diwrnod! Dywedodd dynes wrthyf, yr hon a ystyrir yn un synwyrol a deallgar, i ryw hen wrâch reibio hufen ei chwaer oddeutu ugain mlynedd yn ol, fel nas gallasent ei gorddi am wythnosau lawer. Y mae dewiniaeth, yn y ffurfiau hyn, yn aros eto yn ein plith.

Y mae rhyw wmbredd o ofergoelion eraill yn parhâu. Dichon nad ellir eu rhestru o dan yr enw dewiniaeth, ac yn ganlynol, eu bod allan o gylch y traethawd hwn. Eto y maent yn dwyn perthynas mor agos â dewiniaeth, fel y gellir yn briodol wneyd cyfeiriad atynt cyn terfynu. Y mae lluoedd yn Nghymru, y dyddiau hyn, yn credu fod y pïod yn brophwydi. Os y dygwydd i ddwy neu dair o honynt groesi eu llwybr, credant fod rhyw ddamwain alarus neu gilydd yn sicr o gymeryd lle. Meddylir fod ysgyfarnog yn ein croesi yn y boreu, yn arwyddo gelynes; ond yn yr hwyr, brenines y mae yn arwyddo—hyny yw, anffawd yn y boreu, a ffawd yn yr hwyr. Haerodd un ddynes wrthyf, ar ol i mi ddechreu y traethawd hwn, ddarfod iddi hi ganfod ysgyfarnog yn ei chroesi yn y boreu, ac y bu buwch iddi mewn canlyniad farw cyn yr hwyr. Os bydd i frân neu ddwy groesi ein ffordd, yr ydym yn sicr o gael taith lwyddiannus. Os dygwydd i ddyn dywallt yr halen ar y bwrdd, y mae rhyw anffawd i ddyfod arno. Dywedir i'r ofergoeledd hwn ddeilliaw oddiwrth ddarlun Leonardo da bina o'r Swper diweddaf, yn yr hwn y darlunir Judas Iscariot fel wedi dymchwelwyd yr halenai. Os bydd i'r cŵn udo yn y nos, y mae aelod o'r teulu yn sicr o farw cyn hir. Os gwisgir yr esgid chwith yn

gyntaf, y mae anffawd yn canlyn. Y mae llawer o bethau fel yna yn cael eu credu yn Nghymru y dyddiau hyn. Y mae y grediniaeth mewn canwyllau cyrff hefyd yn bur gyffredin eto, ac y mae drychiolaethau yn gwneyd eu hymddangosiad o bryd i bryd. Ond y mae ofergoelion fel hyn yn diflanu yn gyflym, ac y mae lle i gredu y byddant wedi diflanu yn hollol mewn ychydig flynyddoedd.

Dichon y dysgwylir ar un yn cyfansoddi traethawd ar ddewiniaeth, ddwyn rhesymau er gwrthbrofi honiadau dewiniaid, ac yn erbyn ymddangosiad ysbrydion yn gyffredinol yn yr oes bresennol. Gellid dwyn digon o'r cyfryw resymau; ond fy meddwl i yw, y gwna *un* y tro yn gystal â chant. Mae y ffaith fod y pethau yna yn diflanu yn gyflym o flaen dealltwriaeth ac addysg gyffredinol yr oes bresennol, yn ddigon o brawf i fy meddwl i mai ofergoelion ydynt, ac mai anwybodaeth yr oesoedd a aethant heibio oedd yr achos eu bod yn cael eu credu mor gyffredinol. Y mae yn hen ddywediad mai anwybodaeth yw mam ofergoeledd; ac yr wyf yn credu y bydd i ledaniad gwybodaeth ac addysg ar hyd y byd, daflu yr ofergoelion ag sydd wedi dylanwadu cymaint arno i ebargofiant tragywyddol.

---

# Trem ar Fyd ac Eglwys.

YN mŷd y materion gwladwriaethol—bŷd Prydain Fawr—mae yn awr yn adeg o seibiant a chryn ddystawrwydd. Gan nad oes un Senedd yn eistedd, mae yr uchelwyr a chynnrychiolwyr y bobl wedi ymwasgaru bob un i'w fan, a'r newyddiaduron yn cael trafferth fawr i hel digon o newyddion ynghyd. Ac er mwyn cyflenwi y prinder presennol, ceisir daroganu am y dyfodol. Pa fath fesur o ddiwygiad gwladol a ddygir i mewn gan y weinyddiaeth Doriaidd? Pa fath dderbyniad a gaiff hwnw gan y blaid, neu yn hytrach, gan yr amrywiol bleidiau rhyddfrydig? beth a wneir yn yr eisteddiad nesaf i'r dreth eglwys? pwy, os gorfodir y gweinidogion i encilio, a fydd y prifweinidog nesaf? Holiadau fel hyn, a llawer mwy, a ddygir ymlaen ac a atebir yn ddifrifol gan brophwydi mân ein papyrau newyddion. Cafodd Arglwydd Derby a'i gymdeithion amser da yn yr eisteddiad diweddaf, er nad oedd ei blaid wirioneddol ond ychydig mewn cymhariaeth i'r "ochr arall yn y tŷ." Yr oedd Whigiaeth wedi myned gyda y gwynt, a'r rhyddfrydwyr fel yr Hebreaid pryd nad oedd brenin arnynt, pob un yn gwneyd yr hyn oedd dda yn ei olwg ei hun; a'u hanundeb hwy oedd nerth Arglwydd Derby. Yr oedd y gweinidogion, pa fodd bynag, yn teimlo eu hunain fel yn cerdded ar farwor; yr oeddynt yn wagelog iawn yn eu dywediadau a'u gweithrediadau, ac yn dra hynaws wrth bawb o'u hamgylch. Yr oedd Derby wedi bwrw ymaith ei drahausder uchelfrydig, a Disraeli wedi colli ei ffraethineb sarhäol, ac oll yn arddangos mai eu pryder ydoedd,—pa fodd i aros mewn swydd wedi unwaith fyned iddi. Ac o'r ochr arall, yr oedd y pleidiau an-weinidogaethol yn fwynaidd iawn wrth arweinwyr y llywodraeth; yr oedd ofn etholiad cyffredinol yn pwyso arnynt megys hunllef fel nas gallent ymsymud i'w gwrthwynebu. Wel, gyda y naill beth a'r llall, mae rhai mesurau daionus wedi dyfod eleni

o law ein deddfwneuthurwyr. Dyna bwnc yr Iuddew wedi ei benderfynu o'r diwedd, a'r Barwn Rothschild wedi cymeryd ei le fel un o'r aelodau dros y Brifddinas. Mae y gyfraith oedd yn gofyn cymhwysder o ran cyfoeth a meddiannau i'r aelodau dros Loegr, Cymru, a'r Iwerddon, wedi ei dirymu—yr oedd Scotland yn rhydd yn hyny o'r blaen—trwy yr hyn yr arbedir llawer iawn o anudoniaeth, pe na byddai am ddim llesiant arall. Ond prif waith yr eisteddiad oedd rheithsgrif llywodraethiad yr India; ac erbyn hyn y mae yr hen *East India Company* wedi cyfarfod â'i ddattodiad gweithredol; ac y mae bellach ein holl daleithiau Indiaidd i gael eu llywodraethu yn uniongyrchol gan Goron Lloegr. Hyderwn fod ein llywiawdwyr wedi dysgu doethineb oddiwrth y pethau a aethant heibio yn India, fel na chamlywodraethir ei miliynau mwyach.

Dygwyddiad mawr y misoedd diweddaf oedd gosodiad i lawr bellebyr Môr y Werydd. Wedi yr holl geisio a'r methu gyda yr *Atlantic telegraph*, fe dybygasid fod yr anturiaeth fawr wedi ei dwyn i ben yn llwyddiannus o'r diwedd; ac yr oedd y cenadwriaethau trydanol yn dechre myned yn ol ac ymlaen o Lundain i Gaerefrog Newydd. Uchel oedd y llawenychiad o'r herwydd tu yma a thu hwnt i'r môr; ein câr Jonathan yn enwedig, gan ymfendigo, a grochfloeddiai â'i holl egni; yr oedd mwy na thri chwarter o'r mawl, meddai efe, yn perthyn iddo ei hun. Mae yn ymddangos mai un o'r pechodau parotaf i amgylchu Ianci yw myfïaeth neu y fôst fawr. Nid oedd yr Americiaid wedi gwneuthur un ran o'r rhaff, na dim o'r offerynau tuag at ddwyn y gwaith ymlaen; ac ni ddaeth oddiwrthynt hwy gymaint ag un ran o ddeg o'r arian oedd yn eisieu tuag at yr anturiaeth bwysig. Y mae hefyd yn brofedig erbyn hyn mai nid yn yr Unol Daleithiau y dyfeisiwyd trydaniaeth bellebrol i ddechre; canys ceir hanes am brawfgeisiau i'r perwyl hwn yn cael eu gwneyd yn Renfrew, yn Scotland, mor bell yn ol ag yn 1698. Ac yn Lloegr y dechreuwyd gwneuthur defnydd ymarferol o'r pellebyr at achosion trafnidiaeth. Ni fynem gwtogi dim o anrhydedd teilwng y Proffeswr Morse ac Americiaid celfyddgar eraill; eithr yr ydym yn ysgrifenu fel hyn oddiar weled pobl orgampus yr "Undeb" yn lladrata iddynt eu hunain yr oll agos o'r gogoniant oddiwrth y pellebyr tan-Weryddol. Ond bydded hyny fel ag y mae, pan yr oedd yr arddangosiadau ardderchog o orfoledd yn cymeryd lle yn New York, ac mewn dinasoedd eraill yn y Taleithiau Cyfunol, yr oedd ar y pryd, ysywaeth, ryw balldod wedi dygwydd ar y pellebyr ag oedd yn peri nad allesid gwneuthur un synwyr o'i hysbysiadau. Yr oedd cynhyrfiadau gweinion yn para i gael eu gwneyd ar hyd yr holl wyfr hirfaith, ond yr oedd yn anmhosibl cael brawddeg na gair oddiwrth y pellebyr mwyach. Nid oes obaith yn awr nemawr y gellir adferu y cymundeb hysbysiadol gyda y rhaff bresennol, wedi yr holl gostau yr aed iddynt mewn cysylltiad â'i gwneuthuriad a'i gosodiad. Ond yr oedd y fath amcan godidog, er y methiant am yr amser presennol, yn wir ogoneddus; ac ni orphwys celfyddyd nac anturiaeth fasnachol mwyach nes cael pellebyr rhwng America a Phrydain Fawr a weithia yn nerthol a diymmod. Yn y cyfamser, tra mae y gohebiaeth yn y dyfroedd yn dyrysu, y mae rhyw bleidiau yn America yn adnewyddu yr hen gynnygiad am deithio trwy yr awyr, a chludo y brys-genadwriaethau dros Fôr y Werydd mewn awyren; ond y mae yn rhy debyg mai curo awyr, heb godi y gwynt, yw y cwbl a wneir gyda y cais hwn. Wrth sôn am deithio awyrol, onid yw yn rhyfedd na buasai rhywrai cyn

hyn wedi gwneuthur defnydd o hen ddrychfeddwl Dr. Mason Good? Mae yn anmhosibl, medd efe, llywio awyren yn annibynol ar gyfeiriad y gwynt; ond gellid dysgu yr eryr i wneuthur yn y nefoedd uchod waith march ar y ddaear isod; chwech neu wyth o eryrod cryfion a dynent yn gyflym gyda hawsder gerbyd mawr yn yr awyr. Nid oes yn hyn ddim yn annaturiol, ebai y gŵr da a doeth hwnw; "canys holl natur gwylltfilod, ac *adar*, ac ymlusgiaid, a'r pethau yn y môr, a ddofir, ac a ddofwyd gan y natur ddynol." Gwelsom unwaith yn Llundain arddangosfa o chwanen yn llusgo cerbyd a yrid gan chwanen arall; ac fe fuasai yr un faint o ddawn a dyfal-barhâd a wastraffwyd ar y crëaduriaid bychain gwaedlyd hyny, yn gallu rheoli yr eryr mawr ysglyfaethus. Pa fodd bynag, nid nyni ein hunain, mae yn ddilys, a welsid ymysg y teithwyr cyntaf yn yr eryr-gerbyd.

Gwnaethpwyd cyfammod heddwch rhwng galluoedd cynghreiriol Prydain a Ffrainc â China. Aeth y cenadon Prydeinig a Ffrengig i fyny ar hyd afon y Peihô, ar lànau yr hon y saif Pekin, y brifddinas, a chyrhaeddasant ddinas Tiensin yn ddiwrthwynebiad. Yno yr oedd cenadon oddiwrth Ymherawdwr China wedi dyfod i'w cyfarfod, gydag awdurdod i wneuthur cyttundeb heddwch, yr hyn a gwblhäwyd ar seiliau tra boddlonol. Mae y Chineaid, meddir, i dalu i Loegr, tuag at gostau y rhyfel sydd yn awr ar ben, £3,000,000, ac i Ffrainc £1,200,000. Mae goruchwylwyr dros lywodraethau Lloegr a Ffrainc i gael trigiannu yn ninasoedd mawrion China, a chenadau gwladol yn llys Pekin; a mwy na'r cwbl, y mae rhyddid perffaith i gyhoeddi a phroffesu y grefydd Gristionogol trwy yr holl ymherodraeth. Bydd llyngesau perthynol i'r galluoedd cynghreiriol yn aros ar arfordiroedd China, i roddi dangosiad ymarferol i'r Chineaid yr edrychir am iddynt gadw eu cyfammod. Ni wiw dysgwyl i eiddigedd a rhagfarnau penaethiaid a phobl China yn erbyn Ewropëaid ddiflanu yn fuan; ac y mae elfenau terfysg heb eu hymlid ymaith o Canton; ond yr ydym yn credu y bydd y cyttundeb hwn ar fyrder yn ateb y dybenion goreu. Mae y lefain nerthol wedi ei ddodi yn y clamp toes yr hwn a lefeinia y cwbl oll yn y man; mae egwyddorion gwir ryddid ac addysg a chrefydd wedi dechreu rhoddi eu traed i lawr yn China, y rhai a'i gwnânt ryw ddydd yn "ymherodraeth nefol" mewn gwirionedd. Ond ynglŷn â hyn, rhaid i ni ddywedyd fod euogrwydd dybryd yn gorphwys ar y Llywodraeth Brydeinig am roddi gwyneb i fasnach anghyfreithlawn yr opiwm, y gwenwyn sydd yn andwyo myrddiynau o'r Chineaid truain a demtir i'w ddefnyddio. Gan y dysgwyliwn sylwadau ar y camwedd hwn yn ein rhifyn nesaf, ni chawn ond ei grybwyll fel hyna y tro hwn.

Yn Twrci y mae amgylchiadau a phethau yn parhâu yn anghysurus. Mae rhyw ysbrydiaeth gynddeiriog yn cynhyrfu Mahometaniaeth yn Twrci yn gystal âg yn India. Yn Jeddah, neu Djedah, porthladd Mecca wrth y Môr Coch, y Mahometaniaid a godasant yn ffyrnig, ac a laddasant negeseuwyr gwladol Lloegr a Ffrainc, a'u teuluoedd, gan lofruddio a chlwyfo oddeutu pump a deugain o gwbl o'r boblogaeth Gristionogol. Ac amcanasant wneuthur cyffelyb ddyhirwaith mewn lleoedd eraill. Anfonwyd i lys Constantinople, fel y gellid dysgwyl, o'r wlad hon ac o Ffrainc, am iawn am y fath gyflafan mewn ffordd o arian i deuluoedd y rhai a laddwyd, ynghyd ag eithaf cosb ar y llofruddion, yr hyn a addäwyd yn ebrwydd, ac a gyflawnwyd mewn rhan. Ond yr oedd cyfiawnder yn dyfod yn rhy araf oddiwrth y Llywodraeth Dyrciaidd gan y môrfilwyr yn llongau rhyfel

Lloegr a gyrhaeddasent hyd Jeddah. Tânbelenasant y dref am dridiau; ac erbyn hyny yr awdurdodau a grogasant un ar ddeg o'r prif-leiddiaid. Yn fuan wedi hyny, yr oedd yno fyddin o filwyr Twrci yn ymsefydlu, y rhai a weinyddasant ddial ar y lleill. Yn Smyrna, yr oedd mynach Mahometanaidd wedi dyfod yno, gan broffesu mai meddyg ydoedd, yr hwn oedd yn abl i iachâu pob math o anhwylderau. Yr oedd miloedd o'r dosbarthiadau iselaf o'r Tyrciaid yn myned ato, rhai i'w meddyginiaethu, ac eraill o gywreingarwch yn unig. Cymerai yntau fantais oddiar hyn i'w hannog a'u cyfarwyddo i ladd y Cristionogion. Prynwyd helaethrwydd o arfau tân a phylor, ac ymffrostiai rhai o'r Tyrciaid yn gyhoeddus y gwnaent ben ryw ddydd, ac fe allai yn fuan, ar yr anffyddwyr. Yn rhagluniaethol, daeth y bwriad dieflig yn wybyddus mewn pryd, ac anfonwyd y mynach yn garcharor i Constantinople. Mae y gair ar led y cafwyd allan fod bradwriaeth Fahometanaidd mewn cynlluniad i ddiorseddu y Sultan o herwydd ei fod yn caniatâu ac yn amddiffyn rhyddid y Cristionogion. Gyda hyn, y mae sefyllfa arianol y llywodraeth yn isel iawn; mae cyllid y trysorlys yn methu; ac y mae y Sultan wedi troi ymaith ei weinidogion, gan fwgwth eu dienyddio, am adael iddo ef a'i deulu wario gormod o arian. Cafodd yn ddiweddar fenthyg yn agos i dair miliwn o bunnoedd yn y wlad hon. Mae y tâl i'r benthycwyr *am* eu harian yn dda iawn tra y pery, ond mae y tâl *o'r* arian yn ammheus iawn, ebe sylwedydd craffus.

Ymddengys fod eto lawer o waith i'w wneyd cyn y llwyr ddarostyngir gwrthryfel yr India; ond y mae ein byddinoedd yn ennill goruchafiaethau yn wastadol ar y gwrthryfelwyr. Mae Arglwydd Canning yn parhâu yn ei raglawiaeth yn India, tra mae Arglwydd Ellenborough, ei gerydddwr yn y wlad hon, wedi cael ei anfon gan ei feistr Derby i dir neillduaeth.

Mae Eisteddfod "Freninol a Thaleithiol" Llangollen bellach ymysg y pethau a fu. Ymgasglodd tyrfa fawr ynghyd, ac yn eu mysg feirdd a llenorion o bob parth o Gymru, ac amryw o drefydd Lloegr. Drwg genym weled fod ein holl gylchgyhoeddiadau yn tuedddu i feio yn hytrach na chanmawl y dull y dygwyd yr eisteddfod hon ymlaen; ac fe dybygid fod ganddynt achos cyfiawn i achwyn ar yr ychydig glerigwyr a gymerasant yr holl arolygiaeth arnynt eu hunain, gan arddangos cryn draha a sarhâd tuag at foneddigion a llênorion y myn y genedl eu hanrhydeddu. Yr oedd y cais i adgyfodi hen ddefodau oesau tywyll, a'r ymwisgo mewn òd-wisgoedd, yn dangos cryn lawer o blentynrwydd meddwl, ac yn ymestyniad at hynodrwydd ar draul adeiladaeth. Paham na roddid lle i synwyr cyffredin yn nygiad ymlaen Eisteddfodau fel pethau eraill? Effeithiai hyny i fwrw ymaith y gwageddau a'r ffoleddau oedd yn anurddo Eisteddfod Llangollen. Da oedd genym glywed na chafodd "Myfyr Morganwg" ond croesawiad oeraidd i'w "gyfrinion" gan y bobl fwyaf deallgar yn yr Eisteddfod, er fod "Rhydychen a Chaergrawnt," ys dywedai ef, yn derbyn ei olygiadau. Nid y neb a ddywed mai "Barddas," ac nid y Bibl, yw safon gwirionedd, am fod "Barddas" yn hynach na'r Bibl, a deilynga nac a dderbynia gymeradwyaeth Cymry yr oes hon. Yr ydym yn hyderu yr arweinia y syniad am annhrefn neu gamdrefn yr Eisteddfod ddiweddaf, i welliant yr Eisteddfodau a gynnelir rhagllaw. Fel mai diwygiad y cynnrychiolaeth seneddol sydd yn cael ei drafod yn awr yn y papyrau Seisonig, diwygiad yr Eisteddfodau sydd yn bresennol yn un o brif bynciau y papyrau Cymreig. Mae eisieu cysylltu mwy o'r "buddiol" gyda y "cywrain" yn y sefydliadau hyn.

Gallai ein Heisteddfodwyr gael gwers ragorol gan bobl dda y Bala a'r cymydogaethau, os mynent wneuthur lles i'r wlad yn gyffredinol. Yr oedd yr Arddangosiad a gynnaliwyd yn y Bala mewn cysylltiad â Chymdeithas Diwydrwydd Penllyn, yr hon a sylfaenwyd gan ein cyfaill parchus y Proffeswr Edwards, ac a adeiladwyd gan foneddigion a phobl gyfrifol y dref a'r ardaloedd, yn arwydd er daioni i werin Cymru. Dilyned personau dylanwadol ein holl drefi a'n pentrefi yr esiampl a roed iddynt yn y Bala a Phenllyn; nis gallant wneuthur dim gwell tuag at lesâu a chodi cyflwr tymmorol y genedl.

Mor wahanol oedd y ffordd a gymerwyd yn ddiweddar gan rai o bobl fwyaf Môn [mwyaf o ran y pethau oddiallan] tuag at *ddyrchafu* y bobl! Ceisiasant yn Nghaergybi gydraddu perchenogion eneidiau anfarwol â merlynod, mulod, a moch, a'u gosod i ddringo polion seimlyd, a rhedeg mewn sachau; ac am fod plant a phobl y dref a'r wlad yn nacâu diraddio eu dynoliaeth i borthi chwerthiniad y rhai a fynent gael eu cyfrif yn foneddigion, nid oedd gan seneddwr *anrhydeddus* ddim i wneyd ond beio ar "*benboethni Ymneillduol*" am wrthwynebu y *sport!* Gresyn yn wir fod y fath gamgynnrychioliad ar Gymru yn senedd y deyrnas!

Mae cyffröad mawr y dyddiau hyn mewn cysylltiad âg Eglwys Loegr, o herwydd cael allan fod amryw o'r offeiriadon Puseyaidd wedi dwyn peth o'r un natur â'r gyffesgell Babaidd i mewn i'r Eglwys Sefydledig. Cafodd un curad ei amddifadu o'i bersoniaeth gan Esgob Llundain, am ei waith yn gofyn ac yn derbyn cyffesiadau; a chadarnhäwyd gweithrediad yr Esgob gan Archesgob Caergaint. Taenodd Esgob Rhydychen ei aden dros Berson-Gyffeswr yn ei esgobaeth ef, er cymeryd arno ei fod yn wrthwynebus i'r gyffesgell. Nid oes dim ammheuaeth fod llawer o'r clerigwyr tractaraidd er ys blynyddoedd bellach, yn argymhell ar y bobl y ddyledswydd a'r anghenrheidrwydd o gyffesu pechodau i'r offeiriad.

Y mae Cardinal Wiseman wedi bod yn ddiweddar yn ymweled â'r Iwerddon, a chael ei dderbyn gan y Pabyddion yno gyda rhwysg tywysogaidd. Amcan yr ymweliad hwn, fel y dywed ef ei hun, yw sicrhâu mwy o undeb rhwng Catholiciaid Lloegr a'r Iwerddon, fel y galler chwanegu nifer yr aelodau seneddol Pabaidd yn yr etholiad nesaf. Mae yn beth teilwng o sylw nad oedd "iechyd da y Frenines" yn cael ei gynnyg yn ŷf-destun yn y ciniawau mawrion a gynnaliwyd i groesawu y Cardinal synwyrgall hwn. Mae Eglwys Rhufain yn llygadu o ddifrif ar y wlad hon, ac ar Gymru yn gystal â Lloegr, ac nid arbedir unrhyw foddion tebygol i'w denu ymlaen at Babyddiaeth. Ar y cyffiniau hyny o Wynedd lle y mae mwyaf o Babyddion, addysg i blant y Cymry yw eu pwynt; ac y mae gormod o rieni diofal i'w cael, y rhai sydd yn rhoddi eu plant i ysgolion Pabaidd am ychydig geiniogach!

Yn Sweden, mae y cyfreithiau erlidgar oedd mewn grym wedi cael eu dirymu yn ymarferol, gan fel yr oedd gwledydd tramor yn estyn bys at y deyrnas hono o herwydd ei chaethiwed crefyddol. Ac yn Rwssia, y mae mwy o ryddid yn cael ei estyn mewn cysylltiad âg addysg ac â chrefydd, a'r Bibl yn dechre cael rhwyddrediad unwaith eto yn ei thiriogaethau llïosog ac ëang. Ymddengys fod Alexander II. yn amcanu yn onest at fod yn dadmaeth i'r milfiloedd deiliaid sydd ganddo. Bendith arno am hyny!

---

P. M. EVANS, ARGRAFFYDD, TREFFYNNON.

# Y TRAETHODYDD.

## Y CYMRY A'R IAITH SAESONEG.

UN o'r bendithion gwerthfawrocaf a gyfranwyd i ddyn gan ei Grëawdwr doeth a da ydyw iaith. Y mae yn ddigon tebyg fod pethau eraill, ar lawer o ystyriaethau, yn fwy anghenrheidiol iddo; ond prin y meddyliem fod nemawr ddim ag y mae ei gysur a'i ddefnyddioldeb yn ymddibynu yn fwy arno nag ar iaith. Y mae awyr i anadlu ynddi, ac ymborth i gynnal ei natur, yn bethau sydd yn hollol anghenrheidiol iddo; nis gall efe fyw hebddynt; y mae ymddifadiad o honynt ar fyrder yn troi yn angeuol iddo. Ond nid yw y canlyniad yna, o anghenrheidrwydd, yn dilyn amddifadrwydd o iaith, yn enwedig yn yr ystyr gyffredin a roddir i'r gair. Fe all dyn anadlu, er nas gall siarad; gall ymborthi, er nas gall lefaru; ac fe all holl alluoedd bywydol ei gyfansoddiad fod yn cyflawni eu dyledswyddau yn rheolaidd ac effeithiol, er nas gall efe fynegi i neb yr hyn a deimla sydd yn anghenrheidiol iddo gael er eu galluogi i barhâu i wneuthur hyny. Y mae y baban bychan yn medru anadlu ac ymborthi i'r graddau sydd yn ofynol iddo ef mor effeithiol âg unrhyw berson yn ei gyflawn faintioli, tra ar yr un pryd y mae ynganu y gair symlaf a hawddaf i'r diweddaf yn orchwyl rhy galed o lawer iddo.

Ond os golygir y gair yn ei ystyr gyfyngaf—yr ystyr a rydd rhai o'n harddansoddwyr iddo—yna y mae iaith yn ymddangos yn llawer mwy pwysig ac anghenrheidiol i ddyn. Y maent hwy yn galw pob osgo neu ystum ag sydd yn amlygu rhywfaint o feddwl yn iaith. Y mae y wên ddymunol, a'r cuchiad anserchog—yr ochenaid drist, a'r chwerthiniad ysgafn—y deigryn trallodus, a'r crechweniad llawen—ynghyd â phob math o lun y dichon i grëadur rhesymol ei wneyd ag a fyddo yn amlygu yn y radd leiaf ei ffolineb neu ei anfoddogrwydd, ei ddymuniad am unrhyw beth neu ei ymwrthodiad o hono—y mae y pethau hyn oll, a llawer yn ychwaneg, yn cael eu galw ganddynt hwy yn iaith. Ac os yw eu darnodiad hwy yn gywir, yna y mae iaith yn dyfod yn wir bwysig i ddyn, ymhob amgylchiad ac adeg ar ei fywyd. Y mae mor anghenrheidiol i'r baban ag ydyw i'r dyn canol oed, ac y mae y naill yn gwneuthur defnydd o honi yn gystal a'r llall. Nis gall dyn ymdaro ond am ychydig o amser yn y byd heb ei chynnorthwy. Y mae yn hollol anghenrheidiol iddo wneuthur, yn feunyddiol, ryw arddangosiad o'i anghenion a'i ddymuniadau i eraill. Y mae efe, yn ei gychwyniad, yn grëadur bychan digymhorth a disut ryfeddol. Nid oes ganddo yr amcan lleiaf pa fodd i gyflawni ei anghenrheidiau mwyaf pwysig, nac i gynnorthwyo ei hunan mewn dim. Yr oll a all efe ei wneyd tuag at ei helpu ei hun ydyw yr *amlygiadau* a rydd efe o'i anghen-

ion i eraill, dyna ydyw ei *iaith* ef. Ac y mae yn bwysig dros ben iddo, yn gymaint ag mai dyna sydd yn ei alluogi ef i dderbyn oddiar law ei ymgeleddwyr a'i noddwyr y sylw a'r cynnorthwy sydd yn ofynol tuag at ddiogelu ei gysur, ei iechyd, a'i fywyd.

Y mae manteision neillduol hefyd yn deilliaw i ddyn trwy gyfrwng iaith, yn yr ystyr gyffredin a roddir i'r gair. Y mae pawb yn gyffredinol yn cyduno gyda golwg ar hyn. Ni welsom ni yr un dyn erioed nad oedd yn rhoddi pris lled uchel ar ei allu i wneuthur ei feddwl yn hysbys i arall drwy gyfrwng geiriau neu ymadroddion. Nid bob amser, mae yn wir, y ceir ef yn amlygu yn weithredol ei ymsyniad o werth hynyma. Rhy dawedog ac esgeulus yn fynych ydyw plant dynion i ddadgan eu diolchgarwch am y trugareddau cyffredin a gyfrenir iddynt. Dygwyddiadau anghyffredin—gwyrthiau rhagluniaeth yn unig sydd yn effeithio i wneuthur hyny, gyda'r mwyafrif o lawer. Ac yn gyffelyb y mae gyda'r mater hwn. Nid yn fynych y clywir dyn yn amlygu ei syniad o werth ei allu i ymddyddan â'i gyd-ddyn; ond dyger mudan i'w wyddfod, ac nid yn hir y bydd heb i'w dosturi tuag ato dori allan. Chwi a ddeallwch yn fuan ei fod yn teimlo fod y truan yn cael ei amddifadu o drugaredd werthfawr yn ei olwg. A gwerthfawr, yn ddiau, ydyw. Y fath gysur sydd yn deilliaw i ddyn drwy gyfrwng iaith! Y fath faes o ddefnyddioldeb sydd yn ymagor o'i flaen drwy ei hofferynoldeb! Nid oes modd iddo roddi pris digonol ar y cysur a fwynha drwyddi ymhob cylch y dichon efe droi ynddo. Mor ddymunol gan ddyn o deimladau priodol ydyw y cylch teuluaidd! Y mae efe yn derbyn boddhâd dirfawr iddo ei hunan ynddo. Ond y mae llawer iawn o'r mwynhâd hwnw yn dyfod trwy gyfrwng iaith—trwy y rhyddymddyddan cyfeillgar hwnw sydd yn cymeryd lle rhwng y gwahanol aelodau â'u gilydd. Edrycher ar y rhieni yna yn chwareu gyda'u cyntafanedig, a'r bychan yn prysur barablu rhywbeth annealladwy i bawb wrthynt. Ar ganol eu chwareuaeth, dyna ymdoriad o londer a llawenydd yn cymeryd lle. Beth a ddygwyddodd i'r rhieni—pa beth a barodd hyna? Dim ond mai y fynyd yna, ynghanol ei barabliad didrefn, y clywsant y bychan gyntaf yn seinio rhyw air dealladwy iddynt. Y fath ddyddordeb sydd yn cael ei deimlo wrth ei wrando, o hyny allan, yn cymeryd i fyny y naill air ar ol y llall, nes y daw yn alluog i fynegi iddynt ei ddymuniadau mewn geiriau, ac i adrodd iddynt mewn ymadroddion trefnus ei chwedlau diniwed. Yr oeddynt yn derbyn pleser nid bychan yn wastadol gan edrych ar ei chwareuon plentynaidd, a'i driciau digrif; ond y mae y pleser hwnw yn cael ei ddirfawr ychwanegu er pan y dysgodd y bychan siarad. Nid yw hon yna ond un enghraifft fechan egwan o'r mwynhâd a ddeillia i ddyn trwy iaith, pa un bynag ai llafaredig ai ysgrifenedig a fyddo. Y mae defnyddioldeb y naill ddyn i un arall yn cael ei ychwanegu yn fawr hefyd drwy gyfrwng iaith. Ychydig iawn, o anghenrheidrwydd, a fuasai cylch gwybodaeth dyn hebddi. Buasai holl drysorau cyfoethog y meddwl dynol yn rhwym o fod yn anhysbys iddo. A phe buasai modd i ddyn gasglu ynghyd wybodaeth ëang, pa ddefnydd a allasai hòno fod iddo, heb fod ganddo allu i'w gwneuthur yn hysbys i eraill? Drwy ymgydnabyddiad â ffrwyth myfyrdodau eraill y mae y dyn yn casglu y rhan fwyaf o'r wybodaeth sydd ganddo; a thrwy gyfrwng iaith yn unig y mae hwnw yn cael ei drysori at ei wasanaeth. Y mae defnyddioldeb iaith i ddyn, fel hyn, yn eglur, a manteision lawer yn deilliaw iddodrwyddi.

Ond nid yr *un* iaith, eilwaith, sydd gan holl drigolion y byd. Er cy-

maint o wasanaeth ydyw iaith iddynt, eto ychydig o honynt mewn cymhariaeth sydd yn alluog i wneuthur defnydd o'r un iaith. Y mae cynifer o ieithoedd ar y ddaear bron ag sydd o lwythau neu genedloedd arni; y mae pob llwyth a chenedl yn meddu eu hieithoedd neu eu cangen-ieithoedd priodol eu hunain; ac felly y mae gan y Cymry eu hiaith, a hono yn iaith neillduol iddynt hwy. Nid oes yr un genedl arall yn ei harferyd. Er fod y Lydaweg, y Gaeleg, a'r Wyddelaeg, yn gangenau yn tarddu oddiar yr un gwreiddyn Celtaeg â hithau, eto y maent oll, er ys canrifoedd, i bob pwrpas ymarferol, yn ieithoedd gwahanol, oblegid nis gall y rhai a ddefnyddiant y naill gario ymlaen ynddi unrhyw ymdrafodaeth â'r rhai a ddefnyddiant y llall. Y mae y Gymraeg, gan hyny, yn iaith neillduol a pherthynol yn unig i genedl y Cymry.

Nid oes dim dadl, feddyliem ni, nad yw yr iaith Gymraeg yn un dra rhagorol—mor ragorol âg un iaith ar y ddaear. Y mae y fath gyflawnder dihysbydd o eiriau ynddi, cyfaddas i amlygu holl agweddau y meddwl, a theimladau y galon, yn holl amrywiaeth eu grymusder a'u tynerwch, ag na cheir braidd mewn unrhyw iaith arall. Y mae hyn yn ddiau yn gosod rhyw arbenigrwydd arni, ac yn ddadl gref dros ei theilyngdod a'i hawl i dderbyn coleddiad mwy arbenig nag y mae wedi gael am lawer o oesoedd. Ac yn wir, y mae yn derbyn mwy o feithriniad yn y dyddiau hyn nag a dderbyniodd braidd erioed. Ond eto, er ei bod yn iaith mor ragorol, nid yw y nifer sydd yn gwneuthur defnydd o honi ond lled ychydig. Ac nid gorchwyl anhawdd, ni a dybygem, ydyw rhoddi cyfrif am hyny. Y mae y genedl wedi bod weithian am gynifer o ganrifoedd yn genedl orchfygedig, wedi cael ei chyfyngu i gongl fechan led anhygyrch o'r wlad a fu unwaith yn feddiant cyflawn iddi hi ei hun. Yr oedd ei gwlad, o herwydd hyny, yn anffafriol i gynnydd y genedl. Yr oedd yn rhaid i liaws ymgilio yn flynyddol o blith eu bryniau genedigol i ymofyn eu cynnaliaeth yn rhywle arall. Symudai miloedd yn feunyddiol i Loegr ar hyd y canrifoedd, yn enwedig y canrifoedd diweddaraf. Yr oedd y rhai hyny yn ymgymysgu â'r Saeson, ac yn colli eu cenedlaetholdeb ynddynt hwy. Ac yn y blynyddau diweddaf, y mae y byd gorllewinol hefyd wedi llyncu cannoedd o filoedd o hiliogaeth Gomer. Yr oedd tuedd naturiol yn y symudiadau hyn i gadw y genedl fel *cenedl* yn fechan ei nifer, ac o ganlyniad, i gadw nifer y rhai a wnelent ddefnydd o'r iaith yn ychydig hefyd. Y mae cylch yr ystyriaethau yna yn rhoddi cyfrif boddhäol i ni am fychander nifer y rhai sydd yn llafaru yr iaith Gymraeg. Ond pa beth bynag ydyw yr achosion a barasant hyny—ai y rhai a nodwyd, ynte rhyw bethau eraill—y ffaith ydyw mai ychydig sydd yn siarad yr iaith Gymraeg mewn cymhariaeth i'r rhai sydd yn siarad Saesoneg. Ar yr un pryd, nid ydym yn meddwl fod y nifer wedi lleihâu. Credwn na bu, hyd yn nôd yn Nghymru ei hunan, erioed gynifer yn siarad Cymraeg ag sydd yn awr. Y mae ugeiniau o filoedd hefyd yn trigiannu mewn gwahanol barthau eraill o'r Deyrnas Gyfunol, ag ydynt yn gwneuthur mwy o ddefnydd o honi nag o un arall; ac y mae cannoedd o filoedd yn yr un agwedd tu draw i'r Werydd. Erbyn cymeryd hyn oll i ystyriaeth, gallwn yn ddibetrus ddywedyd na bu cynifer er yr oesoedd lawer yn ei siarad ag sydd yn bresennol. Nid oes arnom ni ychwaith eisieu gweled y nifer yn lleihâu. Nid hyny ydyw yr amcan sydd genym mewn golwg yn awr, ac ni ddymunem weled hyny byth yn cymeryd lle. Ond er ein bod mor

barod â neb i floeddio—"Oes y byd i'r iaith Gymraeg"—"Tra môr tra Brython"—ac i wneuthur hyny ar bob adeg briodol gyda chymaint o frwdfrydedd a zêl ag y gwnaed erioed mewn un Eisteddfod a gynnaliwyd yn ein gwlad o ddyddiau "tri chyntefigion beirdd Ynys Prydain—Plennydd, Alawn, a Gwron," hyd y dydd heddyw, pan yr agorir "Eisteddfod Fawreddog Llangollen," gyda "sain udgorn, ac yn nghanol chwareuad yr holl delynau,"—eto, er cymaint yw angerdd ein zêl, a thanbeidrwydd ein brwdfrydedd dros yr hen iaith, nid ydym, er y cwbl, yn meddwl y dymunem weled yr un Cymro yn cael ei gadw mewn anwybodaeth hollol o bob iaith ond ei iaith ei hunan. A chredwn nad oes ond ychydig o garedigion y Gymraeg y dyddiau hyn yn llawn ddigon ffol i ddymuno y fath beth. Byddai ceisio gwneyd hyny yn brawf o ynfydrwydd anobeithiol, oblegid nis gellir byth lwyddo i wneuthur hyny; a phe byddai yn bosibl bod yn llwyddiannus, credwn mai pechod ysgeler a fyddai i neb ei amcanu. Yr ydym ni yn teimlo ein bod fel cenedl wedi ymgadw yn ormodol at y Gymraeg, ac ati hi yn unig, ac y dylasem er ys talm fod yn meddu perffeithiach adnabyddiaeth o'r iaith Saesoneg; a hyderwn y bydd yr oes sydd yn codi yn dirfawr ragori yn hynyma ar un oes a fu o'i blaen.

Ond paham yr ydym yn hyderu hyny? Paham y dymunem weled ein cydgenedl yn gyffredinol yn meddu adnabyddiaeth led helaeth o'r Saesoneg, a ninnau wedi tystio ein hymlyniad mor serchog wrth y Gymraeg, a dadgan ein barn o'i rhagoroldeb mor bendant? A ddichon rhyw fanteision neillduol ddeilliaw i ni drwy hyny, ag na ddeuent yr un ffordd arall? Wel, ddarllenydd, yr ydym ni yn credu hyny, pa fodd bynag. Ystyriwn ein bod yn ein hamddifadu ein hunain, drwy ein hanwybodaeth o honi, o fanteision pwysig. Ac os bydd i tithau yn amyneddgar gydymddwyn â ni am ychydig, ni a drafferthwn ein hunain a thithau drwy nodi rhai o honynt.

Yr ydym yn credu, yn gyntaf, y deillia i ni rai manteision drwy ei dysgu *am mai hi ydyw iaith y mwyafrif dirfawr o drigolion ein gwlad.* Gŵyr pawb nas gall unrhyw beth fod yn fwy anhylaw mewn teulu neu gwmni, na bod rhai yn eu mysg yn analluog i ddeall iaith y lleill, ac i ymddyddan a dwyn ymlaen gyfeillach â hwy. Y mae hyny yn wastad yn cael ei ystyried yn rhwystr nid bychan. Y mae yn taflu oerfelgarwch ar y teulu mwyaf dyddan, ac yn achosi dyeithrwch a phellhâd rhwng rhai a fuasent, oni b'ai hyny, yn dra thebyg o ddyfod yn gyfeillion calonog. Nid ydym yn dywedyd y dylai fod felly, nac yn ammheu y dichon fod eithriadau i hyn. Ond fel yma y mae yn dygwydd yn y cyffredin. Nid ydym yn sicr ychwaith nad yw yr un peth yn cymeryd lle yn fynych rhwng cenedloedd â'u gilydd. Pwy a all ddyweyd nad yw y gwahaniaeth iaith rhwng y Cymry a'r Saeson wedi bod yn gymaint o achos o'r dyeithrwch a'r anghariad, y cenfigen a'r anghydfod, a fu rhyngddynt, ag unrhyw beth arall? Yr oedd hyna, bob amser y deuent i gydgyfarfyddiad â'u gilydd, yn rhyw ganolfur gwahaniaeth—yn rhywbeth ag oedd yn dwyn ar gôf iddynt, er eu bod yn gydaelodau o'r un cymundeb gwladol, eto mai nid yr un genedl oeddynt—yn rhywbeth ag oedd â thuedd ynddo i grëu rhyw fath o ddirmyg yn mynwes y naill, a dygasedd cyfatebol yn mynwes y llall;—ac felly yn dal yr hen deimlad drwg rhyngddynt yn barhâus yn fyw. Ac y mae yn ffaith hefyd mai ymysg y dosbarthiadau mwyaf anwybodus o'r ddwy genedl y mae y teimlad hwn yn fwyaf bywiog a grymus. Y mae y Cymry mwyaf dysgedig, y rhai sydd wedi dyfod fwyaf i gydgyfarfyddiad â'r Saeson ac â'u gweithiau, ac â'r hyn

y gellid ei alw y meddwl Seisonig, drwy eu hadnabyddiaeth o'r iaith hono, yn meddiannu teimladau o barch a hoffder i raddau tuag at y genedl. Nid ydynt hwy yn cael eu poeni gan y syniadau isel, crebachlyd, ag sydd yn poeni y dosbarth mwyaf anwybodus o'n cydgenedl. Y mae y dosbarth mwyaf dysgedig o'r Saeson eilwaith, er nad ydynt, fe allai, wedi dyfod i adnabyddiaeth o iaith y Cymry, eto wedi cael eu dyrchafu, drwy y coethder ag sydd bron yn anwahanol gysylltiedig â meddwl gwir ddysgedig, uwchlaw edrych yn ddirmygus ar un dyn, pa gymaint bynag y dichon fod y gwahaniaeth rhyngddynt. Nid dirmyg sydd yn llechu yn nghalonau dynion o'r fath yma; y maent uwchlaw pethau o'r fath hyny; ond yn hytrach awydd a dymuniad cywir a haelfrydig am weled pawb eraill yn mwynhâu yr un manteision â hwy eu hunain. Credwn pe byddai mwy o gyfathrach yn bod rhyngom â'r Saeson—pe byddem yn gyffredinol fel cenedl yn alluog i ddeall, ac i ymddyddau, ac i ymdrafod mwy â hwy yn yr iaith a ddeallant, y gwelid nad oes dim gwir achos yn bod i lawer o'r meddyliau culion sydd yn cael eu coleddu yn fynych genym tuag atynt.

Ond paham y dysgwylir i ni, tuag at ddwyn hyn oddiamgylch, ddysgu eu hiaith hwy, yn hytrach nag iddynt hwy ddysgu ein hiaith ni? Wel, yn ddiau, yr arferiad ymhob cymdeithas a chymundeb, onidê, ddarllenydd, ydyw i'r lleiafrif ymostwng i'r mwyafrif, a cheisio dynesu atynt, ac nid i'r mwyafrif roddi i fyny a dynesu at y lleiafrif. Y mae yr egwyddor yna, beth bynag, yn bleidiol i ni ddysgu y Saesoneg, a gadael iddynt hwy wneyd a fynont yngbylch dysgu y Gymraeg. Ac heblaw hyny, onid ein mantais ni a fyddai ein bod yn meddu dwy iaith—ein bod yn alluog, heb roddi o'r neilldu ein hen iaith odidog ein hunain, ar yr un pryd i gynnal i fyny gyfeillach, yn yr iaith ddealledig iddynt, â chorff lliosocaf preswylwyr ein gwlad—ein bod yn hyddysg mewn iaith ag y gallem drwyddi wneuthur ein hunain yn hysbys ymhob gwlad lle y gallai Rhagluniaeth ein harwain iddi, oblegid nad oes braidd yr un llanerch ag y dichon i ymfudwr na theithiwr fyned iddi na cheir yno rywrai yn medru ei deall, os na bydd yno Sais yn preswylio. Yr ydym ni yn credu y byddai hyn yn fantais nid bechan i ni fel cenedl; ond y mae yn fantais ag nas gallwn ei chyrhaeddyd ond drwy ddysgu iaith ein cymydogion.

Eto, credwn y byddai yn fanteisiol i ni fel cenedl ddysgu y Saesoneg, *am mai hi ydyw iaith boneddigion ein gwlad.* Nid ein pwnc ni ydyw ymholi pa un a ddylai ein boneddigion ymgydnabyddu yn fwy âg iaith y werin ai peidio. Dichon y dylent. Yr ydym yn credu fod lliaws aneirif o ffermwyr a llafurwyr Cymru wedi dyoddef gorthrwm ac anghyfiawnder tost oddiar law goruchwylwyr aml un o honynt, ac y gallesid yn hawdd ei attal pe buasai y boneddwr ei hunan yn ymgydnabyddu mwy â'r bobl. Ond yr oedd yr iaith yn y cyffredin yn rhwystr anorfod. Nis gallai efe wneuthur ymchwiliad drosto ei hun pe yr ewyllysiai; ac nis gallai y rhai gorthrymedig o herwydd yr un diffyg achub eu cam. Nid ydym mewn modd yn y byd yn dymuno cyfiawnhâu esgeulusiadau ein boneddwyr; yr ydym yn gresynu na byddai modd rywfodd roddi argraff ar eu meddyliau o'r camwri a'r anghyfiawnder dirfawr y mae eu hesgeulusdod yn achlysur o honynt. Ond nid yw hyny, eilwaith, yn un rheswm nac esgus dros y gorthrymedig. Os nad yw y boneddwr am ddysgu yr iaith Gymraeg, dysged ef y Saesoneg ynte. Os ydyw yn rhy isel gan y boneddwr ddysgu iaith y llafurwr sydd yn gweithio ar ei etifeddiaeth ef, myned y llafurwr

ynte ddysgu iaith y boneddwr—mŷned yn hyny o beth, o leiaf, fod yn gydstad â'i arglwydd. Os gwna, gall fod yn sicr na bydd hyny yn golled iddo, ond y mae yn bosibl y try yn elw pwysig. Bu felly i laweroedd cyn hyn, ac y mae yn bosibl iddi fod felly iddo yntau. A phaham na byddai felly? Pa reswm sydd dros i'r Cymry fod yn cyflawni pob budrwaith a chaledwaith ar hyd holl etifeddiaethau mawrion ein gwlad o'r bron, pan y mae yr holl swyddau esmwythaf a mwyaf anrhydeddus yn cael eu llenwi gan Saeson neu Ysgotiaid? A ydyw ein cenedl wedi ei thynghedu drwy ryw anffawd i fod yn dragywydd yn Gibeoniaid yn y wlad? A ydynt byth i fod yn ddim amgen na chymynwyr coed a gwehynwyr dwfr? Ai *barn* ydyw hyn arnom, ynte pa beth? Ië, *barn* ydyw; ond barnedigaeth yw a dynasom fel cenedl arnom ein hunain. Ein hesgeulusdra a'n difrawder ni ein hunain ydyw yr achos. Nis gallwn weled fod genym le têg i daflu y bai wrth ddrws neb arall. Byddwn bob amser, er mor siomedig y byddwn yn teimlo, ac er cymaint o ddarostyngiad ar ein balchder ydyw y ffaith, yn gorfod rhoddi rhyddid i'n cydwybodau siarad; a phan y gwnawn hyny, ddarllenydd, gallwn sicrhâu mai mewn ymadrodd Seisonig y bydd hi bob amser braidd yn gwneyd hyny, a hwnw ydyw—"*Serve us right.*" Pa fodd, mewn gwirionedd, y gallwn ddysgwyl yn amgen? Pwy a all ddysgwyl i unrhyw foneddwr ymddiried ei olud a'i eiddo i ofal a rheoleiddiad dyn a fyddai yn anwybodus o'i iaith, ac yn euwedig iaith ag yr ystyrir ei dysgu y rîs gyntaf yn ngraddfa dysgeidiaeth ymhlith y genedl ag y mae efe yn ystyried ei fod yn perthynu iddi? Yn sicr, pwy bynag a all, nid ydym yn petruso dyweyd nas gallwn ni ddysgwyl y fath beth. Hoffem ni weled y dyn a allai ymddwyn yn wahanol. Nid ydym ni yn meddwl mai o herwydd unrhyw bleidgarwch i'r Ysgotyn fel Ysgotiad y mae efe yn y cyffredin yn cael ei ddewis yn oruchwyliwr. Y mae yn rhaid fod rhywbeth arall yn dylanwadu heblaw hyny; ac y mae yn ddiammheuol mai y rhywbeth hwnw ydyw yr ymdrech a wneir yn eu plith yn gyffredinol fel cenedl i gyfaddasu eu hunain i unrhyw swyddau o ymddiried a ddichon ymagor o'u blaenau. Y mae yr ymdrechiadau hyny o'u heiddo yn ddigon adnabyddus i'r byd. Gŵyr pawb y gellir cael yn yr Ysgotland ddigon o ddynion cyfaddas o ran galluoedd, a chymhwys o ran eu gwybodaeth, i ymgymeryd âg unrhyw swyddogaethau neu orchwylion pwysig ag y gellir braidd feddwl am danynt; ac o ganlyniad y mae yn ddigon naturiol fod boneddigion y wlad yn troi eu golwg tuag yno. Nid oes ynom yr ammheuaeth leiaf nad oes yn ein gwlad ni ugeiniau a channoedd o sefyllfäoedd uchel yn cael eu llenwi gan ddyeithriaid yn unig am nad oedd Cymry i'w cael yn yr ardaloedd hyny ar y pryd ag y teimlid eu bod yn gyfaddas iddynt. Ychydig iawn oedd yn gwneuthur yr ymdrech leiaf i gyfaddasu eu hunain i'r fath bethau. Naturiol gan hyny oedd troi y golwg i rywle arall i chwilio am danynt. Yr ydym yn credu fod y fantol yn dechreu gogwyddo y dyddiau hyn yn ein ffafr. Nid ydym yn meddwl fod cymaint o gyrchu ar ddyeithriaid ag a fu. Y mae y cynhyrfiadau a fu ac sydd gydag achos addysg wedi effeithio i raddau yn ddaionus. Dechreuir dyfod i deimlo fod y Cymro mor alluog i gyflawni unrhyw swyddau o ymddiried a neb pan y byddo wedi derbyn addysg a hyfforddiant cyfaddas. Ac fe ŵyr pawb fod hyddysgedd yn yr iaith Saesoneg yn un o anhebgorolion yr hyfforddiad hwnw.

Eto, ystyriwn y byddai yn fanteisiol i ni fel cenedl ddysgu yr iaith Saesoneg *am mai hi ydyw iaith Senedd a chyfreithiau ein gwlad.* Bu adeg

pan yr oedd yr iaith Gymraeg yn iaith y llys ac yn iaith y gyfraith. Ynddi hi y byddai tywysogion yn ymgomio. Byddai holl orchymynion y penadur yn cael eu cyhoeddi y dyddiau hyny mewn "Cymraeg glân gloew" ddilediaeth. Adeg ogoneddus oedd yr adeg hono. Y mae calon pob gwir wladgarwr yn dychlamu wrth feddwl am dani. Mor hyfryd a fuasai ganddo weled y fath adeg eto ar ein gwlad, pan y byddai yr hen iaith yn derbyn y fath sylw, ac yn y fath fri ac anrhydedd. Ond y mae llawer blwyddyn hirfaith—onid oes?—wedi treiglo dros Gymru er pan y bu pethau yn yr agwedd hono o'i mewn. Ac y mae yn ddigon tebyg fod y dyddiau braf hyny wedi myned heibio am byth. Yr hyn a fu a ddarfu, ac ni waeth heb gwyno mor llawer yn eu cylch bellach. Y mae yr amserau wedi newid arnom, ac amgylchiadau yr un modd. Llawer gwell i ni, gan hyny, a fyddai ymfoddloni i'r drefn ag sydd. Er mor groes ydyw i'n dychymyg ni, hwyrach, ar y cyfan, mai hi sydd yn cyfateb oreu i amgylchiadau yr amserau presennol. Pe buasai yr hen drefn mewn bodolaeth eto, nid ydym yn sicr nad allasai fod yn llawn cymaint o rwystr i'n llwyddiant cenedlaethol ag a allasai fod er daioni i ni. Pa fodd bynag am hyny, y mae yn lled debyg mai fel y mae y rhaid iddi fod bellach. Nid oes ond gobaith gwan y gwelir genym Senedd Gymreig mwyach. Tra y mae yr Iwerddon ac Ysgotland wedi rhoddi eu hawliau yn y cyfeiriad hwnw i fyny —tra y maent hwy wedi ildio i roddi eu seneddau o'r naill du, ac ymostwng i gymeryd eu llywodraethu gan senedd unedig pedair prif dalaeth y Deyrnas Gyfunol, nid yw yn debyg y gwrandewid ar ein cais ni, ac y trosglwyddid yr hen hawliau a'r breintiau yn ol, wedi i ni fod yn amddifad o honynt am gynifer o ganrifoedd. Ac y mae yn ddigon tebyg mai yr un mor anobeithiol bron ydyw i ni gael cyfreithiau y wladwriaeth hefyd yn ein hiaith. Y mae hyny, ar lawer o gyfrifon, yn beth digon dymunol, ac fe allai, yn beth digon cyfiawn; ond nid yw yn debyg y ceir ef oddiamgylch byth. Yn wir, pe dechreuesid ar y gorchwyl o'u cyfieithu, yn oes pwy, tybed, y cawsai ei orphen? Os elid ynghyd â'r gwaith o wneuthur argraffiad cyflawn a theg o'r rhai sydd mewn grym yn awr—ac heb hyny ni byddai o un gwerth i ni eu cael—ac os byddent yn yr amser dyfodol yn cael eu cyfansoddi, eu pasio, a'u gosod mewn grym wrth yr ugeiniau a'r cannoedd yn flynyddol, fel y gwneir yn awr—yn ddiau, rhy fyr a fyddai oes Methusalem i'w cyfieithu, ac y mae yn ammheus a ddygid yr argraffiad allan cyn diwedd y mil blynyddoedd, a gadael i'r adeg ogoneddus hono hefyd oedi dyfod cyhyd ag y mynai y prophwyd mwyaf hirwyntog a fagwyd erioed iddi aros. Ac wedi y cyfan oll—yr holl lafur a'r lludded, yr oedi a'r dysgwyl—nid rhyw lawer o werth, fe allai, a fuasai i ni. Gyda'r holl ailadroddiadau sydd yn ein cyfreithiau, a'r brawddegau a'r dull-ymadroddion sydd yn eu llenwi, cwbl anghydweddol â theithi a dullwedd y Gymraeg, buasent lawn mor ddealladwy i ni pe cawsent eu cyfieithu at ein gwasanaeth i'r Lladin. Ac yn lle poeni ein penau gyda rhyw amcanion a breuddwydion o'r fath hyn—breuddwydion ag y mae llawer breuddwydiwr yn ein gwlad wedi bod yn ddyfal yn eu coleddu, yn eu hysbysu, ac yn ymdrechu eu deongli i ni—onid oes yn ein cyrhaedd yn awr ffordd dra effeithiol i ddyfod dros yr anhawsder yn rhwydd a hawdd, ac mewn ychydig iawn o amser hefyd? Y cyfan sydd yn eisieu i agor y drws ac i roddi i ni fynedfa helaeth i mewn i'r pethau hyn ydyw adnabyddiaeth o'r iaith ag yr ymdrechwn ddangos y dymunoldeb o'i dysgu.

Na feddylied neb fod arnom ni eisieu i'n cydgenedl beidio talu sylw i weithrediadau ein seneddwyr wrth ysgrifenu fel yr ydym yn gwneyd. Yn hytrach, yr ydym yn awyddus am iddynt dalu llawer mwy o sylw, a hyny yn fwy manwl, trylwyr, ac effeithiol, nag y maent yn gwneuthur yn awr. Nid gormod, ond rhy fach, o sylw gwirioneddol sydd yn cael ei dalu genym. Pe talem fwy o sylw, nis gallwn gredu y beiddiai ein cynnrychiolwyr ymddwyn yn aml fel y maent yn gwneyd. Ni ddylem mewn un modd adael i'r un pwnc ddyfod o flaen Tŷ y Cyffredin heb wneuthur sylw o ymddygiad ein cynnrychiolwyr tuag ato. Pa beth yw yr achos mai y boneddigion a anfonir yno o Gymru yw y rhai mwyaf tawedog, mwyaf diddylanwad, a mwyaf diwerth, at eu gilydd, o'r holl foneddigion a anrhydeddir âg eisteddle ar feinciau y Senedd-dŷ? Pa beth yw yr achos eu bod yn ddiarebol drwy y deyrnas fel y rhai sydd fynychaf yn absennol oddiyno? A phaham o bawb y maent hwy bob amser fel corff yn pleidleisio ar bob cwestiwn pwysig yn hollol groes i ewyllys, barn, a theimlad pedwar ar bymtheg o bob ugain o'r rhai y maent mewn enw yn proffesu eu cynnrychioli? Pe byddem ni fel cenedl yn talu sylw gwirioneddol a dyladwy i weithrediadau seneddol, a ydyw yn debygol mai fel hyn y buasai pethau yn bod? Nid ydym yn credu. Fe ŵyr y boneddigion hyny hyn yn dda. Gwyddant yn burion nas gwaeth iddynt ymddwyn felly mwy na rhyw ddull arall—nad oes un perygl yn debyg o ddyfod iddynt drwy hyny. Pe buasent dan orfod yn awr ac yn y man o roddi adroddiad o'u gweithrediadau i'r rhai a gynnrychiolant, hwy a gymerent yn ddiau fwy o ofal pa fodd yr ymddygent. A phaham nas gelwir arnynt yn amlach i wneyd hyny? Pa reswm eu gadael o'r naill etholiad i'r llall heb unwaith wneyd sylw o honynt hwy nac o'u hymddygiadau. Os nad ymddygant yn deilwng o'r ymddiriedaeth a roddir ynddynt, dylid yn benodol eu galw i gyfrif. Y mae cyfiawnder atom ni ein hunain, at ein buddiannau, ac at iawnderau dynoliaeth yn gyffredinol, yn galw yn uchel am hyny. Y mae yr ymddiriedaeth yn rhy bwysig i adael i'r dull y cyflawnir hi basio yn ddisylw. Ac onid i'n cynnrychioli yno yr anfonir hwy i'r senedd; ac os cynnrychiolwyr a anfonir genym, *cynnrychioli* ydyw eu dyledswydd. Y mae pob synwyr yn dywéyd hyny wrthym ni. Amlwg ydyw, gan hyny, os bydd eu barnau personol hwy ar unrhyw fater a ddygir ger bron yn anghyduno âg eiddo y rhai a gynnrychiolant, y dylent ateb am hyny iddynt. A dyledswydd arbenig yr etholwyr ydyw eu gorfodi i wneuthur hyny. Ddarllenydd, dyma ni yn berffaith ddifeddwl wedi myned ar ein huniongyrth i ganol politiciaeth y dydd, ac wedi rhyw hanner fyned yn ddoniol wrth eu trin; ond peth anhawdd ydyw i ddyn gyffwrdd â'i ddolur heb ymollwng i siarad mwy yn ei gylch nag a fuasai yn anghenrheidiol—y mae hyny yn esmwythdra iddo, os nad yn iechyd i'w ysbryd; felly yr ydym ni yn teimlo, pa fodd bynag. Ond y pwnc ydyw, pa fodd y gall y mwyafrif o etholwyr Cymru wneuthur yr hyn a geisiwn? Y maent yn ddiffygiol yn y cyffredin o'r cymhwysder cyntaf. Y mae yn anmhosibl iddynt wneuthur hyny yn effeithiol heb fod yn dra hysbys o iaith y senedd a'r seneddwr. Gwelsom lawer etholwr call a dawnus, a fuasai yn alluog i roddi gwers i'w gynnrychiolwyr nad anghofiasai mo honi yn ystod un senedd-dymmor o leiaf, â'i lygad yn fflachio gan angerdd y tân oedd yn llosgi o'i fewn, heb allu i'w ollwng allan. Yno y safai yn fud, heb fedru dywedyd gair drosto ei hun, na gwneuthur i'r llall deimlo dim oddiwrtho. Buom yn tosturio o waelod ein calon wrth weled

y fath olygfa. Teimlem ar y … …meddwl a deimla wrth wrth y Gymraeg, ac na fuasen… …nt a'i drafferth. Y byddiaeth o'r Saesoneg yn ymdd… …iad, y mae ei fawr nag arferol i ni; a gorfodid ni i… …yr unig byddiaeth o honi yn berffaith angh… …hrif briodol ac yn deilwng ein dyledswydd… ei bod yn iaith senedd a chyfraith ein …

Eto, ni a ddylem fod yn hyddysg yn y… *llysoedd cyfreithiol ein gwlad.* Nid yn … iau yn cael eu cyfansoddi, eu hysgrifenu, a'u… y maent yn cael eu gweinyddu. Y mae ein p… nid oes ond nifer fechan iawn o'r dadleuwyr c… …ai yr iaith Gymraeg. Yn y Saesoneg y mae yr holl… …dwyn ymlaen—y tystion yn cael eu holi, y gyfraith yn ca… , y rheithwyr yn cael eu hanerch, a'r ddedfryd yn cael ei … Ac eto, fe welwyd laweroedd o weithiau ddeuddeg o ddynion yn… …oedd yn rheithwyr ar yr achos nad oedd prin ddau neu dri o honynt o bellaf yn deall gair o'r cwbl oedd yn myned ymlaen! Pa fodd y dichon i lysoedd o'r fath hyn fod yn llysoedd barn na chyfiawnder? Barn! os bu hi erioed o'u mewn, mewn amgylchiadau fel hyn, yn ddiau, "hi a droed yn ei hol" i'r drws. Cyfiawnder! os bydd ef yn arfer ymweled â llysoedd y gyfraith ambell dro, yr ydym yn ofni ei fod yn fynychaf yn "sefyll o hirbell" ynddynt yn Nghymru. Nid yw yn bosibl i farn na chyfiawnder gael lle i weithredu, na chyfraith na throseddwr cyhuddedig dderbyn chwareu teg, o dan y fath amgylchiadau. Y mae yn eglur fod y cyfan yn dibynu ar syniad neu fympwy rhyw un neu ddau; ac felly, dyna un o egwyddorion mwyaf pwysig a gwerthfawr llysoedd cyfraith ein gwlad—yr hyn sydd yn rhoi eu gogoniant iddynt, ac yn eu dyrchafu goruwch yr eiddo unrhyw wlad arall o dan dywyniad haul—yn myned yn gwbl ofer, ac yn rhywbeth gwaeth na hyny yn aml. Buasai cyfiawnder yn llawer tebycach o gael ei weinyddu drwy i'r Barnydd ei hunan roddi y rheithfarn yn eu lle, nag a ellir ddysgwyl mewn amgylchiadau o'r fath hyn. "Damwain ddall" ydyw y cyfan yn y modd yma. Ac mewn brawdlys diweddar yn Môn, fe ganfyddwyd yn ystod y prawf nad oedd cymaint ag un o'r rheithwyr yn alluog i ddeall Saesoneg, ac o herwydd hyny fe ganiatäodd y Barnwr i'r Dadleuydd enwog o Drawsfynydd yn Meirion eu hanerch ar ran y carcharor yn Gymraeg; ac efe a wnaeth hyny, meddir, yn rymus a hyawdl, er mai y tro cyntaf ydoedd iddo siarad yn iaith ei fam mewn llys barn. Yr ydym ni yn teimlo fod cryn anhawsdra, fel y nodwyd, i gael y gyfraith yn y Gymraeg, ond nis gallwn weled fod yr un anhawsderau yn bod i'w gweinyddu ynddi. Y mae Cymry ymysg y frawdoliaeth gyfreithiol digon galluog i eistedd yn farnwyr ar unrhyw fater a ddygir ger bron brawdlysoedd ein gwlad ni, a chyfreithwyr digon galluog i ddadleu yr achosion yn y Gymraeg. Ac fe ŵyr pawb na fyddai yn orchwyl mor anhawdd iddynt esbonio y gyfraith yn ein hiaith tra y byddai y copi gwreiddiol o'u blaen i apelio ato. Ni a glywsom hyny yn cael ei wneyd i raddau yn y Llysoedd Sirol, ac nis gallwn weled paham nas gellid gwneuthur hyny ar radd ëangach yn ein huwchlysoedd. Ond os teimlid fod rhyw anhawsderau i ddwyn hyn oddiamgylch yn effeithiol, ac y mae yn bosibl fod, hyd nes y byddo i gryn gyfnewidiad a diwygiad gymeryd lle yn nghyfansoddiad llysoedd cyfreithiol ein gwlad, nid oes

un achos i ni anobeithio. Os ydym yn awr yn dyoddef cam ac anhegwch, y mae y feddyginiaeth yn gwbl yn ein dwylaw ni ein hunain. Wrth i ni ddysgu y Saesoneg, a pherffeithio ein hunain ynddi, y mae yr holl ddyryswch a'r anhawsderau yn cilio ymaith. Byddwn o hyny allan yn ein gosod ein hunain ar yr un tir â'r Sais ei hun, a byddai rheithwyr Cymru wedi hyny ar dir mor fanteisiol ag unrhyw reithwyr yn y deyrnas. Ystyriwn fod hyny yn fanteision na ddylid eu dibrisio, ond yn hytrach y dylem ymhob modd wneyd a allom i'w cyrhaeddyd.

Eto, byddai dysgu yr iaith Saesoneg yn ddymunol i ni *am ei bod yn iaith gyffredinol masnach.* Y mae y deyrnas hon mewn modd arbenig yn wlad fasnachol,—yn llawer mwy felly nag un wlad arall ar y ddaear. Oni bae am hyny ni buasai hi ond teyrnas fechan a disylw. Nid oes ond ychydig o adnoddau ynddi âg a'i gwnelai yn annibynol a hunangynnaliol. Ei masnach ydyw ei nerth. Dyma lle y gwreiddia ei henwogrwydd, ei dylanwad, a'i mawredd. Rhodder attalfa ar ei masnach, a buan y sychir i fyny fêr ei hesgyrn, ac y gwelir gwywdra a phenwyni yn ymdaenu drosti; ac os rywfodd y gellir rhoddi cynhyrfiad ac adfywiad i'w masnach, buan yr ymsytha, yr ymlona, ac yr ymiachâ drwyddi. Y mae ei masnach, gan hyny, yn wir bwysig i Brydain, ac y mae pob peth a rwyddhâ y ffordd i'w chario ymlaen yn y dull mwyaf bywiog ac effeithiol, yn wir ddymunol. A hyfryd ydyw gweled fod ein pendefigion a'n huchelwyr yn dyfod i deimlo y pwysigrwydd a'r dymunoldeb o hyn, ac yn y blynyddau diweddaf wedi symud aml rwystr oddiar y ffordd. Ond nid oes a fynom ni yn awr a nodi y rhwystrau gwleidyddol i rwyddineb a llwyddiant masnachol, er fod yn ddiammheuol fod llawer eto yn aros. Ond ni a drown ein golwg yn fwy penodol i Gymru, ac nis gallwn lai na theimlo ei bod ymhell yn ol o ran ei masnach ragor yr hyn y dylai fod wrth ystyried ei chyfleusderau aml a'i hadnoddau dirfawr. Nid yw ein masnach ni fel cenedl braidd yn teilyngu sylw. Nid oes ynom, mewn gwirionedd, ddim ysbryd masnachol yn preswylio. Gydag ychydig iawn o eithriadau, estroniaid ydyw prif anturiaethwyr masnachol y Dywysogaeth. Rhaid fod rhywbeth yn achos o hyn. Byddwn weithiau yn cael ein temtio i roddi y bai ar ein hiaith yn gymaint ag ar ddim arall. Y mae ei chylch hi mor gyfyng a neillduol, nes y mae o angheurheidrwydd yn cadw y Cymro unieithog o fewn terfynau penodol,—terfynau ag y mae efe yn hollol analluog i'w helaethu a'u hëangu. Rhaid iddo ymgadw ar hyd ei oes mewn rhyw neillduolrwydd gwledig. Ni faidd ymdori allan i gyhoeddusrwydd mawr a chyffredinol fel anturiaethwr na masnachwr, neu y mae efe yn y fan yn cael teimlo ei anallu a'i anghymhwysder, ac yn gorfod ymddiried i eraill yr hyn y dylasai ei wneuthur ei hunan, er sicrhâu ei lwyddiant yn y byd. Ac yn wir, os cyfynga efe ei hunan yn gwbl yn ei anturiaethau i Gymru, efe a deimla yn fuan nas gall, hyd yn nôd yma, gario ymlaen unrhyw fasnach yn effeithiol heb gynnorthwy yr iaith Saesoneg. Y mae yr hwn a amcano hyny yn cyfarfod yn ddibaid âg anhawsderau mawrion. Oddigerth mewn cymoedd hollol wledig ac anghyhoedd, y mae lliaws o'r rhai y rhaid dibynu arnynt fel prynwyr yn analluog i wneuthur defnydd o'r Gymraeg. Ac yn y dyddiau hyn o gynniweirio ac ymbleseru, anaml y ceir na phentref na chwm, yn enwedig yn misoedd yr haf, nad oes dyeithriaid yn ymweled âg ef, ac yn y cyffredin bydd arnynt anghen am ryw nwyddau er eu cynnaliaeth a'u cysur. Ond ow! y truan —y fath drafferth a helbul y mae y Cymro uniaith ynddi wrth geisio dwyn

ymlaen ei fasnach gyda'r fath rai; a'r fath boen meddwl a deimla wrth weled y difyrwch a fwynhâ llawer yn ychwanegu ei helynt a'i drafferth. Y mae yn teimlo ei anfanteision yn feunyddiol, ac mewn canlyniad, y mae ei ysbryd yn cael ei lethu, a'i yni masnachol yn pallu. Ac nid dyna yr unig olwg a ellir gael ar ei anfanteision. Nid all efe ychwaith ymweled â phrif farchnadoedd y deyrnas, a phrynu y nwyddau pwrpasol ganddo wrth ei farn a golwg ei lygad ei hun. Rhaid iddo ef foddloni yn hollol i brynu gan y teithiwr a ddelo oddiamgylch, a derbyn opiniŵn hwnw am werth y nwydd a'i bris. Y mae efe felly yn gyffredin yn cael ei ddiwallu â nwyddau gwaelach, ac ar yr un pryd yn gorfod talu llawer mwy am dano na'i gymydog sydd yn abl i fyned i'r marchnadoedd goreu ei hunan; ac eto y mae yn rhaid iddo werthu am yr un bris â hwnw wedi hyny, neu ynte foddloni i'w fasnach gilio oddiwrtho. Y mae efe drwy hyny, nid yn unig yn dyoddef anghyfleusdra, ond yn derbyn colledion hefyd. Y mae llawer o fasnachwyr ein trefi mawrion fel hyn yn myned yn foneddigion ar draul masnachwyr gwledig—yn ymgyfoethogi ar draul ein hanwybodaeth o'r Saesoneg. Dywedir fod masnachwyr Bristol yn gwneuthur eu hunain yn dywysogion ar draul anwybodaeth masnachwyr bychain y Deheudir. Dichon fod gwŷr Liverpool a Manchester yn gwneuthur yr un peth, peth, lawer o honynt o leiaf, ar draul y Gogledd. Y mae hyn yn ddiau yn resyn dirfawr. Y mae ein hen wlad yn ddigon tlawd heb gael ei thlodi mewn dull fel hyn. Y mae hi yn cael ei chadw yn ormod yn y cysgod ac o dan draed, heb ddyoddef ei hyspeilio yn ychwanegol at hyny. Ond y mae yn ddigon tebyg mai fel hyn yr ymddygir tuag ati, o leiaf cynifer o'i masnachwyr ag a fyddo yn unieithog, hyd nes y daw ein cenedl i weled y fantais a ddeillia iddynt o ymgydnabyddu yn fwy â'r Saesoneg. hi mewn modd arbenig yn iaith fasnachol. Nid yw y Gymraeg felly mewn un modd, ac nid yw yn debygol yn awr y daw hi byth. Y mae ëangder cylch y llall, a'r arferiad cyffredinol a wneir o honi, ymhob parth yn gystal ag yn y deyrnas hon, yn peri nad oes ond gobaith gwan i neb ymgodi i safle uchel yn y byd fel anturiaethwyr masnachol heb feddu adnabyddiaeth helaeth o honi.

Ond y mae adnabyddiaeth helaeth o'r Saesoneg yn dra manteisiol i'n cenedl *o herwydd ei llênyddiaeth ëang a gwerthfawr.* Y mae hon, yn ein tyb ni, yn fantais bwysig iawn, ac yn gorbwyso pob mantais arall a nodasom. Pe buasai y lleill oll yn troi yn anfanteision i ni, ystyriasem hon yn ddigon o iawn am hyny. Ond y mae yn fantais er hyny ag y mae corff ein cenedl yn cael eu hollol amddifadu o honi. Na thybied neb ein bod yn awgrymu nad oes genym weithiau llênyddol gwerthfawr yn ein hiaith ein hunain. Gwyddom yn amgen. Ni fynem mewn un modd siarad yn isel am danynt; a phe gwnelem, y cwbl a ddangosid drwy hyny a fyddai ein dylni a'n hanwybodaeth ni, ac nid eu gwaeledd a'u hiselder hwy. A phwy ydym ni i siarad yn ddirmygus am drysorau llênyddol y Cymry, tra y mae prif ddysgedigion Ewrop yn ymdrafferthu i ddysgu yr iaith er mwyn dyfod yn feddiannol arnynt? Gresyn na fyddent yn fwy adnabyddus, ac yn fwy yn nghyrhaedd y lliaws—byddent yn sicr o gael eu gwerthfawrogi yn fwy mewn canlyniad. Ond nid ydym er hyny yn meddwl fod pob llyfr rhagorol i'w gael yn y Gymraeg, ac fod pob peth ag sydd i'w wybod i'w gael yn ein llênyddiaeth ni. Yr ydym yn gyfoethog mewn llênyddiaeth henafol, ond yr ydym mewn cymhariaeth yn dlawd mewn llên-

yddiaeth ddiweddar. Nid oes genym ond ychydig o lyfrau ar wahanol gangenau cyffredinol gwybodaeth; a'r rhai sydd genym nid ydynt braidd yn deilwng o sylw. Prin y cyrhaeddant y trydydd dosbarth. Nid oes genym gymaint ag un llyfr diweddar ag y gellir edrych arno yn safon ar unrhyw gangen o wybodaeth. Ac y mae yn anhawdd iawn i ni eu cael, nid am nad oes genym ddynion digon galluog a digon dysgedig i'w hysgrifenu—nid am na fyddai eu gweithiau yn deilwng o'u cystadlu âg eiddo goreuon y deyrnas—ond am fod cylch lledaniad llyfrau Cymreig mor gyfyng fel nas gallai un Cyhoeddwr anturio rhoddi iddynt gydnabyddiaeth deilwng am eu llafur, heb fod yn golledwr dirfawr ei hunan. Y mae yn wahanol iawn gyda'r Saesoneg. Y mae hi yn cael ei siarad a'i darllen gan gynifer o filiynau, fel y mae braidd bob llyfr ellid ei gyhoeddi yn sicr o daro chwaeth rhyw ddosbarth, a hwnw o bosibl hefyd yn ddosbarth llïosog, fel mai y peth nesaf i syndod yw i neb fod yn golledwr mewn unrhyw anturiaeth o'r fath. Y mae hyny yn naturiol yn peri fod cylch ei llênyddiaeth yn ëang iawn,—yn cymeryd i mewn bob cangen o wybodaeth y gellir meddwl am dani. Mae yn wir nad yw y cyfan sydd ganddi yn gampus nac yn dda. Ymhlith cynifer o filoedd o lyfrau, nis gellid dysgwyl y fath beth. Y mae ynddi wehilion lawer; ond nid gwehilion ydyw y cwbl. Er fod ynddi lawer o us, y mae ynddi lawer o wenith pur a gwerthfawr hefyd. Y mae ynddi lyfrau o'r dosbarth blaenaf i'w cael mewn cyflawnder ar bob mater bron y gellid meddwl am dano. Y mae pencampwyr y byd ymhob gwybodaeth a chelfyddyd wedi cyflwyno ffrwyth eu myfyrdodau i'r byd drwyddi. Y mae seryddwyr, daearyddwyr, a daearegwyr—celfyddydwyr, athronwyr, a duwinyddion, mor alluog ag a fagwyd ymhlith un genedl wedi cyfodi yn y deyrnas hon, ac wedi trysori cyfoeth eu meddyliau yn nghadw yn yr iaith Saesoneg. Ac y mae gweithiau awduron rhagoraf pob gwlad arall yn cael eu cyfieithu a'u cyhoeddi ynddi. Y mae prif lyfrau gwerthfawrocaf Ffrainc a'r Almaen mor gyffredin yn Lloegr ag ydyw gweithiau y Saeson eu hunain. Y mae llênyddiaeth Seisonig fel hyn yn ëang a gwerthfawr, ac yn barhâus yn ychwanegu yn ei gwerth hefyd. Ac er fod mwy o fywiogrwydd ac o ysbryd yn bod yn awr yn llênyddiaeth Cymru, a'i bod yn rhagori yn fawr ar yr hyn a fu, ac yn ëangu ei thir ryw gymaint yn barhâus, eto y mae yn anmhosibl iddi ddyfod yn gyfartal i eiddo ein cymydogion. Y mae o bwys i ni gan hyny wneuthur cymaint ag sydd yn ddichonadwy tuag at rwyddhâu y ffordd i ni allu gwneuthur defnydd o'u heiddo hwy, a throi atynt am gynnorthwy yn yr hyn yr ydym ni yn ddiffygiol. Y mae yn annichonadwy i'r Cymro uniaith wneuthur hyny, ac y mae drwy hyny yn derbyn colled anmhrisiadwy. Ni fynai gwŷr galluocaf a dysgedicaf ein gwlad er dim fod yn anhysbys o gynnwys llïaws o'r llyfrau sydd wedi eu cyhoeddi yno, ac sydd hefyd yn cael eu dwyn allan yno yn feunyddiol. Y maent hwy yn gallu eu gwerthfawrogi, ac yn rhoddi pris uchel ar y trysorau sydd ynddynt. Ac os ydynt yn werthfawr, ac yn anhebgorol werthfawr iddynt hwy, y mae yn sicr y byddent felly i bawb. Y mae yn eglur, gan hyny, y byddai yn fanteisiol iawn i ni yn gyffredinol fel cenedl ddyfod i fwy o adnabyddiaeth o'r Saesoneg yn y golygiad hwn yn arbenig.

Yr ydym yn awr, ddarllenydd, yn myned i roddi ein hysgrifell o'r neilldu. Hyderwn ein bod wedi dywedyd digon i ddangos fod manteision nid ychydig i'w cael drwy ddysgu yr iaith Saesoneg,—manteision ag y mae yn dra anhawdd i ni fel cenedl ddyfod yn feddiannol arnynt yr un ffordd arall. Y

mae gan rieni plant fanteision nodedig i ddwyn mater ein herthygl i ymarferiad. Y mae ymddiriedaeth wedi cael ei rhoi iddynt gan y Goruchaf, ac y mae yn ddyledswydd arnynt gyflawni yr ymddiriedaeth hono yn y modd mwyaf effeithiol. Dylent wneuthur pob peth yn eu gallu i osod eu plant i gychwyn yn deg yrfa bywyd ar y ddaear, a rhoddi yn eu dwylaw y moddion priodol a chymhwys i weithio eu ffordd ymlaen yn llwyddiannus. Y mae y llanc ieuanc sydd yn cael ei ddwyn i fyny mewn anwybodaeth ymarferol o'r iaith Saesoneg yn cael ei osod o dan anfanteision dirfawr—anfanteision nad oes un o bob ugain yn meddu digon o wroldeb i'w gorchfygu—ac anfanteision a fyddant, mae yn lled debyg, yn attalfa i'w lwyddiant yn y byd, ac i'w defnyddioldeb yn ei oes. Dylai rhieni, yn enwedig yn y dyddiau yma, roddi pob cefnogaeth a mantais i'w plant yn hyn, pan y mae cyfleusderau i hyny mor gyffredin; ac nid yw yn bosibl eu hesgusodi os difater a difraw a fyddant gyda'r gorchwyl hwn. A'r gwŷr ieuainc hyny a esgeuluswyd i raddau yn moreu eu hoes—y rhai na chawsant fanteision i wneyd eu hunain yn hyddysg yn y Saesoneg—ond sydd yn ymdrechu o dan lawer o anfanteision i gyflenwi eu meddyliau â phob gwybodaeth fuddiol, càn belled ag y goddef eu hamgylchiadau a therfynau cyfyng llênyddiaeth Gymreig—ac y mae yn dda genym feddwl fod amryw o'r rhai hyn o nifer ein darllenwyr,—dymunem ymhob modd ar iddynt gymeryd ein nodiadau i ystyriaeth; a gwyddom ond iddynt unwaith gael eu hargyhoeddi, ac unwaith wneyd eu meddyliau i fyny ar y mater, mai nid hir y saif yr anfantais yma ar eu ffordd—fod ganddynt ddigon o benderfyniad i gario eu bwriadau i fuddugoliaeth. Rhwydd hynt iddynt. Bydd yn fantais nid bechan iddynt, ac yn ffynnonell o gysur, o bleser, o hyfrydwch, ac o ddefnyddioldeb mawr iddynt hwy eu hunain, ac i'w gwlad a'u cenedl mewn canlyniad.

---

# GEORGE HEYCOCK A'I AMSERAU.

CYMERIADAU mawr sydd yn cyfansoddi tu dalenau hanesyddiaeth. Hwynthwy sydd yn rhoddi genedigaeth a bodolaeth i amgylchiadau mawrion a rhyfeddol; canys wrth ddarllen hanes y *dyn*, rhaid i ni ddarllen hefyd am yr hyn a wnaeth efe, ynghyd a'r canlyniadau o hyny. Felly, y mae amser byr, ïe, oes o ychydig o flynyddoedd, yn esgor ar bethau mawrion, ac yn fynych yn effeithio ar holl oesoedd y byd. Y mae yn anmhosibl, chwi welwch, dyweyd nemawr am y dyn, heb fyned at y gweithredoedd a wnaeth efe. Os sonir am Syr Isaac Newton, ëir at gyfnod newydd a phwysig mewn astronomyddiaeth; ac os am Johnston, nodir ef allan yn dysgleirio yn nghanol mŵg a thân, yr hwn sydd yn gosod y byd i fyned mewn brys mwy nag arferol, fel pe byddai am gyrhaedd pen ei daith yn gynt na'r amcan dechreuol. Nid oes neb yn siarad llawer am Milton heb fyned

at *Paradise Lost*, 'nac am Oliver Cromwell heb fyned at y *Commonwealth.* Chwi glywsoch am y Doctor Owen, ond yn benaf mewn cysylltiad â'i weithiau duwinyddol; am Whitfield mewn cysylltiad â'i bregethu rhyfeddol; ac am Harri o Exeter fel trawslywodraethwr ucheleglwysaidd ac aflonyddwr heddwch yr enwad y perthyna iddo. Yr ydych yn adwaen Duw wrth ei waith; a dyn hefyd a adwaenir wrth ei weithredoedd yntau. Y mae y dyn o fewn, a holl hynodrwydd ei feddwl, yn dyfod yn ddarllenadwy yn ei weithredoedd. Y mae y rhai a'i hadwaenant ef yn dda, yn darllen bron holl agweddau ei feddwl, a theimladau ei galon. Y dyn, gan hyny, a'r hyn a wnaeth efe, sydd yn cyfansoddi prif hanesion ein byd ni. Yn gymaint a bod pethau yn sefyll felly, nid anmhriodol, nac anfuddiol ychwaith, yw dyfod â rhyw gymeriadau hynod, y cyfryw ag sydd wedi tori tipyn o ffigiwr yn y byd yma o flaen ein darllenwyr yn awr ac eilwaith. Y mae gan bob pentref ei wron, yr hwn sydd yn ei fyd bychan ef, yn gynllun trwyadl o wroniaid bydoedd mwy. Ac fel y mae rhai uchelwyr yn bobl anhynod ddigon, felly y mae rhai mewn sefyllfaoedd cyffredin neu isel yn bobl hynod iawn. Y mae George Heycock, yr hwn yr ydym yn bwriadu, trwy gymhorth, adrodd ychydig o'i hanes, yn teilyngu yn ein barn ni, ryw ychydig o le yn nghronicl yr oesoedd.

Ar lethr mynydd uchel a thra ardderchog, yr hwn sydd yn edrych i lawr yn fawreddus ac annibynol ar dònau arianaidd Hafren yn golchi ei droed, y mae tŷ bychan, dibwys ynddo ei hun, ond bythgofiadwy fel lle genedigol ein harwr hwn. Ganwyd yno amryw o blant iachus a dianaf, y rhai a fu fyw yn onest, a weithiasant yn galed am eu bara beunyddiol, ac a fuant feirw yn y diwedd, ac heb fod nemawr yn eu hadwaen y tu hwnt i derfynau eu plwyf genedigol. Y mae yn debyg mai George yn unig a fwriadwyd i wneyd gorchestion, ac ymddysgleirio yn ei oes a'i genedlaeth. Dygwyddodd rhywbeth ar ddydd ei enedigaeth tra hynod—hyny yw, hynod yn myd y menywod. Yr ydym yn anghofio yn awr beth ydoedd yn berffaith, ond beth bynag, yr oedd yr holl hen wragedd drwy y gymydogaeth yn cyduno mai arwydd o ryw hynodrwydd ynglŷn â'r plentyn ydoedd. Gellid meddwl na ddarfu iddynt gamsynied y tro hwn, gymaint â llawer gwaith. Ganwyd gwryw, beth bynag; y mae hyn yn ddigon amlwg; a mawr oedd llawenydd ei fam, yn gymaint a bod pethau mawrion yn cael eu darogan gan ei chyfeillesau, y rhai a ddaethent ynghyd i'w chysuro, ac i yfed *tea.* O ran corff, yr oedd rhywbeth yn fwy anfanteisiol ynddo ef na'r plant eraill, yn gymaint ag iddo ddyfod i'r byd âg un goes yn llai na'r llall. Yr oedd efe yn ddyn esgyrnog wedi iddo dyfu i fyny, yn lluniaidd ei gorff, cryf ei wneuthuriad, golygus, dewr ei olwg, a hoenus ymhob ystyr, ond yn unig y goes, fel y soniasom. Yr oedd y goes hon yn ferach na'r llall, ac ymhob ystyr yn llai, fel yr oedd bob amser yn yr arferiad o gerdded wrth lawffon gadarn. Yr oedd hyn dipyn yn anffortunus, a bu yn brofedigaeth iddo ef y rhan fwyaf o'i oes, yn enwedig y rhan hono o honi a dreuliodd yn y cnawd; onide, yr ydym yn meddwl iddo ddyfod i gymmod yn agos, berffaith â'r aelod hon wedi iddo gael crefydd. Wedi y cwbl, y mae yn fwy tebyg i'r anmherffeithrwydd corfforol hwn droi allan yn fwy o fantais nag o anfantais mewn llawer ystyr. Cafodd fwy o fanteision dysg o herwydd hyn; bu yn hŵy yn yr ysgol na'r plant eraill, ac na'r rhan fwyaf o'i gyfoedion; a'r canlyniad fu, ei fod yn well ysgolaig na nemawr yn yr un sefyllfa y dyddiau hyny. Yr oedd coleg mewn lle a elwid Twllyn y wâl,

heb fod ymhell o'r ardal lle yr astudiodd yn llwyddiannus amryw o flynyddoedd. Ysgrifenai law ragorol, yr ydoedd yn fedrus fel cyfrifydd, a dechreuodd astudio Lladin gyda'r bwriad o fyned yn feddyg. Ond rywfodd neu gilydd, trôdd rhôd rhagluniaeth ffordd arall, a daeth rhywbeth, nid ydym yn cofio yn awr yr amgylchiad, ar ei ffordd, fel y rhwystrwyd ef rhag myned yn *ddoctor.*

Ar ol edrych ychydig eilwaith o ddeutu, yr oedd pob peth yn dangos fod yn rhaid myned yn rhywbeth, ac felly daeth i'r penderfyniad yn sydyn o ymuno â chymdeithas anrhydeddus St. Crispin, lle yr hynododd ei hun yn fawr; a pharäodd yn aelod cyfrifus a defnyddiol am y rhan fwyaf o'i oes. Nid yn hir, wedi iddo dyngu llŵ o ffyddlondeb i St. Crispin, y bu cyn dyfod allan yn gyhoeddus fel blaenor y fyddin ymhob drygioni ac ystranciau melldigedig. Yr oedd ynddo yn ddios gynneddfau naturiol cryfion; yr oedd ei gôf yn ddiarebol, ei ddawn siarad bron yn ddiderfyn, ynghyd â pheth anferth o'r peth y mae'r bobl yn ei alw yn *wit,* fel ag yr ydoedd yn alluog i dwyllo y rhan fwyaf o ddynion, ïe, dynion a gyfrifid yn gall iawn, gan eu gwneyd yn ffyliaid heb iddynt feddwl, a pheri iddynt gredu celwyddau anfad; canys dywedai gelwydd mor sobr a difrifol â phe buasai yn dyweyd y gwir goreu erioed, chwi a allasech dyngu ei fod yn berffaith deimladol o'r amgylchiadau a adroddai, pan nad oedd y cwbl yn ddim ond celwyddau noethion o'i gaboliad ef ei hun.

Ei holl hyfrydwch yn yr amser hwn oedd gosod menywod i ymrafaelio, a holl ddynion y gymydogaeth yn benben â'u gilydd, trwy ddyweyd celwydd wrth un am y llall. Byddai mor sobr uwch ben hyn â dim a welsoch erioed, ac ni buasai neb yn meddwl wrth ei glywed yn siarad nad oedd yn cydymdeimlo â'r pleidiau o eigion ei galon. Yr oedd yn dyfeisio pethau fel hyn, ynghyda'r ffordd oreu i'w cario allan yn effeithiol. Astudiai yn fanwl, yn ddiammheu, y celwyddau mwyaf tebyg i gymeryd gyda y gwahanol bersonau, a'r rhai tebycaf i osod y cymydogion yn erbyn eu gilydd. Yr ydoedd yn dalentog ac yn ddoniol gyda hyn; dangosai feddwl galluog, llygad craff, a doniau uwchlaw y cyffredin ymhell, hyd yn nôd wrth ddyfeisio celwyddau, a'r dull o'u cymhwyso. Canys dywedai, gyda'r teimlad mwyaf tyner, tybygid, fel pe buasai yn cydymdeimlo i'r byw, â'r gwahanol bartïon, a chyda y difrifoldeb mwyaf. Yr oedd peryglon mawr yn ei gelwyddau ef, o ganlyniad, canys yr oeddent yn effeithio fel y gwirioneddau puraf. Y mae llawer un yn dyweyd celwydd mor anghelfydd a noeth, fel nad oes berygl yn y byd i neb ei gredu byth, ac felly nid yw yn gwneyd drwg i neb ond y pechadur ei hun; nid yw yn medru asio y pethau yn dda, na'u llyfnhâu, eithr y mae yn hawdd i bawb weled rhwng y cysylltiadau, nes nad allant ond dirmygu y crefftwr. Ond am George, byddai yn asio ei gelwyddau gyda y fath gywreinrwydd, a'u lliwio drosodd mor ardderchog, a'u cymhwyso mewn modd mor debyg i gymeryd, fel yr oeddynt, y rhan fynychaf, fel pylor yn tanio cymdeithas drwyddi oll. Bu llawer o ganlyniadau anghysurus droiau, mewn teuluoedd, a thrwy yr holl gymydogaeth yn gyffredinol, yn unig o herwydd ystranciau drwg a melldigedig George. Byddai yn rhy faith i ni adrodd ar hyn o bryd am yr holl ymladdau rhwng gwŷr a gwragedd, benywod â'u gilydd, ynghyda dynion o bob oed a graddau, a achoswyd yn gwbl drwy ei ddyfais a'i gelwyddau. Gwelwyd ar y twyn, o flaen y *Somerset House,* fwy nag unwaith ymladdau rhwng menywod, y pryd y byddai y *poker* a'r gefeiliau yn chwareu, a

Mary'r gôf yn defnyddio y *teakettle*, gan daflu trwy ei big ddwfr berwedig yn ddiwahân ar bob cnawd. Nid oedd dim yn achosi y cwbl o'r cythrwfl hwn, ond yn unig rhyw ystoriau a ddywedodd Siôr ynghylch cariadon Pegy fach o'r Constant, a Mary merch y gôf.

Ond i adael pethau fel hyn, a myned yn y blaen, canys pe gollyngem i adrodd yr holl fanylion ynghylch yr holl bethau a wnaeth efe yn y llwybrau hyn, nid ydym yn tybied y cynnwysai yr holl bapyrleni yn Nghymru yr adroddiadau; eithr tybiwn fod yr hyn a ddywedwyd yn ddigon i roi cipolwg i'n darllenwyr ar natur y cymeriad, a gall y cyfryw a ewyllysiont ymhelaethu yn eu meddyliau ar y materion. Y mae yn wir fod gan George dad a mam yn fyw, ac yn cadw cartref cysurus; ond yn anaml y byddai efe yno, canys yn wirioneddol, y dafarn oedd ei artref ef; yno y byddai bob amser y gallai yn rhywfodd, oblegid pob ceiniog a ennillai, a llawer gyda hyny yn wir, a dreuliai am gwrw. Mewn cysylltiad â'r lleoedd hyn, ennillodd enwogrwydd mawr fel prif ymladdwr y plwyf, os nid y wlad yn gyffredin, fel yr adnabyddid ef ymhell ac agos wrth yr enw George y *bruiser*. Yr ydym yn cofio, pan y darfu i ni gael adnabyddiaeth o hono gyntaf, fod yn weledig olion cyfansoddiad cryf anghyffredin; yr oedd ei freichiau yn ymddangos fel gyrdd o faintioli auferth yn crogi wrth ei gorff, fel pe buasai Rhagluniaeth wedi ei fwriadu i ymladd â rhyw grëaduriaid gwylltion, neu i'w dal a'u dyfetha. Meddyliasom lawer gwaith wrth ei weled mai gwae y dyn hwnw a elai o dan ei ddyrnodion. Bu llawer o Gymry a Saeson yn ceisio rhoi ei gefn i lawr, eithr gorchwyl caled y darfu i bawb ffeindio hyny. Buasai yn adrodd weithiau, mewn modd cyfeillgar, am ei ymladdfëydd; ar yr un pryd gallasech weled arwyddion gofid yn ei wynebpryd, ac wrth ddybenu dywedai yn aml, "Y fath ffwl yr wyf wedi bod!" Yr ydym yn cofio un tro,—nis gwyddom beth ddarfu arwain at hyny yn bresennol—ei glywed ef yn dywedyd am ymladdfa a gymerodd le ar gae cyfagos, lle y cafodd y loesion mwyaf mewn cysylltiad âg ymladd yn ei oes. Yr oedd wedi dyosg yn noeth i'r croen, heb ddim ond y llodrau. Dechreuodd yr ymladdfa yn agos yn nghanol y cae, a churo dihafarch fu am dymmor, yn ol ac yn y blaen. Ond o'r diwedd daeth yr ymdrech ofnadwy i fan lle yr oedd llwyn mawr crwn o eithin yn tyfu, y pryd y cafodd y *bruiser* ergyd gan ei wrthwynebydd, yn rhywle tua'r drydedd ais, nes yr ydoedd yn cwympo yn sybyrthol, baglau i fyny, i ganol y llwyn eithin, heb ddim ond croen noeth yn amddiffyn. "Yr wyf fi yn meddwl," meddai, "mai'r loes fwyaf a gefais yn fy oes oedd hono." Nid ydym yn meddwl fod yn angenrheidiol i ni dreulio llawer o amser i geisio perswadio ein darllenwyr ynghylch gwirionedd y dystiolaeth hon; canys pan y meddylir ei fod yn noethlymyn, ac yn syrthio gyda y fath ruthr, ag yntau yn ddyn pwysig hefyd, i ganol llwyn o eithin pigog, gallwn gasglu yn rhesymol nad oedd y gwely ddim yn un esmwyth iawn, bid a fyno. Codwyd ef oddiyno mor gynted ag y gallesid, yn goch drosto gan waed, ac ugeiniau o bigau yr eithin wedi eu tori yn ei gnawd, y rhai, medd efe, oedd yn llosgi fel tân poeth. Er hyn i gyd, ni thrôdd ei gefn, ond ymladdodd wed'yn fel llew, gan guro ei wrthwynebydd nes oedd yn gweiddi cyn y diwedd.

Er fod George wedi dyfod yn un o brif enwogion ei oes fel ymladdwr, er hyny yr oedd amryw o brif gampau y werin yn gyfryw nad oedd yn bosibl iddo ef gyrhaedd enwogrwydd ynddynt, o herwydd fod yn rhaid rhedeg, a bod yn gyflym mewn cysylltiad â hwynt; a hyny nis gallasai efe

wneyd o herwydd ei goes, fel y crybwyllasom o'r blaen. Yr oedd gyda y bêl droed, a'r bando, yn y *rear* o ddigon; nis gallasai eu dilyn o herwydd ei goes, fel nad oedd gwiw iddo ef siarad â Ianto Cound, a Thwm y Teiliwr, mewn cysylltiad â'r bêl ddu a'r bando. Fel hyn, chwi a welwch, yr oedd ei goes yn brofedigaethus iddo; canys gyda hwy yr oedd ei galon, ond fod yr aelodau yn pallu. Yr unig enwogrwydd a gyrhaeddodd gyda y campau yr oedd traed yn hanfodol i'w cyflawniad, oedd zel drostynt, a ffyddlondeb i fod yn nghanol y *daplas*. Nid oedd ei ffyddlonach dan yr haul yn ddiammheu; a phe buasai bod yn ffyddlawn yn ennill y gamp, buasai yn ddïos yn un o'r prif ennillwyr, canys yr oedd efe gyda hwy yn ddiorphwys yn ol hŷd ei goes; ac yr ydym yn meddwl yn gydwybodol y buasai yn well ganddo adael y goes ar ôl na methu bod yn eu mysg. Ond y mae yn debyg nad yw ffyddlondeb ddim yn ddigon er sicrhâu y campau hyn; o ganlyniad ni ragorodd ynddynt.

Y mae yn dyfod i'n côf yn awr am ryw noson pan yn eistedd wrth y tân yn nhŷ un o'r cyfeillion, yr arweiniodd rhyw ymddyddanion ef yn y blaen i adrodd ei *dramp* gyntaf o gartref, sef ei ymadawiad â'i ardal enedigol i chwilio am waith. Yr oedd yn eistedd ar gadair o flaen y tân, ac yn pwyso ei ên ar glop y llawffon—gallwn wneyd ein llŵ ein bod yn ei weled y fynyd hon—ac yn myned dros yr holl hanes mewn trefn, o'i gychwyniad hyd ei ddychweliad yn ôl. Adroddai yr hanes mewn teimladau digon gofidus ar brydiau, ac weithiau chwarddai, ac eilwaith suddai i dristwch, â'r dagrau yn llanw ei lygaid mawrion i'r ddau ymyl. Y mae yn debyg mai nid o un hoffder yr oedd yr Apostol Paul yn adrodd hanes ei hen bechodau gynt, gan ddywedyd wrth y bobl ei fod ef wedi bod yn gablwr, yn erlidiwr, yn drahâus, a llawer o bethau cyffelyb; ond yn hytrach i ofidio uwch ben ei ynfydrwydd, ac i roddi mawredd ar y gras a'i hachubodd ef oddiwrth ei bechodau. Pan yr oedd y *bruiser* yn dechreu adrodd ei gychwyniad o gartref, dyma Mrs. Williams, boneddiges y tŷ, yn rhwystro yr ystori drwy ofyn, "Pa faint sydd oddiar hyny, George?" "Pa faint? aroswch chi; o brysur, yr wyf yn methu cofio yr amser yn dda; ond yr wyf yn cofio hyn yn burion, mai y diwrnod yr oedd Wat Ievan a Chati'r Crydd yn myned i briodi oedd hi; oblegid yr oedd y briodas yn myned o'n blaen tua'r eglwys, a nhw droison i lawr i hewl y fynwent, a phryd hyny y darfu i fi eu pasio. A wyddoch chi, Mrs. Williams, beth yw oedran plentyn hynaf Wat a Chati? gallwn dweyd amcan wedi hyny." "Pw, pw," ebe rhyw gyfaill gerllaw, "ymlaen â chwi, George; nid gwaeth rhyw lawer am yr amser." "Am na, yr wyf fi yn methu gweled fod ryw bwys mawr yn hyny hefyd," ebe yntau; "ond beth bynag, dyna'r pryd oedd hi, y diwrnod priododd Wat a Chati, gwaith yr oeddynt yn cerdded bob cam o'm blaen i i'r eglwys; yr wyf yn cofio yn gystal â doe." Beth bynag am hyn, y mae yn gofus genym ei fod yn dyweyd iddo daro i bant ar ben boreu, mewn undeb â Ianto Cound, heb wybod yn y byd i ba le, ond chwilio am gryddion yn rhywle, a cheisio cael y rhan a ddygwyddai o'r dâ yn y fan hono. Crydd oedd y Cound hefyd, a bachgen gweisgi, campwr bron difaeddu, ar y bêl; pa un ai ar dô, neu yn erbyn y mûr; ac nid oedd yn llai enwog fel arwr y bêl ddu hefyd. Yr oedd Cound gyda hyny yn rhedegwr mawr, ac fel dawnsiwr agos yn ddigyffelyb. Yr ydym yn cofio Cound yn uchder ei ogoniant pan oeddem ni yn wan a phenfelyn, a'r nôd uchaf yn ein huchelgais yr amser hwnw oedd cyrhaedd ei fedrusrwydd yn y campau. Gobeithio y gwnewch faddeu i ni,

ddarllenwyr, am grwydro fel hyn hefyd; cael ein tynu a wnaethom braidd heb yn wybod i ni ein hunain gan adgof o'r hen amseroedd. Ond, dyna, siarad yr oeddem am gychwyniad Cound a'r *bruiser* i'w *tramp* cyntaf.

Cychwynasant, fel y dywedasom, i edrych allan am waith; a theithiasant yn ddyfal, hyny yw, aethant mor gyflym byth ag y gallasai George deithio, canys yr oedd ei goes yn rhwystr mawr iddo gerdded ymhell, ac am gyflymdra yr oedd hyny allan o'r cwestiwn. Daethant o'r diwedd yn agos at bentref, lle yr oeddynt yn gobeithio fod gweithdŷ cryddion, lle y gallasent gael ychydig o waith, ac felly gwneyd eu hunain yn barod i gychwyn yn y blaen wed'yn. Yr oedd yn brydnawn erbyn hyn, ac yr oedd eisieu meddwl rhywbeth ynghylch y nos, a pha le i letya. Dan gerdded a chydymddyddan am hyn yr aethant yn y blaen, nes o fewn chwarter milldir i'r pentref, y pryd y disgynodd rhyw sŵn ar glust George, ac y safodd yn sydyn fel taro dwylaw ynghyd, gan ddywedyd, "Aros, Ianto, fi ddala am gini fy mod yn clywed sŵn y delyn yn rhywle." "Pw," ebe y llall, "*nonsense,* dere yn y blaen, nid oes dim yn y byd ond rhyw sŵn yn dy glust." "Fachgen, paid siarad; fi mentra 'mywyd fod y delyn yn chwareu yn rhywle; ryfeddwn i flewyn nad yw Mabsant y Wîg yn dechreu." Wrth fyned yn y blaen, o gam i gam, daeth yn ddigon amlwg mai sŵn gwirioneddol y delyn a ddisgynodd ar glust ein gwron, oblegid yr oeddynt wedi nesâu, ac wedi dyfod i'w sŵn yn gyflawn; ac er eu bod wedi cerdded erbyn hyn gryn bymtheg milldir, er hyny i gyd yr oedd yn effeithio gwylltineb ar eu coesau blinedig. George, o dan effeithiau a dylanwad swynol y miwsic, a neidiodd, megys yn anghydwybodol o bob peth, ac a darawodd *jig* ar ganol y ffordd; ond o herwydd anghyfartalwch ei goesau, ac yntau wedi anghofio hyny ar y pryd o dan ddylanwad y delyn, syrthiodd ar ei hyd i'r clawdd, nes y bu agos a thori ei wddf; ond trwy gynnorthwy ei gyfaill, daeth allan yn ddiangol heb gael nemawr o niwed, ond yn unig trochi mewn llaid yn y pwll. Ymlaen yr aethant at y dafarn, a thyna lle yr oedd y rhialtwch fawr, yr holl wlad wedi dyfod ynghyd, fel yr oedd yn ddigon amlwg erbyn hyn fod y mabsant wedi dechreu. Yr oedd prif ddawnswyr y fro wedi ymgynnull ynghyd o bob cŵr; holl ieuenctyd a blodau yr ardaloedd mewn llawn rhwysg, ac yn eu dillad goreu, yn barod i ymgystadlu â'u gilydd. Yn nghanol gwisgiadau heirdd y meibion, a sidanau ardderchog y merched, yr oedd ein gwron yn sefyll ar dir lled anfanteisiol, yn enwedig wedi iddo ymdrochi felly yn y clawdd. Yr oedd bron bawb yn edrych arno fel ysgymunbeth, yn rhyw grwydryn digymeriad, ac yn troi eu llygaid arno gyda dirmyg a gwawd. Ond wrth iddo siarad ychydig â hwn a'r llall, gwelwyd ei fod yn rhywbeth y tu hwnt i'r cyffredin, fel y daeth amryw i'r penderfyniad mai gŵr boneddig ydoedd wedi ei dori i lawr. Wedi ennill sylw fel hyn, a llygaid pawb yn dyfod i edrych arno, y mae yn dechreu chwareu ryw ystranciau, drwy daflu y goes fach ar draws ei wâr, ac ymdreiglo fel pêl yma a thraw, fel y daeth yn fuan yn destun siarad a sylw mawr yr holl gymdeithas. Daeth i'r golwg y tro hwn yn hynod mewn *jigio,* er ei holl anfanteision o herwydd ei goes. Yr oedd wedi dysgu rhyw *step,* nid ydym ni yn deall yn iawn pa fath ydoedd, ond yr oedd yn fath o ddynwarediad ar glap maen melin, fel y daeth allan o'r neuadd yn anrhydeddus, ac yn destun rhyfeddod i bawb, canys nid oedd neb ymhlith yr holl ddawnswyr a allasai ymgystadlu âg ef. Agorodd hyn ddrws ëang iddo ef a'i gyfaill gael digon o gwrw am dri diwrnod yn rhad ac yn rhodd; yr oedd pawb yn ddigon boddlawn i'w haurhegu â'r ddiod er



mwyn eu cwmni difyr. Fel hyn y buont hyd ddiwedd y fabsant, yn canu, yn dawnsio, ac yn gwneyd pob mynudiau, ac yn cael digon o beth i yfed am eu gwasanaeth.

O ïe, buom bron ag anghofio; yn yspaid yr amser hwn yr ydym yn meddwl y daeth George i'r golwg fel *fortune teller* o fedr ac enwogrwydd. Yr ydym yn deall ei fod wedi arfer peth ar y gorchwyl hwn cyn yn awr, ond nid oedd wedi ymegluro yn iawn, ac ennill sylw cyffredinol hyd yn mabsant y Wîg. O'r cyfnod hwn, yr ydym yn coelio, yr edrychid arno yn gyffredinol gan wreng a boneddig, fel *dyn hysbys*. Deallwyd ei fod yn deall ychydig o Ladin, drwy ei fod yn taflu allan ambell frawddeg nad oedd neb yn deall, a'r farn gyffredinol oedd y dyddiau hyny y gallasai pwy bynag ag oedd yn medru yr iaith hono, arglwyddiaethu ar fyd yr ysbrydion. Wedi i George weled ei fod wedi effeithio crediniaeth ynddynt am ei alluoedd i gonsurio, dymunodd ar i'r cwmni ei esgusodi am o gwmpas deg mynyd, neu chwarter awr o bellaf, ac y dangosai efe y diafol iddynt yn sefyll ar ei ben ar ganol y parth. Yr oedd llawer mewn braw, yn enwedig y boneddigesau; ond beth bynag yr oedd rhai â chalonau mwy dewr yn dyweyd y byddai yn dda ganddynt hwy ei weled. Tynodd ei lyfr allan o'i logell, a cherddodd yn araf i'r ystafell nesaf, a chlywid ef yn darllen, neu rywbeth, ac weithiau yn ocheneidio yn drwm, fel yr oedd hyd yn nôd y rhai ag oedd wedi caniatâu iddo fyned, a'r rhai oedd yn proffesu y carasent weled y diafol, wedi edifarhâu, ac yn ymddangos yn brudd ac ofnus iawn. Yr oedd yn dygwydd bod yn ddiwrnod gwresog iawn, a'r clêr llwydion allan yn fynteioedd, ac yn blino yr anifeiliaid yn druenus; ond beth bynag, yn sydyn fel taro dwylaw ynghyd, dyma rywbeth yn y clôs tu cefn i'r tŷ, fel taranau o ran sŵn ar y cyntaf, ond wed'yn yn fwy tebyg i ruthro, a chwythu, a rhuo, fel pe buasai eirth, dywalgŵn, a llewod, o gwmpas y lle. Dyma yr holl gwmpeini yn gwelwi, y cedyrn galon yn colli eu nerth, ac yn ymddangos fel pe na byddai ysbryd mwyach ynddynt; yr oedd eu gliniau yn curo ynghyd, gan ddysgwyl y diafol i mewn gan ruo a'u llyncu hwynt yn fyw. Dacw Miss Jones mewn llewyg, ac yn syrthio ar fynwes Llewelyn; dyna eto Miss Evans o'r Fferm yn llesmeirio, ac yn cwympo wrth ochr y ford fawr; wele eto Bess y dafarnwraig, yr hon oedd yn lled dew, yn cwympo fel derwen ar ganol y parth. Bobl anwyl! y mae pawb yn llewygu. Gyda hyn, dyma Ianto Cound, cyfaill y consuriwr, yn bloeddio allan gydag awdurdod, "George, cau y llyfr, fachgen, a dod hwynt i lawr gynta gelli; y mae'r dynion yn methu dal." Dyma George yn dyfod allan gyda'r sobrwydd mwyaf, ac yn dymuno ar bawb i fod yn dawel, y buasai yn gosod yr holl lu i lawr cyn pen tri mynyd; ei fod wedi caniatâu iddynt fyned i'r gwartheg a dau ebol cyn dyfod i'r tŷ, ond y bwriai efe hwynt allan o y rhai hyny yn fuan. Felly y bu, canys yr oedd y crëaduriaid erbyn hyn wedi ymwthio i'r beudai i'r cysgod, ac yn cael llonydd gan y clêr llwydion, ac o ganlyniad yn rhoi llonydd i bawb. Wedi rhoddi ychydig o ddwfr oer ar wynebau y boneddigesau, a gwneyd tipyn o awyr â napcynau, dadebrasant o'u llesmair, a bu tawelwch mawr. Oddiar hyn, sefydlwyd cymeriad ein harwr fel consuriwr a *fortune teller* blaenaf ein hardaloedd.

Pe baem yn myned i adrodd yr holl bethau a wnaeth efe yn y gelfyddyd hon, y mae yn anhawdd iawn gwybod pa bryd y dybenem; ond fel y dywedasom eisoes, nid ydym yn meddwl fod yn anghenrheidiol i ni fyned at fanylion, ond yn unig adrodd cymaint ag a roddo gipolwg i'r darllenydd o'r

cymeriad, ag iddo ef, os ewyllysia, fanylu yn ei fyfyrdodau. Beth bynag, wedi y pethau hyn, daeth yn adnabyddus yn agos a phell o dan yr enw George y *consuriwr*, ac yr ydoedd yn wrthddrych a berchid bron yn annaearol, rhag ei ofn. Gwelid ef yn gorwedd am oriau mewn cae cyfagos, a'i wyneb i fyny, a dau neu dri o lyfrau yn agored o'i gwmpas, ac un arall yn ei law, fel pe buasai mewn ymdrafodaeth helaeth â bydoedd anweledig. Byddai y bobl yn ymgrynhoi o gylch y cloddiau a'r perthi, gan ymlusgo mor ddystaw ag y gallasent i edrych a welent rywbeth; ac yr oedd rhai yn barod i wneyd eu llŵ, yn enwedig Nansi Singleton a Bess Jones, eu bod yn gweled lluniau anghenfilaidd anferthol fel yn codi o'r ddaear o'i gwmpas. Yr oedd ei ddylanwad yn y wlad o herwydd y pethau hyn bron yn beryglus i gymdeithas, canys i ba beth bynag a ddywedai, ac a orchymynai, yr oedd ufudd-dod yn sicr; oblegid yr oedd pawb yn ddiwahân yn credu fod George yn gonsuriwr, ac am hyny y gallasai drafod pawb fel y mynai.

Yr oedd dyn syml iawn yn y gymydogaeth, yn grefyddwr, o'r enw Cound eto, ond nid Ianto Cound ddim, er yn berthynas agos iddo, yr hwn oedd yn ceisio dyfalu beth oedd i'w wneyd i attal y gelfyddyd ddieflig hon, lleihâu dylanwad y consuriwr, a rhyddhâu y gymydogaeth oddiwrth bla mor ddirfawr. Y mae yn debygol fod Cound wedi meddwl llawer uwchben y cwestiwn hwn, os nid wedi gweddïo peth hefyd, canys yr oedd yn eithaf cyfarwydd yn y llyfr sanctaidd, am hyny yn gwybod fod yn anmhosibl cael y rhywogaeth hon allan ond trwy ympryd a gweddi. Beth bynag, yr oedd Cound yn teimlo anghenrheidrwydd am gynghor oddiwrth ryw ddyn call a gwybodus ar fater mor dywyll; ac aeth yn syth un diwrnod at ysgolfeistr deallus, i roi y mater ger bron, a chael ychydig o ymgynghoriaeth. Y mae hwnw, er maint ei ddealltwriaeth mewn cyfrinion, yn cael ei daro i dipyn o *study*, ac yn methu rhoddi gwybodaeth eglur pa fodd i ddifodi yr ysbryd a'r gallu consurio. Dywedodd pe gallesid deall rhyw dro fod George ar y weithred o gonsurio, a myned y fynyd hono a'i drywanu â chyllell bigfain nes cael allan waed, y buasai hyny yn dyfod âg ef fel dyn arall; ond wed'yn, mai peth anhawdd iawn fyddai gwybod yn sicr pa bryd y byddai yn cyflawni y weithred, ac ni byddai y moddion yn effeithiol un amser arall. Yr oedd y *schoolmaster* dysgedig yn eistedd o flaen y ddesg, a Cound yn sefyll uwch ei ben â'i het yn ei law, fel dyn yn dysgwyl yn bryderus am ddehongliad o ryw ddirgeledigaethau dyfnion; ond yn rhywfodd nid oedd gweledigaeth eglur. Dyna Mr. Davies eto fel yn suddo i astudiaeth ddyfnach nag o'r blaen; y mae yn rhoddi ei law chwith o dan ei ben, yn cau ei lygaid, ac yn gwneyd ffurf go hir ar ei wyneb, a Cound yn edrych gyda y symlrwydd mwyaf, gan ystyried yn sicr fod y gŵr doeth yn awr mewn cymundeb uniongyrchol â'r duwiau; nid oedd anadl braidd yn cerdded, pan yn sydyn y neidiodd Mr. Davies ar ei draed ac y dywedodd, ei fod yn cofio ei dad yn dywedyd fod ei dadcu, tad ei fam, yn sicrhâu pe ceid gafael ar lyfrau consuriwr a'u llosgi ar wendid y lleuad, fod yn anmhosibl i hwnw wneyd dim byth mwy yn y ffordd hono. Wel, yn awr, y peth nesaf i feddwl oedd, pa fodd i gael gafael ar y llyfrau. Yr oedd Cound yn deall yn burion fod yr hen wraig, mam Siôr, mewn cymaint o ofid â neb oblegid y gonsuriaeth yma, ac fe allai y gallai hi gael cyfle i ddod o hyd i'r llyfrau, ac felly ar wendid nesaf y lleuad gwneyd bonffagl o honynt, a rhyddhâu y gymydogaeth helbulus oddiwrth ddylanwad yr ysbrydion aflan.

Dywedwyd yr holl ddirgeledigaethau wrth yr hen wraig, ac addawodd hithau wneyd ei goreu i gael gafael ar yr oraclau. Aeth yn union at gistan George, lle y cedwid ei brif drysorau; ond er ei gofid yr oedd o dan glô. Aeth eilwaith ac eilwaith, ond o dan glô yr oedd yn aros o hyd, fel y digalonwyd hi ymron ynghylch y llwybr hwn, gan fod y consuriwr yn rhy ofalus am ei drysorau i neb allu eu cymeryd ymaith.

Ond ryw ddiwrnod, pan oedd George yn meddwi ar hyd y tafarndai, ac wedi gadael yr allwedd yn esgeulus yn y clo, dyma yr hen wraig yn cael gafael ar yr oraclau. Un llyfr oedd yn dygwydd bod i mewn yn bresennol, ar amlen yr hwn yr oedd llythyrenau mawrion cochion, canys yr oedd ei ditl, ac felly yn y blaen, wedi ei argraffu âg inc coch. Yr oedd hefyd luniau annaearol arno, yn edrych ymhob dull a modd yn echrydus; ac un o honynt, yr hwn oedd yn sefyll megys yn y canol, ac yn fwy na'r lleill, yn codi ei law i fyny ac yn ysgyrnygu ei ddannedd yn ngwyneb Jupiter. Edrychodd yr hen wreigan yn ddyfal arno, ond yn methu cydio ynddo; y mae yn teimlo ei llaw fel yn gwywo, a'i haelodau fel yn curo ynghyd; y mae yn tybio ei bod yn gweled ysbryd yn myned heibio o flaen ei gwyneb, ac y mae hyny yn gwneyd i flew ei chnawd sefyll; y mae yn syrthio yn ôl i'r gadair oedd wrth erchwyn y gwely, a bron yn llesmeirio. Dacw y chwŷs ymhen tipyn yn tori drosti fel dwfr oer; y mae ei gwefusau yn wŷn, a'i gruddiau fel pe na byddai ynddynt ddafn o waed mwyach; y mae yn rhoi rhyw un ysgrêch echrydus, ac yn llesmeirio. Gyda hyn, y mae gwraig y drws nesaf yn clywed y sŵn, yn rhedeg i mewn, ac i fyny â hi i'r lloft, pan y cafodd yr hen wraig megys heb ysbryd mwyach ynddi. Wedi cymhwyso ati y driniaeth gyffredin ac arferol, hi a ddadebrodd, megys o gwsg tawel, a gwelai yn sefyll ger ei bron, ac yn ei chynnorthwyo, Mari y Bais Goch, fel ei gelwid, a Chati'r Crydd. Fel y gellwch ddeall, mae yr ymddyddan yn dechreu am y llyfr a'r llythyrenau cochion, a'r lluniau rhyfeddol, ynghyd a'i effeithiau marwol ar y cyfansoddiad. Dyma Cati'r Crydd yn edrych i mewn i'r *box*, gyda gwddf estynedig, ac yn tynu yn ol yn sydyn fel pe buasai yn gweled rhywbeth; ond yn ymgynnyg eilwaith, eithr yn tynu yn ol wed'yn, ac fel pe byddai ofn yn ennill tir bob tro. Y mae yn methu, er pob ymdrech yn y byd, gydio yn y llyfr a'i ddwyn allan i oleuni. A pha beth a fuasai neb gwell o'i ddwyn allan a dattod ei seliau ef? canys nid oedd neb yno a allasai ei ddarllen, na neb yn y plwyf ychwaith, yr ydym yn coelio. Y mae Mari y Bais Goch yn anturio yn y blaen, ac yn ymdroi o gwmpas, fel yn gwneuthur ei hun yn barod i edrych ar y weledigaeth aruthr, ac yn estyn ei phen fel twrcan ar y gwlaw, ar fedr gwneyd yn fwy gwrol a rhagorol na Chati; ond pan y daeth y llythyrenau cochion i'r golwg, gyda'r lluniau anadnabyddus, rhoddodd ysgrêch oeraidd, ac enciliodd fel pe buasai wedi ei saethu. Yn fuan, y mae yr hen wraig ei fam fel pe bae yn cael rhyw hyder a chryfder oddiwrth ei chrefydd, sef oddiwrth y meddwl, os ydoedd yn cyflawni gweithred dda, a'i dyben yn gywir wrth wneyd hyny, y gallasai ar dir da ddysgwyl cynnorthwyon. Ymgryfhäodd gan hyny, ac ymaflodd yn ofnus yn y llyfr; canys er iddi gael ychydig nerth, yr ydoedd ymhell o fod heb ofn a braw yn llwyr. Wel, dyma y tair yn troi eu gwynebau tua'r grisiau, i'r dyben o fyned â'r llyfr a'i roi yn nghadwraeth Cound. Y mae yr hen Mrs. Heycock yn myned yn gyntaf â'r llyfr yn ei llaw ddehau, a Mary a Chati yn ei dilyn; ac y mae yn rhaid dyweyd, yr oedd golwg ofnus a thost arnynt oll. Pan yr oedd Mrs. Hey-

cock tua chanol y grisiau, a Mari ar y ris uchaf ond un, canys Mari oedd yr olaf yn dygwydd bod, dyma ryw grëadur byw, yn debyg i gath, yn cyffwrdd â choes Mari, nes iddi golli pob hunanfeddiant ar unwaith; bloeddiodd mewn dychryn ofnadwy; nid oedd mwyach rym yn ei haelodau; syrthiodd am draws Cati, a Chati a Mari am draws Mrs. Heycock, nes oedd y tair yn dyfod i lawr i'r grisiau fel taranau, ac yn llesmeirio ar ganol y porth. Och, y fath helbul! beth sydd i'w wneyd yn awr? Y mae y brawd Cound yn clywed, a dyma efe yn dechreu cenglu ei hun, ac yn rhedeg i'r lle. Yr oedd y tŷ erbyn hyn bron yn llawn, a'r benywod yn tywallt dwfr ar wynebau gwelwlas y gwragedd llesmeiriedig. Y mae Cound, er yn ddyn lled gryf, yn colli ei rym; y mae fel pe bae ei wroldeb yn ffoi, a'i adael yntau bron yn egwan. Wedi i'r gwragedd ddadebru, ac adrodd yr holl bethau a wnaethid, a'r llyfr a'r llythyrenau cochion, a'r lluniau haerllug yn agored ar y llawr o flaen ei lygaid, y mae yn teimlo ei enau a'i dafod fel yn crasboethi, ei gnawd a'i galon yn pallu, ac yn dymuno ar ryw un ddyfod â chwpanaid o ddwfr. Wedi yfed dracht, ac ireiddio ychydig ar ei enau llosgedig, adferwyd ychydig nerth, a phenderfynodd ymysgwyd a cheisio bod yn *ddyn* yn ngwydd y gynnulleidfa; canys erbyn hyn yr oedd y tŷ yn orlawn o wŷr a gwragedd hefyd. Yr oedd ein cyfaill Cound yn gyfarwydd yn y Gymraeg a'r Saesoneg—yn medru darllen yr ieithoedd hyn yn rhwydd ac eglur, ac ystyrid ef yn y gymydogaeth yn ysgolaig. Ond erbyn edrych ar y llyfr, nis gallasai ddarllen un gair, ac nis gwyddai pa dafodiaith yn y byd ydoedd. Dechreuodd ei ddwylaw grynu, llanwyd ef drachefn âg ofn a braw, a dywedodd wrth Mrs. Heycock, "Cerddwch âg ef yn ol i'r gist lle y cawsoch ef, canys y mae rhyw ddrwg mewn cysylltiad âg ef, a gwell yw i ni adael rhwng George âg ef, na myned i beryglu ein hunain ymhlith ysbrydion drwg." Felly gosodwyd yr oracl yn ol yn ddystaw yn y gistan, gan adael rhwng ei berchenog âg ef; canys yr oedd pawb yn ofni gwneyd dim iddo. Aeth Cound allan dan godi ei ddwylaw a'i olygon i fyny i'r nef, a dywedyd, "Wel, wel, fe fydd y bachgen yna yn sicr ymhlith cythreuliaid; y mae efe wedi ymwerthu iddynt eisoes." Bu yr helynt hwn yn adnabyddus drwy yr holl wledydd oddiamgylch, a bu yn foddion i sefydlu cymeriad ein gwron fel consuriwr yn uwch nag erioed. Pan glywodd George yr hanes, ymffurfiodd ei wyneb yn y wedd fwyaf difrifol ag oedd yn bosibl, canys yr ydoedd yn fedrus ar hyny, a dywedodd fod yn ddrwg iawn ganddo glywed i'r fath anffawd ddygwydd, ond ei fod yn teimlo ei hun yn ddiolchgar, yn gymaint a'u bod wedi bod mor annoeth ag ymhel â'r llyfr, na fuasai pethau gwaeth wedi dygwydd. "Pe buasent," ebe fe, "ond agor y llyfr yn y bummed tu dalen ar hugain, lle y mae Lucifer yn cydio yn nghyrn yr hwrdd, buasai wedi darfod am danynt oll; canys ni buasai yn bosibl eu cadw rhag cael eu darnio yn chwilfriw, yn gymaint nad oedd neb yn y lle yn gwybod y ffordd i'w roddi i lawr." Erbyn hyn yr oedd pawb yn teimlo yn falch ac yn gysurus wrth feddwl am eu gwaredigaethau rhyfeddol, wedi bod yn ymyl y fath beryglon aruthrol. Yr ydym yn cofio ei glywed ef yn myned dros yr hanes uchod, ac yn chwerthin o ddifrif am ben ofergoeledd dynion, ac yn dywedyd am y llyfr hwnw mai hen Almanac Ffrengaeg ydoedd a gafodd gan ryw Ffrencyn o forwr a fu yn aros yn y porthladd gerllaw.

Y mae yn rhaid dychwelyd eto. Yr ydym yn teimlo ein bod yn cael ein tynu ymaith i ddilyn ein harwr yn rhy bell, fe allai, ac eto y mae yn

anhawdd gwrthsefyll y brofedigaeth. Gobeithio y cydymdeimla ein cyfeillion â ni y tro hwn, gan ystyried ein bod wedi cael ein harwain i anialwch, ac yn ceisio dyfod allan yn y ffordd oreu y gallom, ar hyd ffyrdd pur ansathredig. Yn mabsant y Wîg, onidê, y gadawsom y cyfaill Siôr? Ië, dyna lle yr ydoedd yn y cornel, yr ydym yn cofio, yn canu "Mentra Gwen," ac yn tynu sylw, ac yn ennill parch yr holl gymdeithion. Beth bynag, fe ddarfyddodd y fabsant; ond fel yr oedd hono yn darfod, dyma un arall yn dechreu mewn pentref cyfagos, ac felly i bant yr aethant i hono; ac o fabsant i fabsant y buont am dair wythnos neu fis, heb daro ergyd, na chymaint a gwneyd un esgid. Y mae amser maith yn dyfod i ben o'r diwedd, ac felly fe ddarfyddodd y mabsantau, fel ag yr oedd yn rhaid meddwl am weithio rhyw gymaint eilwaith. Yr oedd ei ddillad wedi myned yn garpiog, a'i draed drwy ei esgidiau erbyn hyn, ac fel yr afradlawn wedi treulio y cwbl ond un swllt. Yr oedd yn well o swllt yn sicr na'r afradlawn, canys dywedir fod hwnw "wedi treulio y cwbl." Yr oedd swllt cyfan, y mae yn wir, gan George heb ei dreulio, ac y mae yn nerth hwnw yn taro i bant i'r byd mawr i chwilio am waith. Cafodd hanes am siop cryddion mewn lle a elwir St. Ffagans, o gwmpas deg milldir yn y blaen o'r man lle yr oedd. Teithiodd yn ddyfal tuag yno; ac wedi dyfod i'r lle yr oedd eisieu gweithiwr, a chyttunodd i fyned yno drannoeth. Ond nid oedd yn bosibl iddo ddechreu gweithio tra yr oedd y swllt yn ei logell; am hyny aeth i'r dafarn rhag ei flaen, a gwariodd bob ceiniog ag oedd yn ei helw yn gyntaf; felly yr oedd erbyn hyn yn hollol fel y mab afradlawn, "wedi treulio y cwbl." Boreu drannoeth aeth at ei waith, heb damaid o fwyd, na ffordd yn y byd i'w gael; gweithiodd yn frysiog, ond yr oedd chwant bwyd yn dyfod arno, ac heb olwg ar dameidyn o unlle i'w ddiwallu. Pryd ciniaw a ddaeth, a'r dynion eraill yn ymbarotôi i gychwyn, ond yr oedd efe yn ddigyffro ac yn llonydd iawn. Gofynodd y meistr a oedd efe ddim yn myned i'w giniaw, pryd y deallwyd nad oedd ganddo ef yr un ciniaw ar ei gyfer, na modd i'w gael. Dyma Joseph, yr hwn oedd yn ddyn gwyllt, ond hynod garedig, yn taro ei law yn ei boced, ac yn estyn swllt iddo ar gyfrif ei waith, ac yn gorchymyn iddo fyned i brynu rhywbeth i'w fwyta yn union. Gwasanaethodd hyn iddo hyd drannoeth, y pryd yr oedd ychydig o sylltau yn dyfod yn ddyledus iddo oddiwrth ei waith, ac felly y gwaredwyd ef rhag marw o newyn er dechreu o hono fod mewn eisieu. Dyfeisiodd Samuel Drew lwybr i'w gadw rhag teimlad arteithiol newyn tra yn gweithio pâr o esgidiau, drwy glymu yr arffedog yn dŷn am ei ganol; ond ni chlywsom i George gael ymgyrchfa at y llwybr hyn. Yn fuan wedi iddo ddyfod ychydig uwch ben ei draed, fel y dywedir, dechreuodd hynodi ei hun yn ddirfawr yn y lle hwn mewn cysylltiad â'r cymeriadau gwaethaf yn y plwyf. Yr oedd Twm o'r Castell yn fachgen hoew, ac yn benymladdwr a champwr cyn dyfodiad ein gwron i'r ardal, ond wedi hyny aeth dan gwmwl tew yn fuan, canys nid oedd yn gallu sefyll mwy na phlentyn o flaen y *bruiser*. Gosodwyd George ar ben y rhestr yn fuan yn frenin yr holl gampwyr; ac nid hir y bu cyn i'w glod gerdded drwy yr holl bentrefi cymydogaethol fel y cyfryw. Ofnid ef fel ymladdwr, ac arswydai pawb ef fel dyn hysbys, a *fortune teller;* mewn gwirionedd yr oedd ei awdurdod bron yn hollol, ac o ganlyniad yn beryglus. Byddai y tafarnwyr yn rhoi diod iddo yn rhad, o herwydd ei ddylanwad i dynu pobl ato lle bynag y byddai; canys yr oedd fel celain yn tynu yr holl eryrod o bob cwr; i'r man lle yr oedd efe y

byddent yn sicr o ymgasglu. Bobl anwyl! pe baech ond gwybod, chwi a synech, ac y mae yn anmhosibl dysgrifio yn berffaith, canys y mae y cymeriad y tu hwnt i alluoedd desgrifiadol y mwyaf talentog, chwaithach nyni. Ond beth bynag, rhaid myned yn y blaen goreu y gellir. Efe oedd crwth a thelyn y tafarndai, *sport* a chrechwen yr yfwyr, enaid a bywyd y cwmpeini; nid oedd dim ond bri a llawenydd yn teyrnasu lle y byddai efe. George Heycock oedd y cwbl, gan wryw a benyw, hen ac ieuanc, gwreng a boneddig; efe oedd y bachgen ag oedd yn cadw bywyd a gwresogrwydd yn y gwaith.

Yr oedd Joseph, ei feistr y pryd hyn, yn ŵr crefyddol, ac yn ddyn syml a da iawn, ond yn rhywbeth gwyllt yn ei ffordd, fel y dywedasom o'r blaen, ac yr oedd hefyd ddau neu dri o weithwyr crefyddol gydag ef ar y pryd. Yn ngwyneb fod Joseph a'r gweithwyr eraill yn clywed am ystranciau melldigedig George, yr oedd yn naturiol iawn i feddwl eu bod yn tori ato, ac yn ceisio rhoi rhyw air o gynghor iddo, yr hyn oedd yn bur ddiflas gan ein gwron, canys llwybr rhydd a dirwystr yn ei ffordd yr oedd efe am gael. Pan y buasai rhywbeth mawr wedi dygwydd, a Joseph yn dechreu ceryddu, er mwyn tori awch y cerydd, a'i dynu oddiwrth y mater, byddai y *bruiser* yn codi dadl yn erbyn crefydd a gwirionedd y Bibl. Yr oedd efe drwy hyn yn tynu Joseph oddiwrth yr ymladdfa, y dawnsio, neu ryw ystranc arall a gyflawnwyd, i ddadl ynghylch y pethau hyn. Nid oedd nemawr o ddoniau dadleuol gan Joseph, nac amynedd ychwaith i ddal yn hir yn ngwyneb ei wrthwynebu, oblegid yr ydoedd fel tân mewn pylor, yn fflam wyllt, ac yn drwst ofnadwy. Yr oedd y *bruiser* yntau mor araf â'r dydd hir, neu y dŵr rhewedig, a dywedai gelwydd gyda'r un pwys ac arafwch â phe buasai y gwir goreu yn yr holl fyd. Ryw foreu, ar ol ystorm echrydus y nos o'r blaen yn y dafarn, dyma Joseph yn ei alw i gyfrif yn ddifrifol iawn, gan broffesu mai ei les amserol a thragywyddol oedd mewn golwg, ac yn dywedyd wrtho fod ei sefyllfa yn ofnadwy yn ngwyneb y Bibl; "oblegid," meddai, "beth pe bait yn marw yn bresennol, ymha le, tybygit ti, y byddai dy lety?" "Ymha le?" ebe George; "clywch y dyn, oes bosibl iddi fod yn llawer gwaeth na lle yr wyf fi yn lletya yn awr? oblegid yr wyf fi yn credu fod cannoedd, os nid peth miloedd, o chwain yn ymborthi ar fy nghnawd bob nos." "Rhag dy gywilydd, George," ebe Joseph, gyda zel dauddyblyg, "yr wyt ti yn cablu gair y gwirionedd; ti ddeui iddi o'r diwedd." "Gair y gwirionedd! *nonsense* i gyd," meddai y *bruiser*, "'dyw'r Bibl ddim ond rhywbeth y mae dynion drwg wedi ei gyboli ynghyd i dwyllo y byd. A ddarfu ddim i chwi ddarllen erioed waith Shing-sang-ffa? Fe ysgrifenodd hwnw chwech mil o flynyddoedd o flaen Adda, ac y mae'ch Bibl chwi yn dyweyd mai Adda oedd y dyn cyntaf." Gyda hyn y mae Joseph yn neidio i fyny oddiar y *seat*, fel dyn gwyllt a gwallgof, ac yn taro ei ben yn erbyn cronglwyd y gweithdŷ, canys yr oedd yn lled isel, yr hyn a'i gwnaeth yn saith gwaeth ei dymher. Rhedodd allan i'r baili, gan waeddi, "George, y mae arswyd arnaf fod o dan yr un gronglwyd â thi." Ond dyna, byddai yn waith anorphen i ni fyned dros hanner y dadleuon hyn, am hyny y mae yn rhaid i ni fyned rhagom.

Yn gymaint a bod George yn weithiwr bron digyffelyb, yr oedd awydd yn Joseph am ei gadw er y cwbl, canys yr oedd yn gwneyd lles i'w fasnach; eithr yr oedd y *bruiser* allan o'i elfen naturiol, ac yn dymuno cael rhyw le yn fwy cydweddol â'i archwaeth a'i arferion. Un diwrnod rhoddodd rybudd

o'i fwriad i ymadael; ond o herwydd ei ddeheurwydd, cynnygiodd Joseph iddo bedair ceiniog y pâr yn fwy am ei waith nag yr oedd yn roi i neb arall; ond nid arosai George er dim; yr ydoedd wedi penderfynu myned i le arall. Nis gallasi oddef unrhyw gadwynau; yr oedd yn rhaid iddo gael ei ffordd yn rhydd i ddilyn ei lwybrau gwyllt ac annuwiol. Yr oedd cysur dynol a chyfrifoldeb allan o'r cwestiwn; nid oedd efe wedi meddwl am ddim o'r natur hyny, ac ni fu yn nôd erioed o flaen ei lygaid; y cwbl oedd mewn amcan oedd rhialtwch o bob natur, a digon o gwrw—"*a short life and a merry one.*" Y mae afon Lai yn rhedeg drwy bentref St. Ffagans, ac ar y làn, yr ochr arall i dŷ Joseph, yr oedd siop arall, yn yr hon yr oedd yr ymgynnulliad rhyfeddaf o gymeriadau a fu yn y byd erioed. Fe ddichon wrth chwilio y byd o'r bron, canys y mae yn un mawr iawn, y ceir ychydig o rai cyffelyb; ond nid ydym yn credu fod un man o fyd erioed wedi gweled gyda'u gilydd, yr un amser, ac yn yr un lle, eu tebyg. Nid oedd neb ag oedd yn meddwl rhywbeth am gyfrifoldeb yn myned o fewn canllath i ddrws y tŷ, os oedd yn bosibl, oblegid yr oeddynt yn daclau mor arswydus; yr oedd yn anhawdd gwybod beth fuasai y canlyniad. Dyma lle yr oedd synagog Satan; yma yr oedd yn trigo; yn ddiau yr oedd uffern y pryd hyn fel pe buasai wedi sefydlu ei *head quarters* ar làn yr afon Lai, yn mhentref St. Ffagans. Er nad elai un dyn a fyddai yn teimlo un parch iddo ei hun yn agos i'r lle, dyma y fan lle y byddai yr holl oferwyr yn ymgynnull, fel yr oedd y lle y rhan fynychaf bob nos, yn enwedig yn y gauaf, yn orlawn. Yr oedd bechgyn a merched, nid yn unig y pentref, ond hefyd y pentrefydd cylchynol, yn ymgynnull yno, ac yn wir hen wŷr a gwragedd hefyd yn draphlith gyda hwy. Yr oedd Dafydd o'r Crefft, er fod ei ên yn crynu gan henaint, ac yn ymgynnal wrth ddwy ffon, yn un o'r cyntaf yno bob nos, a'r diweddaf yn myned oddiyno. Adroddai Dafydd am gampiau er ys triugain mlynedd a deg yn ol, ynghydag enwau y prif gampwyr a'r prif ymladdwyr yr oes hono, yr hyn oedd yn crëu dyddordeb nid bychan i'r ieuenctyd. Yr oedd Modryb Bess hefyd yn hen, ac yno yn gryn fynych, yr hon oedd wedi bod yn rhosyn hardd yn ei dydd, ond fod tegwch ei bryd ef wedi gwywo er ys blynyddoedd lawer, ac wedi gadael y grudd yn grebychaidd a llwyd. Byddai Modryb Bess yn hoff iawn o adrodd am y gwylmabsantau, yn enwedig yn Penmarc a Llancarfan, ynghydag enwau y merched ag oedd y pryd hyny yn dop y ddawns, ac hefyd am eu cariadon. Yr oedd Modryb Cate o'r Grindwn wedi ei magu yn uwch i fyny yn y Sîr, ac yn arfer dysgrifio ardderchawgrwydd y Daplas haf a gynnelid ar Dòn yr efail a mynydd Llanbed, lle y byddai rhyw filoedd yn ymgrynhoi yn flynyddol i ddawnsio, a llawer o bethau eraill, yr ydym yn methu a chofio yn awr, yn yr awyr agored. Yr oedd yr hen wraig, Modryb Cate, wedi bod yn un lân hoew, a hynod *smart* ar ei throed; ond yr oedd hithau wedi gwywo er ys blynyddoedd lawer, ac yn cerdded wrth lawffon yn bur gloff; er hyny ni welsoch erioed y fath beth, pan y byddai un o'r cryddion yn canu y crwth, byddai aelodau yr hen fenyw yn fywyd bob tipyn, ac yn dilyn y dôn i'r dim. Fe allai fod digon wedi ei ddyweyd i ddangos natur y sefydliad, er hyny fe oddef ein darllenwyr i ni ddywedyd ymhellach, mai oddiyma yr oedd yr holl gelwyddau yn myned allan ag oedd yn gosod y cymydogaethau ar dân, ynghyda chaneuon am wahanol bersonau, nês peri fod y byd o gwmpas braidd yn benbleth.

Dechreuasom ddyweyd, os ydym yn cofio yn dda, fod yr ymgynnulliad

mwyaf rhyfedd yn y byd o gryddion yn y lle hwn; yr oedd rhyw hynodrwydd corfforol ac eneidiol yn perthyn i bob un. Yr oeddynt ymhell o fod yn ddynion cyffredin mewn dim, ac o'r gymdeithas hon yr oedd George wedi bod yn bur sychedig am ddyfod yn aelod, ac yr oedd y gymdeithas mewn cryn syched hefyd am ei gael yntau i'r undeb. Beth bynag, gadawodd ei feistr crefyddol, ac aeth drosodd tu hwnt i'r afon, a chyttunodd am bedair ceiniog y pâr lai nag oedd Joseph yn gynnyg iddo; dim yn y byd ond er mwyn cael bod ymhlith yr enwogion hyn mewn drygioni. Yr ydoedd yn eithaf boddlawn i weithio am lai o arian, ond cael llwybr rhydd a digerydd i fyw yn benrhydd a melldigedig. Fel y dywedasom, yr oedd hynodrwydd mawr yn perthyn i'r holl gryddion yn y lle hwn o'r blaen, ond yn awr y mae ymddangos fel pe bae wedi ei berffeithio. Yr oedd felly, pe na buasai dim ond eu coesau; canys, hyd yr ydym yn cofio, nid oedd un dyn o honynt yn berchen dwy goes gyfan a dinam, ac felly, cyfenwid hwynt oll yn ol rhyw anffawd oedd ar eu coesau. Yr oedd rhestr yr enwau ar lyfr y meistr, hyd yr ydym yn cofio—ac os ydym yn camsynied, yr ydym yn sicr o gael ein hargyhoeddi, yn gymaint a bod y *document* hwnw yn llaw y gŵr o Stockland—yn sefyll fel y canlyn:—Wil Goesgymhwys, Jack Goesgam, Dïo Droedglwb, Phil Naillgoes, a George Goesfach. Peth hynod ddigon i gynifer o ddynion ymgrynoi i'r un lle, mor anafus o ran eu coesau. Ond, deallwch, pell ydym oddiwrth wneyd un sylw anmharchus oblegid hyn; canys os felly oedd ewyllys y Llywydd, ni ddylem edrych ar hyn gydag un diystyrwch. Ar yr un pryd, nid ydym yn tybied mai o benarglwyddiaeth y Crëawdwr y daeth y nam ar lawer o honynt, eithr ei fod yn ganlyniad naturiol i fywyd o oferedd. Heblaw y coesau, yr oedd pethau hynod yn feddyliol yn perthyn i bob un; a chryn dalent hefyd, ond yn unig fod y talentau hyny yn cael eu hafradu o ddiffyg rhoddi cyfeiriad mwy priodol iddynt. Yr oedd Wil Goesgymhwys yn gantor bron digyffelyb; efe oedd yn canu "Y Ferch o'r Scêr," a "Chefnydfa," oreu o bawb. Dywedir fod llawer un wedi penderfynu ymofyn gwragedd o dan effeithiau y caniadau hyn. Yr oedd Jack Goesgam yn rhigymwr a phrydydd cywrain, ac efe oedd yn danfon allan englynion a chaneuon am bobl y gymydogaeth, nes oedd y cwbl yn fynych bron a myned yn benben o benbwygilydd. Yr oedd Dïo Droedglwb yn ddeonglwr breuddwydion, a Phil Naillgoes yn delynwr medrus; efe yn gyffredin oedd yn chwareu y delyn yn ngwylmabsantau y gymydogaeth. Yr oedd George Goesfer, fel y gwyddoch eisoes, yn ymladdwr ac yn gonsuriwr. Wel, gallem feddwl fod yn anhawdd cael gafael ar y fath gynnulliad o gyrff ac eneidiau o fewn terfynau crêd. Yr oedd ychydig o bob peth yn myned yn y blaen, chwi a welwch, fel ag yr oedd y siop gryddion hon yn cyfarfod âg archwaeth y rhan fwyaf o bawb yn y wlad, ond yr ychydig ddynion sobr a syml, ac nid oedd y nifer yn fawr o'r rhai hyn. Yr oedd yma ychydig o ganu i'r sawl oedd yn hoff o hyny, ychydig o brydyddu i gyfarfod â'r archwaeth hono, ychydig o beroriaeth i ddifyru y cerddorion, ychydig o egluro ac esbonio ar freuddwydion y nos er boddhâu y coelgrefyddol, ac ychydig o ddyweyd *fortunes* er cysur i'r rhai ag oedd yn dysgwyl eu cysur yn y dyfodol. Dyma'r man am dani! Y mae yn gôf genym ei glywed ef yn adrodd i'r holl deulu hyn fyned gyda'u gilydd un dydd Sul i bentref o gwmpas dwy filldir i bant, i dafarn lle y byddai cryn ymgynnulliad, i gael treulio diwrnod o rialtwch ac yfed. Ar ol bod yno am gryn dipyn, a llawer yn cwympo i mewn atynt yn bar-

hâus, yr oedd y digrifwch yn myned fwyfwy, a'r yfed yn myned rhagddo yn fwy hwylus. Yr oedd yn anhawdd cadw Wil rhag arfer ei ddawn i ganu yn gyhoeddus, er mai Sabbath ydoedd; yr oedd am ganu un tro, o leiaf, cyn ymadael, ar y "Ferch o Scêr" a "Chefnydfa." Yr oedd yr hen dafarnwr yn anfoddlawn, nid o un parch i'r Sabboth, ond ofn rhag i hyny arwain i ofid, ac y clywai y swyddogion. Beth bynag, yn ffrwgwd yr aeth rhwng Wil a'r tafarnwr, y pryd y cododd George i gyfryngu, ac o bwrpas yn cadw y tafarnwr yn ôl, i'r dyben o'i losgi yn y tân, canys yr oedd â'i gefn ar y tân eisoes. Gwaeddai Mr. Jones allan yn groch pan yr oedd yn cael ei forddwydydd yn dechreu rhostio, a George yn dal wrtho gan ddywedyd, "Ni chewch fyned yn y blaen yn wir, Mr. Jones; pwyllwch ac arafwch, a gadewch y ffŵl yn llonydd." Yr oedd y *bruiser* cyfrwysddrwg yn cymeryd arno wneyd caredigrwydd â'r hen frawd, ac felly o dan rith cymwynasgarwch yn ei bobi o flaen y tân. Yn y diwedd, aeth yn rhy dwym; cymerodd aden côb y tafarnwr dân, a thyma efe yn neidio yn y blaen gyda bloedd ddychrynedig, a'r fflamau erbyn hyn bron yn amgylchynu ei berson. Aeth un allan a'r llall allan yn y cythrwfl echrydus, nes y gadawsant George yn unig; ond ni thybiodd ein gwron am foment na buasent yn dychwelyd ymhen ryw getyn ar ol i'r ystorm dawelu ychydig. Wedi diffodd y tân, a phethau yn dychwelyd i ryw gymaint o dawelwch drachefn, dechreuodd George feddwl am ddychweliad ei gyfeillion, ond yn aneffeithiol, canys yr oeddynt wedi bwriadu chwareu ryw gnac, fel y dywedir, âg ef y diwrnod hwnw. Yn sicr, yr oedd y mater yn dechreu myned yn bwysig, canys yr oedd y cyfrif yn drwm iawn, a llogell George yn ysgafn, fel yr oedd y digrifwch er ysmeityn yn dechreu troi yn alar. Gwnaeth George esgus i fyned allan, ond yr oedd Mr. Jones i fyny â'r ystranc, ac mewn cysylltiad â'r gwas a'r forwyn, ymaflwyd ynddo, a rhowd ar ddeall nad oedd efe i ymadael oddiyno hyd oni thalai yr hatling eithaf. Nid gwiw oedd dywedyd nad oedd dim arian, ac y byddai yn sicr o ddyfod i dalu yr wythnos nesaf. "Yr arian neu eu gwerth," ebe y tafarnwr, gan ymaflyd yn dŷn yn ei goler. Cyn ymado oddicartref, yr oedd Siôr wedi cael neisiad gwddf, neu napcyn—beth gelwch chwi hi?—*first rate*, gan ei fam, yn goffadwriaeth am dani. Sidan India ydoedd, mae yn debyg, ac yr oedd y rhai hyny yn ddrudion iawn yn y dyddiau hyny, y mae yn ymddangos. Bid a fyno, yr oedd hono am ei wddf. Y tafarnwr, yn gweled hon yn un o'r pethau mwyaf gwerthfawr, a ymaflodd ynddi ac a'i dattododd oddiam ei wddf yn un o'r pethau cyntaf. Yr oedd George yn dymuno, er mwyn pob peth, am gael cadw hono, gan mai rhodd ddiweddaf ei fam anwyl ydoedd cyn ymado o gartref, ac y carai fod hono gydag ef yn dychwelyd adref, fel arwydd ei fod yn cario yn ei fynwes barch i'w anwyl fam. Tyngodd Mr. Jones yn haerllug. Gobeithio y cymerir ni yn esgusodol am beidio adrodd y geiriau bryntion, yn enwedig ar bapyr glân fel hwn. Beth bynag, fe dyngodd yn echrydus, a thyngu oedd bron y cwbl ag oedd yn gallu ei ddyweyd; efe a fynai y napcyn, serch iddo ef a'i fam fyned i ——. Gan fod cynifer o'i ddeutu, gorfod i'r *bruiser* roi i mewn; cymeryd y neisiad oddiam ei wddf a wnaethant, a'i siaced fach hefyd, a phâr o esgidiau newydd oddiam ei draed; felly gollyngasant ef i'w ffordd yn hanner noeth, ac yn gywilyddus i ddianc megys â chroen ei ddannedd. Llawenydd annhraethadwy oedd ymhlith y cryddion wrth weled y *bruiser* yn dyfod adref mewn dull felly, ac hyfrydwch calon pob un oedd peidio talu ceiniog byth i ryddhâu y

dillad. Dyna y lle y gadawyd hwynt hefyd gan George; canys er ei fod yn ennill arian da, eto nis gallasai feddwl am droi ychydig heibio, a bod heb ryw gymaint lai o gwrw am ychydig wythnosau.

Nid hir ar ol hyn yr ydym yn cael ei hanes yn ymadael â St. Ffagans, ac yn teithio o bentref i bentref, a'i wyneb yn ol tuag adref. Y mae yn gweithio, fe allai, am bythefnos mewn un pentref, a rhywbeth cyffelyb yn y llall, yn ymladd yn ddychrynllyd, ac yn curo y gwŷr goreu ymhob plwyf; yn dychwelyd adref o'r diwedd, yn hanner noeth ac yn glwyfau i gyd. Wedi pob peth, yr oedd ei fam yn cynhesu eto ac yn ei ymgeleddu, er fod lliaws yn dywedyd wrthi am beidio. Ond yn rhywfodd nis gallasai beidio; yr oedd yn sychu ei glwyfau â'i dagrau, ac yn cusanu ei wyneb chwyddedig fel pe buasai dyddiau mabandod wedi ail dywynu. O! peidiwch rhyfeddu; peth angerddol iawn yw teimlad mam; trueni na bae llawer mab a merch yn gwybod yn well pa fodd i'w barchu. Wedi golchi ei friwiau fel hyn â dwylaw tyner mam, y mae yn addaw gwella ei foes, a throi dalen newydd; ond yn fuan yr ydym yn ei gael yn dechreu arfer ei hen gastiau cynddrwg ag erioed. Yn gymaint a bod llawer o ofergoeledd y pryd hwnw yn meddyliau dynion, ac yn hawdd i ddyn cyfrwys wneuthur iddynt gredu unrhyw beth ynghylch ysbrydion, canwyllau cyrff, ac felly yn y blaen, arferodd bob diwydrwydd i ddychrynu pobl yn y ffordd hono. Byddai yn myned yn ysbryd yn fynych iawn, ac elai allan yn y nos â rhyw offeryn ganddo, â'r hwn y taflai wreichion o dân nes peri dychryn a braw yn yr holl gymydogaeth. Bu tymmor pan nad elai neb braidd allan yn y nos gan ofn a dychryn; ac nid yn unig yn ofni myned allan, ond yr oeddynt yn crynu yn fynych hyd yn nôd rhwng muriau eu tai. Byddai weithiau ryw ysgrechfeydd annaearol a dychrynllyd yn myned heibio am hanner nos, a llawer o fenywod yn llewygu yn eu gwelyau, ac yn sicr rhai gwŷr hefyd, os nid yn llewygu yn llwyr, yn chwysu yn domen. Cododd Twm mab Pegan o'i wely, wrth glywed ysgrechfeydd a gruddfanau dychrynllyd ar gyfer ffenestr ei ystafell, i edrych beth a allasai fod; canys yr oedd efe yn bur gryf, ac yn anghredadyn hyd yn awr am ymddangosiad ysbrydion o gwbl. Eithr llwyr argyhoeddwyd ef o'i gamsyniad, a chostiodd hyn yn ddrud iddo hefyd. Gwelai rywbeth tebyg i fôd dynol, ond yn fwy ei faintioli, canys tybiai ei fod yn ddeuddeg troedfedd o hŷd o leiaf, ac yn chwythu tân gwyllt allan o'i enau. Syrthiodd Thomas, er ei fod yn ddyn cryf, yn wysg ei gefn, gan dybied weled o hono ysbryd, ac ni chynnygiodd byth mwy ddadleu yn erbyn y cyfryw beth. O herwydd ystwythder y goes fach, yr oedd wedi dyfeisio i daflu hono am ei wàr yn gyntaf, a'r llall ar ei hol, ac yna ymdreiglo ar hyd y llawr fel pêl fawr, gyda chyflymdra anghredadwy, ac yn y fynyd ymryddhâu o'r ffurf ryfedd hòno, a chodi ac ymddangos mewn ffurf hollol wahanol. Bu yr ystrywiau hyn yn agos i fod yn angeu i amryw o bersonau. Clywsom ef yn adrodd iddo gyfarfod â merch ar noson bur dywell, pryd y gwnaeth ryw leisiau annymunol nes iddi ddychrynu yn ddiogel; trôdd ei gwyneb mewn dychryn i edrych, pan y chwibanodd yn rhywfodd rhwng *ei fysedd*, yn hollol wahanol i bob chwibaniad a glywyd mewn byd daearol; dyma y lodes yn cymeryd at ei thraed, a'i chalon yn curo gan fraw, y pryd y syrthiodd George i lawr, gan daflu y coesau am y wàr ac ymdreiglo fel pêl ddu heibio iddi, nes oedd y fenyw yn syrthio i lawr ac yn methu myned ymhellach, ac yn ymddangos fel pe na byddai enaid mwyach ynddi. Ei hysgrechfeydd a dynodd y cymydogion i'r lle, ond yr oedd yr ysbryd wedi diflanu

o'r golwg. Tro diflas oedd hwn, oblegid ofnid am amser maith y buasai canlyniadau pwysig iddo; ond trwy driniaeth ofalus a medrus y Doctor Llewellyn adferwyd hi eilwaith i'w hiechyd cynnefin.

Nid ydym yn rhoddi ond ychydig engreifftiau o lawer a allesid roddi, ond gobeithiwn y bydd yr ychydig hyn yn ddigon i roddi cipolwg ar y cymeriad. Dilyn rhyw fywyd o'r natur hon y bu, yn ôl ac yn y blaen ar hyd y wlad, am amser maith. Dygwyddodd i'w dad daro wrth yr hen enwogion Methodistaidd, Siencyn Benhydd a Daniel o'r Constant, a chafodd grefydd, ac yn ol yr hanes grefydd dda iawn hefyd. Byddai yn gweddïo yn ei dŷ—sef cadw dyledswydd, fel y dywedir—a byddai George, o barch iddo, yn ymddwyn bób amser yn weddus yn yr addoliad teuluaidd; ond yr oedd càn dywylled am bethau crefydd a neb yn nghanolbarth Affrica; canys pan oedd ei dad yn gweddïo ac yn cwyno o herwydd ei elynion, byddai yn tybio mai rhywrai oedd yn frwnt wrth yr hen ŵr yn y gwaith lle yr oedd ei orchwyl. Un boreu, pan oedd ei dad yn cwyno yn fwy nag arferol o herwydd ei elynion, wedi myned allan tyngodd George y talai efe iddynt cyn hir am beidio gadael yr hen ŵr ei dad yn llonydd—y gwyddai efe pwy oeddynt o'r goreu. Penderfynodd fyned i'r dafarn nos drannoeth i'w cyfarfod, a dechreuodd edliw iddynt eu bod yn erlid ei dad yn y gwaith—ei fod wedi clywed yr hen ŵr yn achwyn arnynt ddwywaith neu dair, ac yn rhaid nad oedd neb ond hwy i fod felly. Yr oedd y dynion yn gwadu gwirionedd yr haeriad; eithr nid gwiw gwadu, yr oedd yn rhaid iddynt sefyll o'i flaen ef; ond hwy a'i hadwaenent yn rhy dda, ac am hyny wele hwy yn crynu ger ei fron. Curodd ryw ddau neu dri yn ddidrugaredd, a rhybuddiodd hwynt ar berygl eu bywyd am beidio ymhel â'i dad. "Os clywaf ef yn cwyno o'ch plegid eto, myn ——," ebe efe, "mi a'ch lladdaf yn farw." Pan y meddylir am ddyn fel hyn, wedi treulio llawer o flynyddoedd, ïe a blynyddoedd goreu ei oes, heb feddwl nemawr o ddim am grefydd, ond yn dilyn pob rhyw oferedd, ac yn myfyrio ar gynlluniau i ymwneyd â melldith, y mae yn naturiol meddwl ei fod yn hynod dywyll ac anwybodus am grefydd a phethau yr efengyl. Beth bynag, yr oedd yr Arglwydd wedi meddwl ei achub, y mae yn debyg; ac i'r dyben hwnw efe a'i cymerodd ef i'w law ei hun, i'w ddysgu a pheri iddo ddeall. Arweiniodd ef o amgylch, drwy yr anialwch mawr, fel y cawn egluro yn ein herthygl nesaf, lle yr oedd seirph ac ysgorpionau, creigydd a phyllau, nes dyfod âg ef i'w bwyll, ac i oleu y dydd, i ddeall pwy ydoedd y Goruchaf, ac i grefu am drugaredd ger ei fron. Yr oedd bod Duw yn cymeryd y *bruiser* mewn llaw, i'w wareiddio a'i waredu oddiwrth ei bechodau anferth, gan roddi lle iddo yn ei dŷ ac ymhlith y plant, yn synu pawb. Yr oedd hyd yn nôd y saint, yn gystal a'r pechaduriaid, yn agos a bod mewn dyryswch ynghylch y mater hwn. Eithr yr oedd yr Arglwydd yn dewis egluro yn hyn mai nid ei feddyliau ef yw ein meddyliau ni, ac nid ein ffyrdd ni yw ei ffyrdd ef. "Canys fel y mae y nefoedd yn uwch na'r ddaear, felly uwch yw fy ffyrdd i na'ch ffyrdd chwi, a'm meddyliau i na'ch meddyliau chwi." Y mae yn gwestiwn genym a feddyliasai neb ar y ddaear—er ys llawer o flynyddoedd, bid a fyno—am i'r *bruiser* gael ei achub o gwbl; canys yr oedd pawb yn ddiwahân wedi ei roi ef i fyny i dân tragywyddol, ond yn unig aros yr amser penodol i ddiafol ei gipio a myned âg ef yn gorfforol i'w le ei hun.

Felly yn ddiau oedd y meddwl cyffredinol mewn byd ac eglwys am

George. Yr oedd ei ddedfryd fel hyn wedi ei selio eisoes yn marn y werin. Ond y mae yn debyg mai nid rhyw feddyliau felly oedd meddyliau Duw, eithr i'r gwrthwyneb yn hollol. Byddwn yn dysgwyl yn fynych am i ryw ddyn prydferth ag sydd yn gwrando yn gyson, ac yn yr Ysgol Sabbothol, a chydag agos bob rhan o waith yr Arglwydd, ddyfod yn nês, ac ymuno â'r eglwys, ac y mae ei le wedi ei wneyd yn barod er ys llawer dydd; eto nid yw yn dyfod er hyny, ac fe allai y ceir ef yn marw yn y fel yna, heb ddyfod o gwbl. Fe ddichon fod rhai wedi bod yn gweddïo dros hwnw wrth ei enw, ac wedi tywallt ambell ddeigryn yn ei achos, gan ddymuno yn fawr ei weled, am y gallai fod o ddefnydd anghyffredin gyda'r achos. Eithr am George, och! ac arswyd rhagddo, nid oedd neb yn meddwl am y fath flaidd adgas a chreulawn i ddyfod byth i rodio ymblith yr ŵyn gwirion. Ond rhyfedd byth! y mae y rhai a ddysgwyliwyd yn ngwyneb rheswm dynol yn cael eu gadael, a'r *bruiser* mawr yn cael ei argyhoeddi a'i ddychwelyd; a dyma efe o'r diwedd yn dechreu troi ei wyneb at yr Arglwydd! Synodd y saint, chwaithach y pechaduriaid, nes yr oeddynt yn methu deall beth i ddywedyd na pheth i wneyd. Braidd nad oeddynt yn ei ofni yn fwy nag yr ofnwyd Saul yr erlidiwr, ac yn dywedyd gyda syndod dirfawr, Onid hwn yw George? fel pe buasai yn anmhosibl i Dduw â'i hollalluog fraich gydio ynddo a dyfod ag ef i'w iawn bwyll. Y gwir yw, yr oedd pawb yn agos a dyfod i'r penderfyniad nad oedd yn bosibl i Dduw wneyd dim â George ond ei ddamnio byth. Mewn gwirionedd, yr oedd yn ofynol fod ffydd fawr anghyffredin gan ddyn yn nhrefn gras, cyn y gallai gredu yn rhwydd fod hyd yn nôd yr efengyl ei hun yn cynnwys digon o nerth i ddofi dyn fel hwn, a ffurfio ei gymeriad yn gydweddol â'i nhatur a'i hansawdd ei hun. Gan fod hynodrwydd mawr mewn cysylltiad â'i dröedigaeth, fel y gellid dysgwyl, wrth ystyried pa fath gymeriad ydoedd, rhaid i ni gymeryd amser a phwyll wrth edrych am hyny, onidê ni a wnawn gam â'n gwrthddrych, beth bynag am ein darllenwyr. Nid moddion a gorchwyliaethau gweinion oedd yn ofynol at lorio ryw gawr fel hyn, a'i wneyd fel plentyn bychan; a throi blaidd gwancus a chreulawn, a'i wneyd fel oen diniwed. Ond gan fod ein hysgrif eisoes wedi rhedeg yn faith, y mae yn rhaid i ni derfynu y llith gyntaf yn y fan hon.

---

# GWYR IEUAINC LLANLLENORION.

## YR AIL BENNOD.

Nid oes dim yn fwy dyddorol "i'r llygad sydd yn gweled anian, ac i'r galon sydd yn teimlo anian," na sylwi ar, a gwylio tyfiant a dadblygiad gwahanol wrthddrychau. Ac y mae y cyfryw ddyddordeb yn cynnyddu os bydd a wnelo y sylwedydd â dygiad y cyfryw wrthddrychau ymlaen; a

hyny yn fwy fyth, os bydd cysylltiad agos rhwng cynnydd a pherffeithiad y cyfryw wrthddrychau â'i ddedwyddwch ef. Y fath foddhâd a deimla garddwr pryderus wrth weled yr hadau a hauodd, a'r planigion a blanodd, yn cyfodi o'i amgylch o dan gawodydd a heulwen nef, fel ag i gyfateb i'w ddysgwyliadau uchaf. Y mae mynwes yr amaethwr yn chwyddo gan lawenydd pan y gwelo ei gnydau yn toreithio ar ei faesydd, a'i anifeiliaid mewn cyflwr da a chynnyrchiol. Pwy a all ddywedyd maint llawenydd y peiriannydd dyfeisgar, yr hwn a gynlluniodd beiriant newydd, "na welodd llygad ac na chlywodd clust, ac na ddaeth i galon dyn" arall erioed i feddwl am dano, pan welo y peiriant hwnw yn gweithio, yn cyflawni gorchestwaith anhygoel, ac yn ateb ei ddyben i berffeithrwydd? Y mae yn awr bryderus arno pan y mae ei ddyfais yn dyfod i'r prawf: y mae pob peth yn barod—miloedd wedi ymgynnull i weled y canlyniad, y mae yntau â'i udgorn llefaru wrth ei enau yn chwythu allan ei eirchion i'r gweithwyr —y mae y foment olaf wedi dyfod—y mae cynnyrch ei fyfyrdodau digwsg, a'i bryder pangfäol, un ai ar droi allan yn fendith i ddynolryw ac yn ogoniant iddo ef ei hun, neu yn fethiant hollol a bythol; y mae yr archiad olaf yn dyfod allan o'i udgorn—y mae yn dal ei anadl mewn pryder—y mae ei lygaid yn tremio yn gyffröus—prin y gall ddal i edrych pa fodd y mae pethau yn myned ymlaen. Ond y mae banllefau y myrddiynau cynnulledig yn trosglwyddo iddo gyda nerth llifeiriant fod pob peth yn dda! Ac wele y dyn mawr, y meddyliwr gorddwfn, y dyfeisiwr celfydd, yn anghofio ei holl urddas yn y fan; dacw ef yn taflu yr udgorn o'i law, yn taro y cyfaill nesaf ato â'i ddwrn fel hogyn dirieidus. Ond maddeuer iddo,—y mae wedi llwyddo i gerfio ei enw yn annilëadwy ar lechau hanesiaeth y byd—y mae wedi ennill lle iddo ei hun yn nheml gogoniant—anrhydeddir ei enw, a bendithir ei goffadwriaeth, gan fil o genedlaethau i ddyfod!

Os ydyw teimladau dynion yn cael eu dyddori i'r fath raddau gan bethau gweledig, pa beth a all fod teimlad yr hwn sydd wedi cymeryd mewn llaw y gorchwyl annirnadwy o bwysig o hyfforddi meddyliau dynion, wrth ganfod y galluoedd a ymddiriedwyd i'w ofal yn dyfod rhagddynt fel y dymuna? Ac y mae y teimlad yn annhraethol fwy cyffröus a dyrchafedig, os bydd y cyfryw ddysgyblaeth yn amcanu at wellâd moesol ac achubiaeth bythol ei gwrthddrych. Nid oes llawenydd yn y byd a ddeil i'w gymharu â llawenydd y neb a lwyddo mewn ymdrech i ddysgu ac i "gadw enaid rhag angeu." "Yn ngwydd angylion Duw" yn unig y teimlir ei gyffelyb, ac y mae o'r un natur â'r hyn a deimla y Dyn Dwyfol ar "ddeheulaw y Mawredd," pan y mae yn gweled o "lafur ei enaid," ac yn cael ei "ddiwallu."

Nid bychan ydoedd pryder rhieni yn Llanllenorion mewn perthynas i'w plant, a daeth y pryder hwnw yn fwy i'r amlwg pan ffurfiwyd Cymdeithas Lênyddol y Gwŷr Ieuainc yn y lle. Yr oedd yr hen "Gymdeithas Gymreigyddol" wedi llwyr ddiflanu; a da oedd hyny gan y bobl oreu, oblegid yn un peth cynnelid hi mewn ystafell yn lloft tafarn, ac ystyriai gŵr y tŷ fod cwsmeriaeth yr aelodau yn ddigon o dâl am eu lle; a rhwng cyfarfodydd wythnosol y Gymdeithas, a'r pwyllgorau a gynnelid rhyngddynt, a'r ffaith fod yr aelodau yn teimlo math o rwymedigaeth foesol i noddi y tŷ ar bob adeg y byddent yn llymeitian, yr oedd y gŵr yn cael elw da oddiwrth y Gymdeithas. Ac os dygwyddai i ambell glêrfardd ddyfod heibio, yn y tŷ hwnw y byddai ei arosiad, a rhoddid iddo ei ymborth a'i letty am eistedd yn y gornel i ddal pen y chwedl â'r diotwyr, fel yr edrychid ar y

tŷ bob amser fel nawddle llênyddiaeth. Yr oedd y gŵr yn enw o fardd, ac yr oedd ganddo ffugenw, ac mewn rhyw eisteddfod yr oedd wedi cael ei urddo yn Dderwydd, ac wedi hyny yn Archdderwydd; ond ni roddai un amser nemawr o brofion o'i gymhwysderau llênyddol i ddwyn y fath deitlau. Pa fodd bynag, pan ymgynnullai y Gymdeithas yn y lle hwnw, yr oedd yr ieuenctyd a feddent duedd lênyddol mewn perygl dirfawr o gael eu llithio i fod yn ddiotwyr ac yn feddwon. Gan yr ystyrid fod pob un a fynychai y tŷ crybwylledig yn myned yno i ddybenion llênyddol, nid oedd cymaint o "edrych" ac o "farnu" ar waith dynion yn troi i mewn iddo, yr hyn a'i gwnelai yn fwy peryglus fyth fel magl i'r ieuanc a'r dibrofiad. Diau y gall llawer un yn Nghymru ddyddio dechreuad ei yrfa feddwol i'r cyfryw achlysuron; oblegid nid ydyw y temtiwr un amser mor llwyddiannus i gael dynion i'r fagl â phan y mae yn gallu gwisgo y demtasiwn yn y fath fodd ag i dwyllo pobl dda, ac i faglu pobl weiniaid; a pha wisg a ymddangosai yn fwy urddasol na llênyddiaeth i'r cyfryw ddyben? Ond trwy drugaredd, llwyddodd y symudiad Dirwestol i raddau helaeth i dori y cysylltiad rhwng llênyddiaeth a diota, a pharodd i ddynion ymofyngar am wybodaeth chwilio am leoedd mwy cyfaddas a dibrofedigaeth i gynnal eu cyfarfodydd ynddynt.

Mewn ystafell gyfleus a logid i'r dyben, yr ymgynnullodd Gwŷr Ieuainc Llanllenorion i ddechreu ar orchwylion eu Cymdeithas Lênyddol, yr hon a ffurfiwyd ar gynllun hollol newydd, gan ei bod i sefyll yn hollol ar ei theilyngdod ei hun, ac ar zel ei haelodau drosti; oblegid nid oedd dim i fod ar y bwrdd i ddenu yr aelodau i ddyfod yno ond pethau llênyddol yn unig; yr oedd cwrw yn cael ei wahardd i ddyfod i mewn, ac ystyrid pob un y byddai arwyddion diod arno fel yn annheilwng o fod yn aelod o honi. Yr oedd yn y dref un hen ŵr, yr hwn a fyddai ar bob achlysur yn mynychu y dafarn lle y cynnelid yr hen Gymdeithas Gymreigyddol. Yr oedd wedi bod yn aelod brwdfrydig o honi am flynyddau lawer, a goddefid ef ynddi er ei fod yn fynych yn dyfod i'w chyfarfodydd dan arwyddion amlwg o ddylanwad ei hoff ddiodydd. Pan fyddai yn y cyflwr crybwylledig, byddai ei hyawdledd a'i arabedd yn dyfod allan gyda nerth anwrthwynebol. Gwisgai ei het yn lled bell yn ôl, yr hyn a arddangosai yr oll o'i wynebpryd o'i ên i ran uchaf ei dalcen, yr hwn oedd o faintioli gweddol; ond ar adegau ei feddwdod esgeulusai ei wallt, yr hwn a ddisgynai yn gudynau didrefn, yr hyn, gydag *expression* cyffredinol ei wynebpryd, a barai yr effaith fwyaf chwerthiniol ar gyfeillach o ddynion a welsom erioed. Pan fyddai Morgan Dafydd yn traddodi araeth, yr oedd ganddo ryw ddawn neillduol i wneuthur camgymeriadau o'r fath fwyaf digrifol: rhoddai y "càr o flaen y ceffyl," ac weithiau y càr heb y ceffyl, yn y fath ddull hyderus, nes y byddai pawb bron yn hollti gan chwerthin; ac wedi gorphen chwerthin, pan fyddai pawb mewn hwyl i ail wrando, yr oedd yr olwg ar Morgan a'i wynebpryd coegddifrifol, a rhyw ysgogiad annarluniadwy ar gonglau ei enau, y rhai a laesent ar y fath achlysuron, yn ddigon i beri iddynt ail ddechreu; ac fel hyn yr andwyodd Morgan lawer o gyfarfodydd yr hen gymdeithas, oblegid yr oedd yn anmhosibl ei droi allan trwy deg na thrwy hagr.

Pan ddechreuodd y gymdeithas newydd, nid oedd gan Morgan a'i gyffelyb na rhan na chyfran yn ei ffurfiad; ac felly dysgwylid y ceid llonyddwch ganddo ef a'i gyfeillion, ac na ddeuent byth i ddyrysu yr un o'i chyfarfodydd. Eithr un noson, pan yr oedd Cymdeithas y Gwŷr Ieuainc yn gynnulledig, y rheolau wedi eu darllen, y cadeirydd wedi agor y cyfarfod, ac un neu

ddau o'r gobeithiolion wedi traddodi ffrwyth ei fyfyrdodau ar y "Buddiol-deb o Ddarllen," pwy a ddeuai i mewn ond Morgan Dafydd yn "llawn" iawn. Eisteddodd i lawr yn ddigon tawel ar gader wag yn nghongl yr ystafell tra y bu yr hwn oedd ar ei draed yn gorphen ei araeth; ond mor fuan ag y terfynodd hwnw, wele Morgan ar ei draed, ac wedi cyfarch y cadeirydd, dechreuodd areithio ar y pwnc mewn llaw gyda'i lithigrwydd a'i gamgymeriadau arferol. Er i'r cadeirydd gyda holl urddas a difrifoldeb ei swydd geisio ganddo dewi, yr hyn a addawai Morgan ei wneuthur bob tro, ond cael dywedyd "un gair bach yn rhagor," parhäodd i ymadroddi allan o bob rheswm o hyd; methwyd ei roddi i lawr trwy unrhyw foddion, ac ni roddes heibio nes gweled fod yr aelodau yn myned ymaith, a'i fod yntau yn debyg o gael ei gloi mewn unigedd am y noson hono yn ystafell y gymdeithas, yr hyn a fuasai yn gydffurfiad â'r gymdeithas hono y sonia Addison am dani, un o reolau yr hon ydoedd "os byddai i un o'r aelodau ddewis cael holl amser y gymdeithas i siarad, fod hwnw i gael ystafell iddo ei hun." Fodd bynag, diangodd Morgan rhag y cyfryw unigedd y tro hwnw, er iddo droseddu y rheolau; a chafodd mwy nag un a wŷr ieuainc Llanllenorion fyned adref y noson hono "â'i gân yn ei gôd" trwy i Morgan gymeryd i fyny yr amser.

Nis gallwn oddef i'r hanes hwn am Wŷr Ieuainc Llanllenorion fyned un linell yn hŵy heb ddwyn i mewn iddo un cymeriad a ddylanwadodd lawer ar feddyliau a chymeriadau gwrthddrychau hyn o hanes. Yr enw wrth ba un y dynodwn y cymeriad crybwylledig ydyw William Anwyl. Daeth i'r dref yn ddyn ieuanc boneddigaidd a thrwsiadus fel pregethwr yr efengyl, a bu ei briodas â boneddiges ieuanc o'r gymydogaeth yn foddion i'w ddwyn i wneyd ei gartref yn Llanllenorion. Trwy ddyfal fyfyrdod, a thalentau uwchlaw y cyffredin, daeth yn bregethwr o enwogrwydd, nid yn unig yn Llanllenorion, ond hefyd yn yr enwad lliosog a pharchus y perthynai iddo, yn yr hwn y bu am flynyddau lawer yn llenwi cylch o gyhoeddusrwydd ac ymddiriedaeth. Yr oedd llarieidd-dra ei ysbryd, a'i addfwynder yn ei holl ymddygiadau tuag at ddynion yn yr eglwys a'r byd, yn gyfryw ag a ennillai serch y dynion mwyaf anhywaith. Yr oedd golwg urddasol a boneddigaidd arno ar yr heol, fel y teimlai dyn ei law yn myned yn naturiol at ei het pan gyfarfyddai âg ef; nid oedd neb a edrychai yn well ar gefn ei geffyl, a byddai ganddo yn gyffredin un o'r ceffylau goreu yn yr holl wlad; ac yn yr areithfa ymddangosai yn debycach i un o weinidogion harddaf a pharchusaf Llundain nag i'r efengylwyr gwledig a welid yn cynniweirio trwy Gymru yn y dyddiau hyny. Clywsom rai yn ei feïo am fod ei ymddangosiad yn falch; ond nid oedd y rhai hyny yn adnabod y dyn, onidê balchder fuasai y peth olaf y soniasent am dano mewn cysylltiad âg enw yr addfwyn, y gostyngedig, a'r haelfrydig William Anwyl. Yr oedd y dynion a glywsom yn dwyn y cyhuddiadau crybwylledig yn ei erbyn yn perthyn i'r dynsodion bychain a rhagfarnllyd a dybiant fod annybendod gwisgoedd a gwallt dyn yn brawf o'i dduwioldeb. Clywsom am un pregethwr a aethai i'r areithfa heb *frwsio* ei gôt, er ei fod wedi bod yn yr ystabl y bore hwnw; a'r esboniad a roddai rhai o'r gwrandäwyr, druain, ar y fath ymddangosiad aflêr ac annheilwng ydoedd, "Onid ydyw —— yn ddyn isel a duwiol iawn? nid oes dim balchder ynddo fo—welsoch chwi yr hadau gwair hyd ei gôt o, ac yn ei wallt o?—mae o yn ddyn duwiol iawn." Ond yn ffodus y mae y genedlaeth a lefarent yr iaith yna yn prysur ddi-

flanu o Gymru, ac y mae yn dda genym ddeall fod aflerwch a butrwch yn cael edrych arno fel arwydd o bob peth yn hytrach na duwioldeb, yr hon nid ydyw yn gofyn i'w pherchenogion fod yn rhyw bethau dilûn ac annhaclus, oblegid harddu ac nid anurddo dynion y mae gwir grefydd. Y mae gofal am yr enaid yn cynnyrchu gofal am yr holl ddyn, ac y mae yr ystyriaeth fod eu cyrff yn demlau i'r Ysbryd yn tueddu y saint i dalu sylw i'w cyrff, fel y byddont yn deilwng o'r urddas a'r anrhydedd a ddyry Duw arnynt trwy eu galw yn breswylfeydd iddo ei hun.

Nid hir wedi dyfodiad William Anwyl i Lanllenorion, y bu heb weled yr anghenrheidrwydd o gymeryd mewn llaw ryw fasnach, er gallu byw yn anrhydeddus ymysg y rhai yr arweiniwyd ef gan Ragluniaeth i gymeryd eu gofal. Er ei fod yn feddiannol ar gyfoeth, eto nid oedd ei feddiant yn caniatâu iddo fyw yn hollol arno heb ryw gynnorthwy. Buasai yn hawdd iawn i'r gynnulleidfa i'r hon y gweinyddai mewn pethau ysbrydol ei gynnal yn anrhydeddus, ac felly gwneuthur ei feddwl yn dawel gyda golwg ar bethau y bywyd hwn, fel y gallasai lwyr gysegru ei alluoedd at orchwylion pwysfawr ei swydd gysegredig. Ond ni welsant yn dda wneuthur hyny. Yr oedd rhyw eglwysi gynt yn dysgwyl y cawsai eu gweinidogion eu "cynnaliaeth o'r nefoedd." Clywsom am un gweinidog ieuanc—yr hwn wedi hyny a fu farw mewn iselder ysbryd o herwydd ei gyfyngderau arianol—pan draethai ei gŵyn wrth ei ddiaconiaid, a gafodd ganddynt y cysur canlynol, "O Mr. ——— bach, peidiwch a rhoddi eich meddwl i lawr; cofiwch yr addewid, 'Dy fara a'th ddwfr a fydd sicr,'" a dyna yr oll a roddai y coegdduwiolion hyny i gynnal meddwl eu hathraw ysbrydol. Y mae lle i ofni fod cyfoeth llawer o aelodau eglwysi Cymru wedi ei ystaenio â gwaed rhai o weinidogion yr efengyl. Y gwir ydyw mai ychydig iawn o weinidogion gwir deilwng, er eu holl dalentau, sydd yn meddu ar lawer o gymhwysderau i drin y byd. Addefwn yn rhwydd fod rhai o'r pregethwyr teilyngaf a fagodd Cymru erioed wedi bod yn dra llwyddiannus yn mhethau y byd; ond ceir ymhob un o'r amgylchiadau hyny mai talent y wraig, ac nid medr y gŵr, a ddygai y fasnach ymlaen, ac nid ydynt ond eithriadau anfynych iawn. Y mae y gwir bregethwr wedi ei wneuthur a'i fwriadu gan Dduw i waith y weinidogaeth; y mae yntau wedi gwneuthur anrheg o hono ei hun i'w eglwys er ei chysur a'i hadeiladaeth, a'i dyledswydd hithau ydyw prisio rhoddion ei Phen, a gwylied rhag, wrth beidio bod yn ofalus am danynt, dynu ei ŵg Ef arni.

Yr oedd William Anwyl yn ddyn hollol anghymhwys i drin y byd hwn. Yn nghanol ei ogoniant fel gweinidog yr efengyl, ac yn ei lawn nerth fel dyn, dyrysodd ei fasnach; torodd cwmwl du, llawn, uwch ei ben; aeth ei enw yn ddirmygus gan y rhai a'i hanrhydeddent o'r blaen; ac wele genad Arglwydd nef a daear yn nwylaw ceisbyliaid geirwon. Y galon fu yn cydymdeimlo â llawer un adfydus sydd yn awr yn ymdori gan lawnder ei gofid ei hun; a'r llais tyner a fu yn cyhoeddi tangnefedd nes tawelu y dymhestl mewn llawer mynwes gythryblus, sydd yn gruddfan o herwydd llwyth trwm o ofidiau. Nid anghofiwn byth—na wnawn byth—mo'r effaith a gafodd arnom ac ar gannoedd eraill ar un achlysur, pan yn nghanol ei ofidiau y cyfodai ei lais peraidd, ac y dywedai gyda llygad wylofus, "Yr Arglwydd a roddodd, yr Arglwydd a ddygodd ymaith: bendigedig fyddo enw yr Arglwydd." Ni chlywsom y fath "fendigedig" na chynt na chwed'yn yn dyfod o enau marwol ddyn. Rhwygodd y nefoedd, daeth y tu fewn i'r

llen i'r golwg, ac yr oedd y gynnulleidfa yn foddfa o dan y rhaiadr o ddylanwad nefol a ddisgynodd ar y pryd. Torodd un hen frawd sydd yn awr yn y nef i waeddi, ac anfynych iawn y clywsid ef yn gwneuthur y fath beth, "Fe ä y cwmwl heibio yn fuan."

Nid effeithiodd y cyfyngder hwn mewn un modd yn niweidiol ar feddwl ac ysbryd Wiliam Anwyl; ni chlywyd un ymadrodd chwerw nac anfoddog o'i enau. Yr oedd ei deimlad tyner yn gwaedu wrth feddwl am y gwarth a achlysurodd y peth i achos crefydd yn y wlad, ac wrth feddwl am y defnydd a wnai gelynion yr achos o'r amgylchiad. Ond yr ydym yn credu i'r Nefoedd fod yn hael iawn o'i chysuron iddo drwy y cwbl. Tra yr oedd y byd yn gwgu, a llawer brawd crefyddol yn edrych yn oer arno, yr oedd ei Dad nefol yn ei gynnal, a theimlai yntau pa mor isel bynag y syrthiasai, fod y "breichiau tragywyddol" yn îs "odditanodd," er maint y dyfnder mawr. Yr oedd yn ymaflyd yn ngholofnau y nefoedd, ac felly nis gallodd y ffaith fod y byd yn llithro o dan ei draed effeithio ei ddinystr.

Llithrodd blynyddau meithion heibio cyn i William Anwyl esgyn areithfa wed'yn; ond yn y blynyddau hyn ni bu yn segur a diffrwyth yn ngwinllan ei Arglwydd. Defnyddiai bob cyfle a gaffai er gwneuthur daioni. Treuliodd lawer awr i addysgu ieuenctyd Llanllenorion yn mhynciau Cristionogaeth. Ysgrifenodd lawer, ac areithiodd lawer ar ddiwygiadau yr oes; a phan ail agorwyd drws yr areithfa iddo, dangosodd Duw yn llewyrchiadau ei wyneb mai ei was ef ydoedd; a chafodd y fraint o dreulio blynyddau olaf ei oes yn weinidog llafurus a llwyddiannus mewn cŵr arall o winllan ei Feistr, nes y galwyd ef at ei wobr, lle y mae "y rhai a dröant lawer i gyfiawnder, fel y ser byth ac yn dragywydd." Y dyn anwyl! y mae ei goffadwriaeth yn garuaidd heddyw gan gannoedd a miloedd, ac y mae ei addysgiadau wedi chwanegu llawer at gyfrifoldeb Gwŷr Ieuainc Llanllenorion. Yr ydym wedi aros ychydig gydag ef yn yr hanes hwn, ond nid cyhyd ag y dylasem—y mae efe ei hun yn deilwng o erthygl faith—oblegid yr oedd a wnelai ef lawer â ffurfiad ac â nodweddiad y gymdeithas dan sylw.

Yr oedd un cymeriad arall yn y dref y buasai yn dda genym dreulio ychydig amser gydag ef, ond ni chawn ond dywedyd "gair bach wrth fyned heibio," chwedl yr hen bregethwyr gynt, mewn perthynas iddo. Yr oedd yntau yn un nodedig o ran addfwynder ei ysbryd, ac yr oedd callineb, a phwyll, ac arabedd, yn dynodi yr hyn oll a ddywedai. Yr oedd yn barchus gan bawb; ac ystyrid ef, er nad oedd ond tlawd o ran amgylchiadau, fel tywysog ymysg ei gyfoedion. Yr oedd ynddo alluoedd cryfion, ac yr oeddynt yn dra amrywiol. Beth bynag a gymerai mewn llaw, yr oedd yn sicr o ragori ynddo. Yr oedd yn areithiwr swynol, yn fardd awenyddol, yn gerddor dihafal, ac ar unrhyw achlysur o gyfyngynghor yr oedd yn werth myned ato i ofyn ei gyfarwyddyd. Yr oedd yn gyfaill doeth a fedrai lesâu ei gyfeillion, ac yn gyfaill tyner a fedrai gydymdeimlo â hwy. Dyn cyflawn ydoedd. Nis gwyddom i ba enwogrwydd y buasai wedi ymddyrchafu cyn hyn; ond yn mlodau ei ddyddiau, gwywodd y planigyn prydferth hwn yn raddol, ac nid oes heddyw yn Llanllenorion ond ei fedd, a'i goffadwriaeth, yr hwn sydd fel "gwin Libanus." Yr oedd y brawd hoffus hwn hefyd yn un tra pharod bob amser i gynnorthwyo rhai ieuengach nag ef ei hun, a bu yn gynnorthwy nid bychan i Wŷr Ieuainc Llanllenorion yn eu hymchwiliadau am wybodaeth. Yr oedd gormod o wir fawredd ynddo i ofni gweled rhyw un arall yn rhagori; eithr i'r gwrthwyneb, bu yn

foddion lawer gwaith i ddwyn allan i'r cyhoedd rai ag y buasai eu hofn a'u hyswildod yn rhwystr anoresgynadwy ar eu llwybr i gyhoeddusrwydd a defnyddioldeb.

Dan nawdd a chyfarwyddyd y ddau a enwyd y dechreuodd Cymdeithas Gwŷr Ieuainc Llanllenorion; a thrwy i synwyr y rhai hyn fod wrth y gwaith o ffurfio ei rheolau, a'u bod hefyd yn rhoddi eu presennoldeb a'u cynnorthwy yn y cyfarfodydd, yr hyn a roddai bwysigrwydd a difrifoldeb ar y gymdeithas, dechreuodd y sefydliad dyddorol hwn dan amgylchiadau tra gobeithiol. Yr oedd y gwŷr ieuainc yn llawn bywyd llênyddol, pa bryd bynag y cyfarfyddent. Gramadeg Cymraeg, Rheolau Barddoniaeth, Hanes y Cymry, ac Athronyddiaeth Naturiol, ydoedd prif destun eu hymddyddanion. Trôdd rhai o honynt eu meddyliau yn benaf at gangen fwy dyrchafedig o wybodaeth, sef Duwinyddiaeth, ac yr oeddynt yn hollol gyfarwydd â'r gwahaniaethau rhwng barnau gwahanol enwadau crefyddol tra eto yn fechgyn. Esgorai hyn ar ddadleuon duwinyddol brwd a mynych, a chrëodd chwaeth at yr athrawiaethol ymhob peth. Diystyrai y doctoriaid difarf hyn bob peth profiadol ac ymarferol mewn crefydd, fel pe na buasai ond cyfundraeth i'w deall yn unig ac nid i'w theimlo a'i hymarfer. Nid ystyrient hwy bregeth yn werth dim os na byddai, fel y dywedent, "yn bregeth ar bwnc;" ac os soniai pregethwr lawer am y pynciau ynghylch pa rai yr amrywia Cristionogion yn eu barnau, ac os dywedai lawer am fod hwn a hwn yn "barnu" fel hyn, a bod y llall yn "golygu" fel arall, elent adref dan ddywedyd ei fod yn ddyn mawr, neu (dyna'r gair) "yn ddyn *trwm* iawn." Rhaid addef fod yn dda gan yr hen bobl weled y bechgyn yn rhoddi eu bryd ar bynciau athrawiaethol crefydd; ond gyda llawer ochenaid a gwedd ddifrifol yr ofnent fod pethau ysbrydol crefydd yn hollol ddyeithr iddynt; ac yn wir, nid oedd yr ofnau hyn yn ddisail, gan mai nid yn ysbryd crefydd y gwneid yr ymchwiliadau hyn i'w hathrawiaeth, eithr mewn ysbryd hollol wahanol. Ond y fath ydoedd hyder yr hogiau hyn yn eu hanffaeledigaeth, fel y penderfynent yn ddiofn bynciau ynghylch pa rai y crynai prif dduwinyddion yr oesoedd; ac ystyrient bob dysgawdwr yn un tra diffygiol os na ddeuai i fyny â'r golygiadau hyny a bleidient hwy. Yr oedd yr Ysgol Sabbothol, y gweithdai, a chonglau yr heolydd, llwybrau y maesydd cyfagos, yn fynych yn olygfeydd ymha rai y gwelid yr amlygiadau hyn o zel a gwybodaeth gwŷr ieuainc y dydd a'r dref hono.

Yr oedd cryn lawer o ysbryd cyhoeddus yn y gwŷr ieuainc hyn, oblegid nid ymfoddlonent ar gadw eu talentau o fewn cylch cyfyng eu cymdeithas eu hunain, ond defnyddient hefyd bob cyfleusdra mwy cyhoeddus a ymgynnygiai er arddangos doniau areithyddol. Yr oedd cyfarfodydd Dirwestol yn gyfleusderau rhagorol i hyn, a mynych y clywid rhai o honynt yn anerch cynnulleidfäoedd llïosog yn y dref a'r cymydogaethau ar yr achos daionus hwnw. Buasai yn dda erbyn heddyw i lawer o honynt pe buasent wedi glŷnu wrth egwyddorion ac ymarferiad y gymdeithas ragorol hono, yn lle, fel y cawn gyfle i adrodd yn helaethach, syrthio yn ysglyfaeth i feddwdod, a disgyn i fedd dianrhydeddus. Yr oedd un dyn ieuanc yn ein plith, yr hwn bob amser a ddirmygai yn fawr bob cynnygiad a wnai ei gyfoedion at siarad yn gyhoeddus. O'r diwedd cafwyd cyfle iddo ef arfer ei ddawn, o'r hwn y proffesai fod ganddo ryw ddiderfyn stôr; ond mor fuan ag y cododd i fyny, dechreuodd dywyllu arno; gorfu iddo eistedd i lawr a'i wyneb yn llosgi gan gywilydd, ac ni chlywsom iddo byth ar ol hyny godi ar ei

draed ar unrhyw achlysur cyhoeddus, ac ni feiddiodd mwyach yngan gair yn ddirmygus am y llefarwr cyhoeddus mwyaf didalent; oblegid deallodd y tro hwn, fod sefyll o flaen torf o bobl, a chadw ei feddyliau heb ddyrysu, yn orchwyl lled fawr, mwy nag y gallai ef ymffrostio yn y gallu o'i gyflawni.

Un dydd Nadolig, cafodd Gwŷr Ieuainc Llanllenorion gyfle i ddangos eu galluoedd mewn dull tra chyhoeddus. Cyhoeddwyd cyfarfod cystadleuol; ni oddefent yr enw Eisteddfod, gan fod cryn lawer o ddiota wedi ei achlysuro gan gyfarfod dan yr enw a gynnaliwyd yn y gymydogaeth ryw dro. Yn y cyfarfod hwnw bu amryw o'r gwŷr ieuainc yn ymgystadleuwyr, ac ennillasant wobrau bychain am eu cynnyrchion; tra yr oedd eraill yn ystyried eu bod wedi cael camwri mawr ar ddwylaw y beirniaid, a pharodd hyny raddau o genfigen ac oerfelgarwch rhwng aelodau y gymdeithas dros beth amser, yr hwn yn ffodus a aeth heibio, ac adferwyd pethau i'w hen ddull arferol.

Ar y cyfan, cafodd y gwŷr ieuainc hyn bob cyfleusdra i ddyfod rhagddynt. Cawsant athrawon da, cefnogaeth gan eu rhieni ymhob daioni, amser a manteision na welsai eu tadau mo'u cyffelyb, a chynnysgaethwyd rhai o honynt â thalentau a galluoedd naturiol nad oedd yn anghenrheidiol ond eu diwyllio a'u cadw dan reolaeth egwyddorion da er eu gwneuthur yn addurniadau i gymdeithas, ac yn ogoniant i'w gwlad. Pa un a droisant allan felly ai peidio ydyw yr hyn sydd genym i'w osod allan yn y rhan sydd yn ôl o'r hanes hwn am danynt, yr hwn yn ddiau a ddarllenir gan rai o honynt tu yma a thu draw i Fôr y Werydd. Os bydd yr hanes yn offerynol i gryfhâu a gwroli rhai o honynt yn ffyrdd rhinwedd a chrefydd, ac os bydd yn foddion i adferu i'r llwybrau hyfryd hyny ryw hen gyfaill hoff a ddichon fod wedi crwydro o honynt, bydd yr ysgrifenydd wedi cael i'w fynwes y gorfoledd mwyaf a all ddymuno tu yma i'r nefoedd.

---

# AFFRICA A DR. LIVINGSTONE.

DILYNASOM Dr. Livingstone i dref y Penrhyn wedi ei ddychweliad o'i deithiau blaenorol. Oddiyno, ar ol gosod ei deulu ar fwrdd llong i ddyfod i Loegr, efe a gychwynodd ar ei daith fawr ddiweddaf yn nechreu Mehefin, 1852. Ei fwriad ydoedd myned i fyny yn union i Linyanti, prifddinas y penaeth ymadawedig Sebituane, yna troi ar ei aswy a theithio tua'r gogleddorllewin nes cyrhaedd St. Paul de Loando, prifddinas y sefydliad Portugiaidd Angola, ar làn Môr y Werydd; wedi hyny troi yn ei ol, a myned ar draws y cyfandir mawr hyd Quilimane, yn y dwyrain o Affrica, ac ar làn Môr India. Ac fel y bwriadodd, felly y gwnaeth. Teithiai yn null arferol y wlad hono mewn pedrolfen drom, yn cael ei thynu gan ddeg o ychen. Ei gymdeithion oeddynt ddau gristion Bechuanaidd, dau o'r Bakwainiaid, a

dwy eneth ag oeddynt wedi bod yn gweini i'w blant yn dychwelyd adref i Kolobeng. Nis gallwn fanylu ar ei ddesgrifiad o'r wlad o'r Penrhyn i fyny i Linyanti. Desgrifia arwynebedd y wlad o fôr i fôr, ac o'r Penrhyn hyd y Zambesi. Ac nis gallwn ychwaith adrodd yr hanesynau a rydd er dangos arferion a hynodion ei bwystfilod a'i hadar hi. Y mae yn diorseddu "brenin y goedwig." Byddem yn arfer edrych ar y llew fel siampl o ddewrder. Efe oedd yn cael ei ystyried yn gynrychiolydd y gwrolion ymhob gwlad. Ond y mae Dr. Livingstone, ar ol mwy o gydnabyddiaeth âg ef nag sydd wedi syrthio i ran ond ychydig o Ewropëaid, ac ar ol teimlo llymder ei ddannedd a nerth asgwrn ei ên, yn ei yspeilio o'r enw da y mae wedi ei wisgo am oesoedd, ac yn ei osod goris amryw o fwystfilod y goedwig. Ac am ei ruad sydd yn arfer cael ei alw yn "fawreddog," nid yw ein teithiwr yn medru adnabod y gwahaniaeth rhyngddo â gwaedd yr estrys, ond trwy fod yr olaf yn gwaeddi liw dydd, tra nad yw y cyntaf yn arfer rhuo ond liw nos.

Golyga Dr. Livingstone nad yw ymdrechion cenadol wedi cael cymaint o effaith yn Affrica ag y gallesid dysgwyl, ac nad yw y dychweledigion yn gystal dynion ag y byddai dymunol eu bod. Yr oedd efe yn dysgwyl eu cael yn debyg i'r Cristionogion cyntefig—crefyddwyr yr oes Apostolaidd, a chafodd ei siomi. Ar yr un pryd, wrth gymharu y bobl ag y mae Cenadau wedi eu sefydlu yn eu plith â phobl eraill sydd hyd yn hyn heb gael hyny o fraint, fe welir ar unwaith fod gwaith mawr wedi cael ei wneyd trwy yr anturiaeth genadol. Ar ol bod am amser yn mherfeddion y wlad, teimlai wrth ddychwelyd i Kuruman ei fod yn dychwelyd at fywyd gwareiddiedig. Pan gyferchir hwy gan y cenadwr, talant sylw; ymddangosant fel yn gwrando gydag astudrwydd pan y mae yn gosod ger eu bron wirioneddau mawrion yr efengyl; ond pan elo ar ei liniau, ac y dechreua gyfarch y Bôd anweledig, y mae y peth mor newydd, ac yn ymddangos mor ddigrifol iddynt hwy, fel y maent yn tori allan mewn banllefau o chwerthin. Darfu i genadwr unwaith ddechreu canu mewn cynnulleidfa yn gynnwysedig o Bechuaniaid gwylltion. Nid oedd y rhai hyny druain wedi clywed y fath beth erioed, na chymaint ag wedi dychymygu fod y fath beth i'w gael yn y byd; ac nid oedd y gronyn lleiaf o beroriaeth yn eu cyfansoddiad; o ganlyniad, yr effaith a gafodd ymdrech ganmoladwy y cenadwr da oedd gyru yr holl gynnulleidfa i chwerthin nes oedd y dagrau yn treiglo dros eu gruddiau. Ond ar ol ychydig o oedfaon, y maent yn gorchfygu y duedd at chwerthin, ac yn dysgu ymddwyn yn rhesymol weddus. Er mor annhrefnus y maent, y mae lle i obeithio fod pregethu yr efengyl yn cael effaith ddaionus ar lawer o honynt, hyd yn nôd o'r dechreuad. Y maent weithiau yn cael eu hunain i ddechreu meddwl, ac yn dysgu ymddwyn fel y dylent. Addefodd amryw o honynt wrth Dr. Livingstone eu bod wedi dechreu gweddïo yn y dirgel hyd yn nôd yn amser eu hafreolaeth, a chafodd amryw o'r rhai a welsai yn ymddwyn fel y desgrifiwyd uchod, wedi eu goddiweddyd gan gystudd, yn taer weddïo ar Iesu Grist. Nid oes anghen dechreu ymhlith y rhai mwyaf anwar o honynt gyda sôn am y bôd o Dduw a sefyllfa ddyfodol. Y mae ganddynt fesur o wybodaeth am y gwirioneddau pwysig yna. Y maent yn priodoli pob peth, nas gellir ei olrhain i achosion naturiol, i'r Duwdod, megys crëadigaeth, angeu disyfyd, &c. Y mae "Mor gywrain y mae Duw wedi gwneuthur y pethau hyn," ac, "Nid dolur a'i lladdodd ef ond Duw," yn ymadroddion cyffredinol yn eu plith.

Cyrhaeddodd ein teithwyr Linyanti ar y 25 o Fai, 1853, a chawsant y croesaw mwyaf gwresog yno. Cynnwys y ddinas rhwng chwech a saith mil o drigolion, a thrôdd y rhai hyny allan, yn wŷr, gwragedd, a phlant, i weled y gwageni yn ymsymud. Nid oeddynt hwy wedi gweled y fath beth erioed o'r blaen. Derbyniwyd hwy gan y penaeth mewn dull breninol. Gosodwyd o'u blaen nifer mawr o ystenau yn llawn o *boyaloa*—cwrw y wlad hono. Dygid y rhai hyny gan fenywod, a chymerai pob un o honynt ddracht o'r ystên a ddygai, er mwyn boddloni yr ymwelwyr nad oedd dim gwenwyn yn yr hyn oedd yn cael ei osod ger eu bron. Darfu i ringyll y llys, hen ŵr a lanwai y swydd hono yn mywyd Sebituane, sefyll ar ei draed; ac ar ol myned trwy amryw odgastiau, megys neidio a gwaeddi nerth ei geg, bloeddiodd allan ryw frawddegau canmoliaethol fel y canlyn:—"Onid wyf yn gweled y dyn gwŷn? Onid wyf yn gweled cyfaill Sebituane? Onid wyf yn gweled tad Sekeletu?"—"Y mae arnom eisieu cwsg,"—"Rhoddwch gwsg i'ch mab, fy arglwydd," &c. Yr oedd gan y gŵr hwn gryn lawer o odfaelion *(perquisites)*, ac yn eu plith, penau yr holl anifeiliaid a leddid gan y penaeth; ac y mae ei ddyleswyddau yn amryw, a rhai o honynt yn hytrach yn anhyfryd. Efe sydd i wneyd yn hysbys yr holl gyhoeddiadau, ac i alw cyfarfodydd—efe sydd i gadw y cyntedd yn lân, ac i gynneu tân yno bob prydnawn; a phan ddygwyddo—ac nid anfynych y mae hyny yn dygwydd chwaith—i ryw druan gael ei ddienyddio yn gyhoeddus, efe sydd i lusgo ymaith y corff.

Sekeletu, mab Sebituane, gŵr ieuanc oddeutu deunaw oed, oedd y penaeth ar hyn o bryd. Nid oedd cystal ei olwg na chymaint ei allu â'i dad, ond yr oedd yn teimlo yn llawn mor garedig at y bobl wŷniou. Gosodasai Sebituane ei ferch Mamochisáne yn y benaduriaeth yn hir cyn ei farw. Ac yr oedd y bobl yn ddigon boddlawn i ymostwng i'w llywodraeth hi; ond buan y cyfododd anhawsder ar ei ffordd. Y gwŷr yw yr arglwyddi yno. Gallasai fod yn arglwyddes ar bawb eraill; ond pa fodd yr oedd yn bosibl iddi hi—menyw—fod yn ben ar ei gŵr? Dyna oedd yr anhawsder. Hi a gafodd un gŵr, a galwai y bobl *ef* yn wraig; ond ni wnai hyny y tro —*gwr* ydoedd wedi'r cwbl, a thaflodd y llywodraeth i fyny mewn anobaith. Yr oedd yn well ganddi hi gael gŵr a theulu na chael teyrnas. Mewn cymanfa o'r bobl, dywedai, â'r dagrau yn ffrydio o'i llygaid,—"Cymerais y benaduriaeth yn unig ar ddymuniad fy nhad. Buasai yn well genyf fi o'r dechreu briodi, a chael teulu fel menyw arall. Rhaid i chwi, Sekeletu, fod yn benaeth, ac adeiladu tŷ eich tad." Ac felly y bu. Cyn bod Dr. Livingstone wedi bod yn hir yn Linyanti, cymerodd y penaeth ef o'r neilldu, a gofynodd iddo pa beth a allai efe ei wneuthur drosto? Cai y peth a fynai yn y dref neu allan o honi—dim ond iddo ei enwi. Dywedodd y cenadwr wrtho mai ei amcan ydoedd ei ddyrchafu ef a'i bobl i fod yn Gristionogion; ond atebai yntau nad oedd efe yn dewis dysgu darllen y llyfr, rhag iddo ei argyhoeddi, a'i wneyd yn foddlawn i fod wrth un wraig, fel yr oedd wedi gwneyd â Sechele. Yr oedd yn rhaid iddo ef gael pum' gwraig bob amser o leiaf.

Arosodd Dr. Livingstone gyda Sekeletu am oddeutu pedwar mis; ac yn ystod yr amser hwnw, talodd ymweliad yn nghymdeithas y penaeth âg amryw o drefydd o fewn ei lywodraeth. Nid oedd Sekeletu wedi ymweled â rhai o'r lleoedd hyn o'r blaen er pan ddaethai i'r orsedd. Cychwynasant mewn crwnfadau *(canoes)* i fyny yr afon Leeambye; yr oedd y

penaeth, fel y gellid dysgwyl, yn teithio gyda rhwysg breninol, gan gael ei gylchynu gan lawer o benaethiaid ei lŷs. Yr oedd y llynges yn cael ei gwneyd i fyny o dri ar ddeg ar hugain o fadau, a chant a thri ugain o ddynion. Ni fedr y Makololo nofio: os syrthiant i'r dwfr, i lawr y maent yn myned fel càreg. Ar ddiwrnod cyntaf eu mordaith, neu eu hafondaith yn hytrach, dygwyddodd damwain anhapus; llanwyd bâd y meddyg Makololaidd, a dymchwelodd, a chollodd y boneddwr hwnw ei fywyd. Perthynai y rhwyfwyr i lwyth arall—y Barotse. Nofiasant hwy i'r làn, ac achubasant eu bywyd; ond yr oedd arnynt ofn y deuent iddi eilwaith yn yr hwyr am na buasent yn achub y meddyg. Ychydig a fuasent yn well o ddianc rhag boddi os byddai i angeu eu goddiweddyd cyn nos mewn ffordd arall. Pe buasai yr hen feddyg yn berson o bwys, cawsent eu rhoddi i farwolaeth bob yr un; ond gan nad oedd efe fawr o beth, fel y dywedir, cawsant eu harbed.

Daethant i dref lle yr oedd dau ŵr mawr ag oeddynt rhyw amser yn ôl wedi bradfwriadu yn erbyn bywyd Sekeletu. Cymerwyd mesurau byrion at y rhai hyny druain. Taflwyd hwy ar eu penau i'r afon, a thyna ben am danynt. Tebyg mai prin y cafodd yr anadl fyned allan o honynt cyn eu bod wedi myned yn wledd i'r crocodiliaid. Ceisiodd Dr. Livingstone ddangos iddynt nad oedd yn iawn gwneyd mor ysgafn â bywydau dynol; ond cyfiawnhâi y cynghorwyr eu hunain trwy gyfeirio at y dystiolaeth a roddasai chwaer y penaeth yn erbyn y dienyddiedig; ac ychwanegent, "Chwi a welwch mai Boers yr ydym ni yn parhâu; nid ydym eto wedi cael ein dysgu."

Derbynid y penaeth ymhob man gyda banllefau o lawenydd. Deuai y gwragedd allan, gan waeddi â'u holl egni "Y llew mawr!" "Y penaeth mawr!" "Cysgwch fy arglwydd!" &c. Gwaeddai y gwŷr rywbeth cyffelyb; ond nid ymddangosai fod Sekeletu yn gosod fawr o bwys ar y naill na'r llall. Ar ol ychydig o ymddyddan ac adrodd y "newyddion diweddaraf," codai penaeth y pentref, a dygai nifer o ystênau mawrion yn llawn o ddiod. Yfed mawr, wrth gwrs, fyddai nesaf; ond nid ymddengys fod eu diod yn feddwol.

Daethant i Naliéle, yr hon a fuasai unwaith yn brifddinas Santuru, penaeth y Barotse; ond yr oedd y ddinas a'r llwyth yma wedi eu darostwng gan Sebituane, ac yn awr o dan lywodraeth ei fab Sekeletu. Yr oedd Santuru yn ei ddydd yn heliwr mawr, ac yn hynod hoff o ddofi anifeiliaid gwylltion. Dygai ei bobl bob *antelope* ieuanc a allent ei ddal iddo ef i'w ddofi; ac ymhlith pethau eraill dygasant iddo ddau afonfarch (*hippopotami*). Dofwyd y rhai hyny. Byddent yn chwareu yn yr afon trwy y dydd, ond gofalent am ddyfod i fyny i Naliéle erbyn yr hwyr i ymofyn eu swper o laeth a blawd. Gwnaeth Dr. Livingstone ymchwiliad yma er cael allan pa un a oedd dynion gwŷnion erioed wedi ymweled â Santuru; a methodd a chael un hanes fod y fath beth wedi dygwydd. Yn wir, yr oedd profion pur benderfynol i'r gwrthwyneb. Talasai rhai o'r Mambári ymweliad âg ef unwaith. Eu neges oedd prynu caethion; ond ni fynai Santuru, na neb o'i isbenaethiaid, werthu pobl, ac o ganlyniad cawsant ddychwelyd yn aflwyddiannus. Nid yw y Barotse mwy na'r Makololo yn medru cadw cofnodau; ond y mae pob amgylchiad o bwys yn cael ei gadw mewn côf trwy enwau. Gelwir y flwyddyn y daeth Dr. Livingstone i Linyanti y tro cyntaf, "Y flwyddyn y daeth y dynion gwŷnion," neu "Y flwyddyn y bu farw

Sebituane;" y cyntaf y rhan fynychaf, am eu bod yn ymgadw hyd y mae ynddynt rhag gwneyd un cyfeiriad at yr ymadawedig. Ar ol ymweliad cyntaf Mrs. Livingstone, galwyd llïaws o blant wrth yr enwau "Ma-Robert," neu fam Robert; dyna oedd enw ei phlentyn henaf. Galwyd eraill, Dryll—Ceffyl—Wagen—Monare—Iesu, &c. Ond nid oedd enwau o'r fath i'w cael ymhlith y Barotse cyn eu hymweliad hwy. Ac y mae ymweliad dyn gwŷn yn beth mor hynod, fel y mae yn sicr pe buasai hyny wedi dygwydd o fewn y tri chan' mlynedd diweddaf y buasai rhyw draddodiad am dano. Yr oedd pob peth yn argyhoeddi ein teithiwr nad oedd y Barotse wedi gweled dyn gwŷn erioed, nes iddo ef a Mr. Oswell ymweled â hwy yn y flwyddyn 1851.

Cyfarfu Dr. Livingstone â dau Arabiad o Zanzibar, mewn pentref yn agos i Naliéle. Yr oedd y rhai hyn mor dywyll eu crwyn a'r Makololo; ond gan eu bod yn eillio eu penau hyd y croen, nis gellid gwybod pa fath oedd eu gwallt. Cafodd ychydig gyfeillach â'r rhai hyn. Medrent ddarllen ac ysgrifenu yn hwylus yn eu hiaith eu hunain. Dywedent fod Crist yn brophwyd da iawn, ond fod Mahomet yn un llawer mwy. Yr oeddynt yn ffieiddio y Portugiaid "am eu bod yn bwyta moch;" ac nid oeddynt yn hoffi y Saeson chwaith, oblegid yr oedd y rhai hyn yn eu "curo am werthu caethion." Ni ddarfu i Dr. L. ddywedyd gair o amddiffyniad i gig moch; ond anturiodd ddywedyd ei fod ef yn cyttuno â'r Saeson, fod yn well gadael y plant i dyfu i fyny i gysuro eu mamau pan elent yn hen, na'u cludo ymaith i'w gwerthu dros y môr. Addefent hyny; ond dywedent mai nid i'w hanfon ymaith felly yr oeddynt hwy yn eu ceisio. "Yr oeddynt yn eu hymofyn yn unig i drin y tir, ac i ofalu am danynt fel am eu plant." Yr un hen chwedl sydd gan gaethfeddianwyr a chaethfasnachwyr trwy yr holl fyd yn esgus dros eu gorthrwm digywilydd. Y maent wedi eu dysgu gan y naill y llall, neu gan dad y celwydd. Gofalu y maent am lesâd y bobl ddiraddiedig hyny, nad ydynt yn gwybod y ffordd i ofalu drostynt eu hunain. Gwneuthur drwg fel y dêl daioni!

Yn mis Medi, 1853, dechreuodd ein teithiwr wneyd parotöadau i gychwyn tua'r gorllewin. Ei amcan ydoedd ffurfio cysylltiad ac agor ffordd i fasnach rhwng canolbarth y wlad a glân y môr. Nid oedd y bobl fawr gwell o fasnachu â'r rhai a ddeuent i fyny o'r Penrhyn. Yr oedd y ffordd yno mor faith, ac yr oedd y rhai a ddeuent oddiyno yn gofyn cymaint am bob peth a ddygent, ac yn rhoddi càn lleied am yr hyn a geisient, fel nad oedd gobaith y gellid byth ddyrchafu y llwythau hyn heb gael rhyw lwybr mwy manteisiol i'w masnach. Yr oedd y Makololo yn foddlawn iawn i'w gynllun, ac anfonwyd dynion tua'r gorllewin i chwilio a oedd rhyw ffordd i'w chael heb fyned trwy y *tsétse*—y cylion gwenwynig a ddesgrifiasom yn y rhifyn diweddaf; a oedd rhyw fwlch i'w gael trwy ba un y gellid myned heb gyffwrdd â hwy; ond methwyd cael yr un. Yr oedd Benguela yn llawer nês na Loanda. Buasai yn fwy dymunol, gan hyny, i wneuthur am y lle cyntaf. Ond yr oedd y ffordd yno wedi ei halogi gan gaethfasnachwyr, ac yr oedd yn beryglus teithio yn ôl eu traed hwy, heb fod yn llawn arfog. Hysbyswyd Dr. L. hefyd gan y Mambári fod llïaws o Saeson yn Loanda. Tua Loanda, gan hyny, y penderfynodd fyned; yr oedd y ffordd yn llawer meithach, ond yr oedd hyny yn cael ei orbwyso gan y gobaith o weled ei gydwladwyr.

Galwyd "picho," neu gymanfa o bendefigion y bobl, i ymgynghori ar

y mesurau mwyaf effeithiol i osod cynllun y Doctor mewn gweithrediad. Arferir a chaniateir rhyddid mawr i siarad ar yr achlysuron yma. Y tro hwn darfu i un o'r hen swynyddion ardystio â'i holl egni yn erbyn yr holl gynllun. "I ba le," meddai, "y mae yn myned i'ch cymeryd? Y mae y dyn gwŷn yn myned i'ch taflu i ffwrdd—i'ch afradu. Y mae eich gwisgoedd eisoes yn arogli gan waed." Perthynai hwn i deulu y crygleiswyr. Y maent hwy i'w cael ymhob gwlad. Y maent yma yn Nghymru, lïaws mawr o honynt; buom ymron a dywedyd eu bod i'w cael yn ——, ond ymattaliwn. Y mae wedi gwlawio dau ddiwrnod yn amser y cynauaf,—"Fe bydra'r ŷd bob gwelltyn a phob gronyn." Y mae yn chwythu dipyn yn gryf,—"Ni a gawn glywed am longddrylliadau lawer, a cholledion mawrion ar y môr. Y mae tipyn o gwrdd Siartaidd wedi ei gynnal yn Llundain,—"Yr ydym ar fin chwyldröad mawr; Siartiaid fydd ben yn y man, a gwae fydd i bawb eraill." Un felly oedd hwn. Yr oedd bob amser yn breuddwydio fod rhywbeth dychrynllyd wrth y drws. Yr oedd diffyg ar yr haul neu y lleuad, neu ymddangosiad seren wîb, yn arwydd anghamsyniol yn ei fryd ef o'i bod yn llawn bryd i'r llwyth fyned ar ffô. Ond yr oedd Sebituane yn arfer edrych ar ei weledigaeth fel ffrwyth ei lyfrder, ac nid oedd Sekeletu yn gwneyd dim ond chwerthin am ei ben. Yr oedd y llais cyffredin o blaid cynllun Dr. Livingstone, a dewiswyd saith ar hugain o ddynion i fyned gydag ef tua'r gorllewin. Gofynodd y Makololo iddo, "Pe byddech chwi yn marw, oni byddai i'r bobl wynion ein beïo ni am adael i chwi fyned i wlad anadnabyddus, ac i blith gelynion?" Sicrhäodd iddynt na byddai i neb o'i gyfeillion eu beïo hwy, ac y byddai iddo ef adael llyfr gyda Sekeletu i'w anfon i Mr. Moffat, yn yr hwn yr oedd hanes pob peth a ddygwyddasai hyd amser ei ymadawiad. Rhoddodd Sekeletu y llyfr hwn i fasnachwr oedd yn myned tua'r dehau, ac ni welwyd ef mwyach.

Peth pur sobr i'n teithiwr oedd ymdaflu fel hyn i wlad ac i fysg llwythau hollol anadnabyddus. Prin y dysgwyliai Sekeletu a'i bobl ei weled ef mwy yn fyw; ac yr oedd hyny yn naturiol yn ei arwain yntau i feddwl am farw. Fel hyn y dywed efe ei hun ar y mater hwn—"Dygwyd y rhagolwg o ymadael â'r byd prydferth hwn fel hyn o fy mlaen, mewn ffurf bur deimladwy; ac ymddangosai yn beth tra difrifol ymadael â gwraig a phlant—tori i fyny bob cysylltiad â'r ddaear, a myned i sefyllfa o fodolaeth sydd yn gwbl anadnabyddus; ac yr wyf yn cael fy hun yn fy nyddlyfr yn dwys ystyried yr ymdaith ofnadwy sydd i'n tirio yn nhragywyddoldeb; yn ymholi a fydd i ryw angel da gysuro yr enaid crynedig ar ei fynedfa i fyd yr ysbrydoedd, a gobeithio y bydd i'r Iesu ddywedyd un gair o heddwch. Sefydlai hyny yn y fynwes dawelwch tragywyddol. Ond gan fy mod bob amser yn arfer credu, os gwasanaethwn Dduw o gwbl, y dylem ei wasanaethu mewn modd gwrol, ysgrifenais at fy mrawd gan orchymyn ein merch fechan i'w ofal ef, gan fy mod wedi penderfynu llwyddo neu drengu yn fy ymdrech i agoryd y rhan hon o Affrica. Darfu i'r Boers, trwy fy yspeilio o bob peth a feddwn, arbed i mi y drafferth o wneyd ewyllys. Wrth ystyried y galon ysgafn a adawsid yn awr yn fy mynwes, ac ar ol gwneyd rhai ymdrechion gweiniaid i gyflawni y ddyledswydd Gristionogol o faddeu, teimlwn ei fod yn llawer gwell bod yn un yspeiliedig na bod yn un o'r yspeilwyr."

Ni chymerasant gyda hwy ond ychydig o lwyth. Buasai hyny yn rhwystr iddynt wrth deithio, a buasai yn gosod profedigaeth o flaen

y llwythau i blith pa rai yr oeddynt yn myned. Cymerasant bedwar neu bump o ddrylliau, a dysgwylient y byddai i'r rhai hyny ddiwallu y rhan fwyaf o'u hanghenrheidiau, oblegid caent ddigonedd o helwriaeth ar eu ffordd. Cymerasant hefyd ychydig gistau yn cynnwys tê, coffi, siwgr, a *biscuits*, eraill yn cynnwys dillad, offerynau, tri neu bedwar o lyfrau, ymhlith pa rai yr oedd Bibl, ac un arall yn cynnwys cyfferiau meddygol. Ar yr 1leg o Dachwedd, 1853, ymadawsant.

Yr oeddynt i fyned am y darn cyntaf o'r daith mewn cychod ar yr afon; ac aeth y penaeth gyda hwy i'w gweled yn cymeryd y dwfr yn ddiogel. Yr oeddynt yn hwylio, neu yn hytrach yn rhwyfo, ar yr afon Chobe, nes fod hono yn ymarllwys i'r Leeambye. Cawsant ei bod yn beryglus i fyned dros yr afon hon o herwydd y llïaws afonfeirch sydd yn aros ynddi ac ar hyd ei glànau. Nid yw y rhai hyny yn grëaduriaid ysglyfaethus; nid ar ysglyfaeth y maent yn byw, ond ar laswellt a ffrwythau. Eithr y mae rhai rheolau yn perthyn i'w cymdeithas hwy nad ydym ni yn eu hadwaen, nac yn gwybod y rheswm am danynt. Ymysg pethau eraill, y maent yn arfer troi rhai gwryw sydd wedi myned i wth o oedran allan o'u cwmpeini. Gwelir y rhai hyny, druain, yma ac acw ar eu penau eu hunain. Y mae hyny yn eu gwneuthur yn swrth ac angharedig, ac nid ydynt yn rhuso ymosod ar gychod, a bydd ambell un o honynt yn beiddio rhedeg ar ol dynion. Wrth ddisgyn ar hyd yr afon, cawsant fod gorchymyn wedi ei anfon i'r pentrefi ar bob llaw "i ofalu na chai y Doctor fod mewn eisieu bwyd."

Yr oedd yr afon yn dra dolenog. Wrth ei dilyn hi, rhwyfent yn awr tua'r gogledd, yna tua'r gorllewin, wed'yn tua'r dê, ac yn y man tua'r gogledd eilwaith. Croesai rhai y plygiau hyn ar eu traed; ac er fod y badau yn teithio ddwywaith mor gyflym ag y gallent hwy gerdded, yr oedd y cerddwyr yn curo o'r hanner. Buont ddwy awr a deugain, yn rhwyfo bum milldir yr awr, yn teithio o Linyanti i'r fan yr ymarllwys y Chobe i'r Leeambye. Yr un afon yw hon â'r Zambesi; ond gelwir hi wrth yr enw cyntaf oddiyma tua'r gorllewin, ac wrth yr olaf oddiyma i waered tua'r dwyrain. Yn y fan hon troisant ar eu haswy, a rhwyfasant i fyny dros y Leeambye.

Ar y 19eg o Dachwedd, cyrhaeddasant Sesheke. Y mae y dref hon o dan lywodraeth Sekeletu, ond fod ei ewythr Morianstane yn îsbenaeth yno o dano ef. Y mae yno amryw lwythau, a rhyw fân benaethiaid arnynt oll, ond y Makololo sydd ben trwy yr holl wledydd hyn. Dyeithriaid a dyfodiaid ydynt hwy wedi darostwng yr holl lwythau brodorol, o dan eu penaeth mawr Sebituane. Ychydig yw eu rhifedi mewn cymhariaeth i'r llwythau sydd yn ddarostyngedig iddynt; ond y mae y gorchfygedig yn dwyn yr iau yn weddol ddirwgnach, ac nid yw yn iau drom iawn chwaith. Darfu i un o'r Makalaka drywanu ŷch yn perthyn i un o'r Makololo. Ei amcan ydoedd cael ychydig o'r cig, oblegid y mae Morianstane yn dwyn gair da am haelioni. Iddo ef yr oedd yr ŷch lladdedig yn disgyn yn ol cyfraith a defod, ac y mae yntau yn barod i ranu pob peth a ddaw i'w feddiant felly rhwng y bobl. Ond yn anffodus, gyrodd y bicell i mewn i'r anifail gyda gormod o nerth; methodd ei thynu allan drachefn, ac felly daliwyd y drwgweithredwr. Rhwymwyd ef draed a dwylaw, a gosodwyd ef allan yn yr haul i rostio yno, er mwyn ei gymhell i dalu dirwy. Ond parhäodd i wadu ei euogrwydd. Yr oedd ei fam yn credu ei fod yn ddieuog, ac aeth i'r fan gyda

chaib yn ei llaw, gan fwgwth tori i lawr bob un a feiddiai ymyraeth Dattododd y rhwymau oddi am ei mhab, a dygodd ef gyda hi gartref. Ni ddarfu i Morianstane ymyraeth â'r gwrthryfel agored hwn yn erbyn ei awdurdod; ond rhoddodd y mater i fyny i ddwylaw Sekeletu.

Awgrymasom eisoes fod Dr. Livingstone wedi bod yn y parthau yma o'r blaen gyda Sekeletu. Y pryd hwnw darfu i ŵr dyeithr a ddaethai i Sheaheke i gyfnewid nwyddau, gael ei yspeilio o'r rhan fwyaf o'i feddiant gan un o'r Makalaka. Daliwyd y lleidr, a chyfaddefodd ei drosedd, a'i fod wedi rhoddi y nwyddau i rywun oedd wedi symud i bellder o'r gymydogaeth. Yr oedd y Makololo yn ddigllawn, am y byddai i'r driniaeth yma i ŵr dyeithr ddinystrio eu henw da hwy ymhell ac agos. Y ffordd gyffredin o gosbi trosedd mawr o'r natur yma yw taflu y troseddwr ar ei ben i'r afon; ond gan na buasai boddi yr yspeiliwr yn adferu yr eiddo i'r yspeiliedig, yr oeddynt mewn penbleth pa beth i'w wneyd. Gosodwyd yr achos o flaen Dr. Livingstone. Talodd yntau y golled ei hunan, a dedfrydodd y lleidr i weithio gwerth hyny mewn gardd. Rhoddodd hyn oleu newydd iddynt ar egwyddor cosbedigaeth; ac oddiar hyny byth, os bydd i rywun ladratta rhywbeth, y mae yn cael ei ddedfrydu i weithio i wneyd y golled i fyny. Nid oes un diwrnod gosodedig i orphwys ymhlith y bobl yma, ond y maent yn cysylltu rhyw fesur o gysegredigrwydd â'r diwrnod cyntaf ar ol newidiad y lloer, trwy ymattal y diwrnod hwnw rhag gweithio yn eu gerddi. Y mae arferiad tra hynod, yr hwn nid i'w gael ymhlith y Bechuaniaid, yn ffynu ymhlith y llwyth sydd y tu hwnt iddynt. Y maent yn gwylied gyda'r dyfalwch mwyaf am ymddangosiad cyntaf y lleuad newydd, a chàn gynted ag ei gwelant y maent yn bloeddio "Kua!" ac yn gweddïo arni â'u holl nerth. Dywedai y bobl oedd gyda Dr. L., neu yn hytrach gwaeddent, "Bydded i'n taith gyda'r dyn gwŷn fod yn llwyddiannus! Bydded i'n gelynion drengu! Bydded i blant y Nake (y Doctor) fod yn gyfoethog! Bydded i ni gael digon o fwyd ar y daith hon!" &c., &c.

Darfu i Dr. Livingstone bregethu i bobl Shesheke amryw weithiau, yn ystod ei arosiad yn eu plith, o dan ddraenen fawr a ymledai ar làn yr afon. Deuai rhwng pump a chwe' chant o bobl ynghyd i wrando. Gwrandawent gydag astudrwydd, ac ar un achlysur darfu i Morianstane—er mwyn boddloni y cenadwr, fel y tybiai efe—godi ar ei draed ar ganol y bregeth, a hyrddio ei ffon at benau rhyw fechgyn a welai efe yn gweithio gyda chroen yn lle gwrando. Weithiau gofynent gwestiynau tra synwyrol ar y materion a ddygid ger eu bron, a phrydiau eraill siaradent y pethau mwyaf ffol ar ol gwrando y gwirioneddau pwysicaf. Yr oedd rhai yn dechreu gweddïo ar Iesu yn y dirgel càn gynted ag y clywsant am Dduw y dyn gwŷn, heb fod ganddynt ond ychydig o ddrychfeddwl pa beth yr oeddynt yn ei gylch; "ac nid oes un ammheuaeth," medd Dr. L., "fod yr Hwn sydd yn tosturio fel Tad wrth ei blant yn gwrando arnynt." Yr oedd eraill yn deffro yn y nos, gan gofio yr hyn a glywsent am y byd a ddaw, yn adrodd drannoeth y fath ddychryn a gawsent, ac yn gwneyd eu meddwl i fyny i beidio myned i wrando am y fath beth arswydol mwy; tra yr oedd llawer yn dal at y penderfyniad i beidio credu, fel rhyw bentrefwyr yn y deheubarth, y rhai a roddasent eu holl geiliogod i farwolaeth, am eu bod yn canu y geiriau "tlang lo rapeleng" (tua'r cwrdd â ni).

Cychwynasant o'r fan hon, ac ni ddygwyddodd dim nodedig nes iddynt gyrhaedd Naméta. Yno clywsant fod myntai o'r Makololo, o dan arwein-

iad un Lerimo, wedi gwneyd rhyfelgyrch tua'r gogledd, ar hyd glânau yr afon Leeba, ac ar y ffordd y bwriadent hwy deithio. Yr oedd Mpololo, ewythr i Sekeletu, yn îsbenaeth dano ef ar ddyffryn Barotse, ac yr oedd yr ymosodwyr wedi cael ei ganiatâd ef i wneyd eu hymosodiad dinystriol. Ei esgus ydoedd fod Masíko, mab Santuru, penaeth blaenorol y Barotsiaid, yr hwn a ffoisai i fyny y Leeambye, ac a ymsefydlasai yno, wedi anfon dynion i waered i gymydogaeth Naliéle i dynu cymaint a allent o'r Barotsiaid ar ei ol ef yno. Yr oedd myntai Lerimo wedi cymeryd amryw o ddeiliaid Masíko yn gaethion, ac wedi dinystrio amryw bentrefi yn perthyn i'r Balonda, trwy wlad pa rai yr oedd y teithwyr yn bwriadu myned. Yr oedd hyn yn hollol groes i ewyllys Sekeletu, oblegid yr oedd efe am fyw mewn heddwch â'r llwythau gogleddol hyn. Pan gyrhaeddasant Litofe, deallasant fod rhyfelgyrch arall yn cael ei fwriadu; ond anfonodd Dr. Livingstone orchymyn i'r fyntai ymwasgaru yn ddiatreg. Yn nhref Ma-Sekeletu, daethant o hyd i'r prif droseddwr Mpololo ei hun, a rhoddodd y Doctor iddo ychydig o'i feddwl. Dywedodd wrtho, gan ei fod ef a'i gymdeithion yn myned ar eu taith gyda chydsyniad Sekeletu, os dygwyddai rhyw ddrwg iddynt y gorphwysai yr euogrwydd wrth ei ddrws ef. Yr oedd mam Sekeletu yn bresennol. Cydunai hi yn hollol â'r cwbl a ddywedai Dr. L., a chynnygiodd fod i'r holl gaethion a gymerasai Lerimo gael eu hanfon yn ôl trwy ei law ef, er mwyn dangos i Masiko fod euogrwydd y rhyfelgyrch yn gorwedd ar ddyn nad oedd yn fwy na gwas, ac nid ar neb o'r awdurdodau goruchel. Cydsyniodd Mpololo â'r cynnygiad, a dymunodd ar Dr. L. osod y peth o flaen îsbenaethiaid Naliéle. Pan gyrhaeddasant y lle hwnw ar y 9fed o Ragfyr, gwnaed hyny mewn cymanfa a alwyd i'r dyben. Yr oedd Lerimo yn bresennol, ac ymddangosai yn lled benisel wrth glywed ei ymosodiad yn cael ei ddesgrifio gan Mohorisi, un o gymdeithion y Doctor, fel un llyfrgïaidd. Dywedai wrtho ei fod wedi ymosod ar bentrefwyr diamddiffyn Londa, tra yr oedd yn rhy lyfrgïaidd i wynebu llew ag oedd wedi lladd wyth o drigolion Naliéle. Cymerodd Mpololo y bai arno ei hun yn mhresennoldeb yr holl bobl, a rhoddodd i fyny blentyn caeth oedd yn meddiant ei wraig. Dilynodd eraill ei siampl, a chafwyd pump fel hyn yn rhyddion yn y dref hon. Ymddygai y pentrefwyr yn y modd mwyaf caredig a haelionus atynt fel yr oeddynt yn myned yn y blaen. Dygent iddynt ychen, ac ymenyn, a llaeth, a blawd, fwy nag a allent eu gosod yn eu cychod. Ac yr oedd eu dull yn rhoddi yn gwneyd y peth yn well fyth. Pan wnaent anrheg o ych dywedent, "Dyma damaid bach o fara i chwi." Yr oedd hyn yn dra phleserus i un ag oedd wedi bod ymysg y Bechuaniaid, ac wedi arfer eu clywed hwy, pan yn gwneyd anrheg o afr druenus, yn dywedyd mewn dull rhwysgfawr, "Wele ych." Cafodd Dr. L. fwy na mwy o ganmoliaeth yma. Galwai y gwragedd ef yn "llew mawr," yr "arglwydd mawr," a lliaws o bethau mawrion eraill, gan waeddi ei glod nerth eu cegau. Dymunai arnynt gymedroli tipyn ar eu canmoliaeth, a'i alw wrth enwau mwy gostyngedig, ond ni fynent; a chan mai fel hyn yr oeddynt hwy yn ewyllysio dangos eu parch iddo, a'u dymuniad am ei lwyddiant, nid oedd dim i'w wneyd ond bod yn foddlawn. Oddiyma anfonasant gwch Sekeletu yn ei ol, a chawsant rai yn ei le gan Mpololo. Cawsant hefyd wyth o ychen i'w marchogaeth, a saith i'w lladd —rhai at eu gwasanaeth eu hunain, ac eraill i'w rhoddi yn anrhegion i benaethiaid y Balonda, yn ol gorchymyn Sekeletu.

Libonta y gelwir y lle nesaf y daethant iddo. Cyrhaeddasant yno ar yr 17eg o Ragfyr. Buont yno am rai dyddiau yn casglu o frasder ac ymenyn i anrhegu penaethiaid y Balonda. Gofynasant yma am y gweddill o'r caethion a gymerasai Lerimo, a chawsant amryw, nes oedd y nifer yn eu dwylaw yn bedwar ar bymtheg. Dyma dref ddiweddaf y Makololo yn y cyfeiriad hwn. Yr oeddynt yn awr yn tynu at derfynau breniniaeth Sekeletu, ac nid oedd ganddynt mwyach ond ychydig bentrefi a chorlanau anifeiliaid cyn ymdaflu i'r wlad anghyfanneddol a orweddai rhyngddynt a'r Balonda. Aethant drwy y wlad hono, a chawsant hi, er ei bod heb ddynion, yn llawn bywyd. Yr oedd yno ddigon o helwriaeth o bob math—bwystfilod ac adar yn aneirif, llawer o ba rai oeddynt ddanteithfwyd o'r fath hyfrydaf. Cawsant yr afon fawr lydan, â'i dwfr yn llawn o bysgod; ond yr oedd yno rai pethau yn trigiannu ag y teimlent, fel y dywed yr hen ddiareb, y byddai "eu lle yn fwy dymunol na'u cwmnïaeth." Y pethau hyny oedd y crocodiliaid. Cerddai rhai o'r fyntai gyda glàn yr afon, rhai yn gyru yr ychen, a rhai yn eu marchogaeth—eu *hych*-ogaeth, fe allai, a ddylasem ei ddywedyd—a rhwyfai y rhau arall yn y cychod. Ond nis gallent hwy yn y badau fyned yn gyflymach na'r rhai oeddynt ar y làn. Yr oedd yn rhaid iddynt aros i'w gilydd, ac yr oedd y llwybr ar y làn yn un tra afrwydd, oblegid fod cangenau yn troi allan fyth a hefyd o'r Leeambye, ac yn dychwelyd iddi drachefn. Yr oedd yn rhaid iddynt gwmpasu y rhai hyny, neu aros i'r cychod eu cymeryd drostynt. Yr oedd yno grocodiliaid yn aneirif. Y mae lliaws mawr o blant yn cael eu difa ganddynt bob blwyddyn yn Shesheke a threfydd eraill. Collir hefyd nifer mawr o loi. Anfynych y bydd gŷr o wartheg yn nofio yn groes i'r afon heb rywfaint o golled. Pan oedd un o gymdeithion Dr. Livingstone yn nofio ar draws un o'r cangenau crybwylledig, ymaflodd crocodil ynddo, ac i lawr âg ef i'r gwaelod. Cadwodd ei bresennoldeb meddwl. Yr oedd ganddo ddagr bychan yn rhywle o'i amgych; ymaflodd yn hwnw, a rhoddodd fràth i bwrpas i'r anghenfil y tu ôl i'w ysgwydd. Bu dda gan hwnw ollwng ei afael, a daeth y dyn i'r wyneb yn fyw ac yn iach, ond fod olion dyfnion wedi eu gadael yn ei forddwyd gan ddannedd y crëadur ysglyfaethus. Nid oes un gwrthwynebiad ymysg y llwythau hyn i ddyn ag y byddo damwain o'r fath wedi dygwydd iddo; ond ymhlith y Bamangwáto a'r Bakwains y mae yn wahanol. Yno os dygwydd i rywun gael ei gnoi gan grocodil, neu hyd yn nôd os bydd i ddwfr gael ei daflu arno gan gynffon yr anghenfil, y mae yn y man yn cael ei fwrw allan o'r llwyth. Edrychai Dr. L. ar y ddefod hon fel un o weddillion anifail-addoliaeth mewn amseroedd a aethant heibio. Wedi myned rhwng deg ar hugain a deugain o filldiroedd i fyny o Libonta, anfonasant un ar ddeg o'r carcharorion tua'r gorllewin at eu penaeth, enw yr hwn oedd Makoma, gyda chenadwri yn egluro iddo sut yr oedd pethau yn bod.

Ar y 27ain o Ragfyr, daethant i'r aber a ffurfir gan gyfarfyddiad y Leeba a'r Leeambye, ac yn awr yr oeddynt yn myned i ganu yn iach i'r afon olaf, a rhwyfo i fyny y gyntaf. Yr oedd Masíko yn byw i'r dwyrain o'r fan hon. Yr oedd ganddynt bump o garcharorion i'w hanfon iddo ef. Yr oedd Dr. Livingstone wedi clywed gan y rhai hyn fod Masíko yn arfer cipio plant amddifaid a diamddiffyn a berthynent i'w lwyth, a'u gwerthu i'r Mambári am wisgoedd. Gorchymynodd i un o'r rhai hyn ddywedyd wrtho ei fod yn dra annhebyg i'w dad Santuru, yr hwn a wrthodasai werthu

ei bobl i'r Mambári. Tebyg fod ar y llanc ormod o ofn ei benaeth i ddywedyd y genadwri hon wrtho; ar yr un pryd teimlai Dr. L. y byddai yn sier o'i thaenu ymhlith ei bobl, ac atebai hyny beth dyben—dygwydd na ddaw Masíko i deimlo oddiwrthi rywbryd. Anfonwyd Mosántu, un o lwyth y Batoka, a'i gymdeithion gyda'r carcharorion. Y genadwri a anfonwyd gyda Mosántu oedd fel y canlyn,—fod yn ddrwg gan Dr. L. nad oedd Santuru wedi cenedlu doethach mab; fod Santuru yn caru llywodraethu dynion, ond fod Masíko yn ceisio llywodraethu bwystfilod gwylltion yn unig, gan ei fod yn gwerthu ei bobl i'r Mambári." Rhoddwyd iddo hefyd eglurhâd o barth i'r carcharorion a chynghor i fod yn heddychol, ac i attal ei bobl rhag lladratta cychod a phlant y Makololo, gan y byddai i barhâd yn y gweithredoedd hyn arwain i ryfel, yr hyn oedd Dr. L. am ei attal. Ac os oedd am gael gwybodaeth helaethach am ei olygiadau ef, fod yn rhaid iddo anfon dyn synwyrol i'w gyfarfod ef i un o drefydd y Balonda, i ba un yr oedd efe ar fyned.

Aethent i fyny yr afon Leeba nes dyfod ar gyfer pentref Manenko, y benaethes gyntaf a gyfarfuasant. Anfonwyd cenadwri at ei Mawrhydi yn hysbysu neges yr ymwelwyr dyeithr yn y parthau hyny; ond o herwydd fod un o gymdeithion Dr. Livingstone yn cael ei ddrwgdybio o fod yn un o'r fyntai a ddaethai gyda Lerimo yn y rhyfelgyrch diweddar, ni chawsant eu derbyn mor wresog ag y dymunent. Daeth atebiad oddiwrthi gyda basgedaid o wreiddiau *manioc,* yn gorchymyn iddynt aros yn y fan lle yr oeddynt nes y byddai i'r benaethes ymweled â hwy; ac ar ol aros dau ddiwrnod, daeth cenadau eraill yn dywedyd fod yn rhaid i Dr. L. ddyfod i fyny ati hi. Gan fod pedwar diwrnod wedi eu treulio eisoes mewn cyflafareddu fel hyn, gwrthododd fyned ati o gwbl, ac aeth rhag ei flaen. Aethant hyd y fan lle y mae y Makondo, afonig fechan tua deg ar hugain o latheni o led, yn ymarllwys i'r Leeba, a gorphwysasant enyd yno. Y mae y lle hwn yn gorwedd 13° 23′ 12″ o ledred deheuol. Pan ar gychwyn oddiyma, gwelodd Dr. Livingstone, wrth ddyfod o'i babell ar y làn yn y bore, fod rhywbeth mawr yn gwasgu ar feddyliau ei bobl; ac erbyn ymholi, deallodd fod un o honynt wedi breuddwydio fod Mosántu, yr hwn a anfonasid yn genadwr at Masíko, yn garcharor. Yr oedd hwnw wedi adrodd ei freuddwyd, ac felly wedi bod ymron tori calonau yr holl fyntai. Darfu i wers weddol chwerw oddiwrth y Doctor eu dwyn atynt eu hunain, a pheri iddynt gywilyddio am eu hygoeledd disynwyr. Daethant i bentref Sheakóndo. Anfonasant genadwri ato ef, a daeth yntau i'r golwg yn fuan, a'i ddwy wraig gydag ef, yn dwyn anrheg ragorol o *maniocs.* Daeth amryw o'i bobl gydag ef, ac yr oeddynt oll wedi durlifo eu dannedd nes eu bod yn flaenfain. Ystyrid dannedd felly yn y wlad yma yn addurniadau. Medrai siarad iaith y Barotse yn rhwydd, ac ymddangosai yn syn ofnus pan ddywedwyd wrtho rai o eiriau Duw.

Ar y 6ed o Ionawr, cyrhaeddasant bentref penaethes arall o'r enw Nyamoána—mam Manenko, a chwaer Shinté, y penaeth Baloudaidd mwyaf yn y parth hwn o'r wlad. Derbyniodd hi yr ymwelydd dyeithr gyda rhwysg, gan eistedd yn ymyl ei gŵr, ac yn nghanol cylch o'i phendefigion a'i phobl. Yma y gwelsant yr arwydd gyntaf o fodolaeth eilunaddoliaeth, mewn gweddillion hen eilun a adawsid mewn pentref adfeiliedig. Nid oedd ond pen dynol wedi ei gerfio mewn darn o bren; ond y maent yn gwneyd i bren cam ateb y dyben pan na byddo cerfiwr wrth law.

Gan fod y Leeba yn dyfod o'r cyfeiriad yr oeddynt hwy am dynu ato, bwriadai Dr. L. barhâu i esgyn ar hyd-ddi; ond defnyddiodd y benaethes ei holl hyawdledd i geisio ei attal i gymeryd y llwybr hwnw, eithr i fyned yn hytrach trwy diriogaeth ei brawd Shinté. Yr oedd arni ofn y buasai y Balobále, yn eu hanwybodaeth o ddyben eu hymdaith, yn eu lladd hwynt oll. Atebodd y Doctor ei fod wedi cael ei fwgwth â marwolaeth mor fynych os ymwelai â llwyth dyeithr, nes fod arno yn awr fwy o ofn lladd rhywun ei hunan na chael ei ladd gan neb. Ond nid oedd dim a drechai ei hyawdledd hi, a daeth Manenko ei merch yno, a thaflodd ei dylanwad i'r un pen i'r glorian. Yr oedd yn rhaid gan hyny myned trwy dref Shinté.

Y mae y bobl fawrion yn y gwledydd hyn, yn foneddigion a boneddigesau, yn gwisgo modrwyau haiarn, neu gopr os gallant eu cael, am eu fferau. Pa uchaf y bydd eu gradd, amlaf a thrymaf fydd y modrwyau. Y mae y bobl fawrion iawn yn cael trafferth anferthol i gerdded. Ymddangosant fel yn llusgo eu traed trymion ar eu holau; ac y mae pobl sydd lai yn eu dynwared—yn gwneyd yr un ystumiau wrth gerdded, *fel* pe byddai pwysau mawr wrth eu traed hwythau. Y mae rhai pethau yn holl barthau y byd yn profi fod dynolryw o bob lliw yn perthyn i'r un teulu.

Cadwyd Dr. Livingstone am fwy o amser nag yr oedd yn ewyllysio gyda'r penaethesau. Buasai yn dda genym allu rhoi tu dalen neu ddau o hanes Manenko, y ferch. Y mae hi, er nad oedd ar amser ymweliad ein teithwyr yn fwy nag ugain oed, yn debyg o wneyd mwy o stŵr yn y byd na'i mam. Y mae ganddi hi feddwl ac ewyllys o'i heiddo ei hun, a gwna i bawb o'i chwmpas blygu iddynt. Rhaid iddi hi gael ei ffordd ei hunan. Er ei bod yn dra charedig i Dr. L., nid oedd gwiw iddo yntau geisio ei gwrthwynebu. Yr *oedd* ganddi dafod yn ddigon i beri arswyd ar ddyn i feddwl am syrthio o dan ei ddyrnodiau. Clywodd y Doctor hi yn defnyddio yr offeryn hwn mewn ffordd geryddol ar eraill; a thra bu yn agos ati, bu yn bur ofalus i ymgadw rhag pob peth a fyddai yn debyg o dynu y fath ystorm ddychrynllyd ar ei ben ei hun.

Tra yn aros yma, dychwelodd Mosántu oddiwrth Masíko, â chenadwriaeth anrhydeddus, yn cynnwys holl bendefigion ei lŷs, oddiwrth y penaeth hwnw, yn dwyn rhoddion o ddant elephant mawr, darn o frethyn codenog glas *(blue baize)*, a dau lestr yn llawn o fêl. Anfonasai y brethyn, mae yn debygol, er mwyn gwneyd yr argraff ei fod yn benaeth mawr, yn meddu y fath gyflawnder o nwyddau pobl wŷnion, fel y gallai roddi rhai hyd yn nôd o'r pethau hyny yn anrhegion. Arwyddai ei foddlonrwydd i fyw mewn heddwch â'r Makololo. Gwnaeth esgusawd ynghylch gwerthu pobl i'r Mambári. Nid ei bobl ei hun a werthasai, ond carcharorion a ddygasid mewn rhyfel oddiar lwythau eraill; a thybiai nad oedd hyny yn gymaint o ddrwg, os oedd yn ddrwg o gwbl. Anfonwyd y bobl yma yn eu hol at eu llywydd, gyda gair o gynghor iddo, ac anrheg o ŷch. Yr oedd arnynt chwant anghyffredin i ladd a bwyta yr ŷch cyn cychwyn, pe cawsent ganiatâd y Doctor i wneyd hyny. Hoff fwyd y bobl yma yw cig eidion, er mai ychydig y maent yn ei gael oddiar pan ddarfu i Sebituane eu hyspeilio o'u hanifeiliaid. Yn y mater hwn y mae Dr. L. yn cyduno ac yn cydweled â hwy, a barna efe fod hoffder y Saeson o *roast beef* yn brawf o'u harchwaeth dda a'u synwyr cyffredin. Er bod ein teithiwr yn ystod ei arosiad yma, yn cyfeillachu â breninesau mawrion, ac yn cynnal cynnadleddau o bwys â phendefig-

ion llys penaeth galluog, bu yn gryn helbul arno gan eisieu bwyd. Nid oedd yma ond ychydig helwriaeth i'w gael, ac er bod y bobl yr arosai yn eu plith yn dra charedig, nid oedd pethau yn rhyw helaeth iawn arnynt hwy eu hunain.

Ar yr 11eg o Ionawr, 1854, cychwynasant tua thref y penaeth Shinté. Cyn iddynt gychwyn, rhoddodd y benaethes Nyamoána yn anrheg i Dr. L. leinronos *(beads)*, a chragen werthfawr, fel iawn iddo am eu bod fel y tybient hwy, wedi cynnorthwyo ei merch Manenko i'w flino y dydd o'r blaen. Am Manenko ei hun, nid oedd hi yn cael ei blino gan feddyliau o'r fath. Yr oedd yn rhaid iddi hi fyned gyda y dyeithriaid at ei hewythr; ac felly y bu. Ar ol myned trwy fwy na mwy o swynion,—rhai i gadw ei Mawrhydi rhag boddi wrth groesi yr afon yn y cwch, ac eraill i'w chadw rhag niwed ar y daith, ymunodd â'r fyntai, a chychwynodd tua'r gogledd. Yr oedd y ffordd yn ddyrys ac yn faith, a'r gwlaw yn disgyn yn ddiarbed yr holl ffordd. Yr oedd gŵr Manenko, enw yr hwn oedd Sambanza, gyda hwy; ond hi oedd yn cadw y blaen. Er bod y dwfr yn llifo yn ffrydiau dros ei hysgwyddau noethion, cerddai o flaen y fyntai fel cawres, heb brisio am neb na dim. Anturiodd Dr. L. awgrymu iddi y buasai yn fwy cysurus pe buasai yn gosod mwy am dani ar y gwlaw, yn lle bod yn hanner noeth fel yr ydoedd; ond atebodd ei bod yn ei ystyried yn ddyledswydd ar benaethiaid i roddi esiampl o oddef caledi o flaen eu pobl. Buont bum' niwrnod ar y daith, a gwlawiai yn drwm yr holl amser. Un noswaith, cawsant eu dychrynu gan ysgrêch dorcalonus yn dyfod oddiwrth un o foneddigesau Manenko. Gwaeddai mor uchel, ac mor faith, fel y parodd iddynt ofni fod llew wedi ymaflyd ynddi, a myned â hi ymaith. Ymaflodd pob un yn ei arf, a odd tua'r fan; ac erbyn cyrhaedd y foneddiges, nid llew oedd yno, ond ých oedd wedi meiddio gwanu ei ben i babell y foneddiges. Yr oedd hithau wedi gosod ei llaw allan a chyffwrdd â'i drwyn, a theimlo hwnw mor angeuol o oer, fel nas gallasai yn ei byw lai na gwaeddi nerth ei cheg, am ei bod yn tybied ei bod drosodd arni y mynyd hwnw. Ymhen pum' niwrnod, ar ol llawer o aros a chychwyn, a chychwyn ac aros, yn ol gorchymyn Manenko—oblegid yr oedd yn rhaid iddi hi gael ei ffordd —â'u crwyn yn wlybion gan y gwlaw mawr diorphwys, a'u cylla yn fwy gweigion nag oedd yn ddymunol, ac ar ol anfon cenadwri o'u blaen yn gwneyd eu dyfodiad yn hysbys i'r penaeth, cyrhaeddasant dref Shinté. Yr oedd hon yn fwy trefnus a phrydferth na dim a welsent eto. Ar yr 17eg o Ionawr, cawsant dderbyniad rhwysgfawr gan y penaeth. Eisteddai ar fath o orsedd wedi ei chuddio â chroen llewpard. Gwisgai siaced fraith, gleinronos lawer am ei wddf, pais fêr o frethyn codenog ysgarlad wedi ei rhimio â gwyrdd, helm am ei ben o leinronos wedi eu gwëu yn gywrain, a thwff o blu gwyrdd ar ben y cwbl. Safai lliaws o'i filwyr y tu ôl iddo. Daeth cynnrychiolwyr gwahanol ranau y llwyth o'i flaen, gan ymostwng iddo a rhwbio eu hunain â lludw, yn ol defod y gwledydd hyny wrth ddyfod i bresennoldeb dyn mawr. Ar ol llaweroedd o seremonïau, safodd siaradwr y benaethes Nyamoána, a Sambanza, gŵr Manenko, o'i flaen, a gwaeddasant wrtho, fel y gallai yr holl gynnulleidfa glywed, gymaint a wyddent o hanes y dyn gwŷn, a'i gysylltiad â'r Makololo. Yr oedd wedi dyfod â charcharorion yn eu hol gydag ef. Yr oedd am agoryd y wlad i fasnach. Yr oedd y Bibl a ddygai gydag ef yn air o'r nefoedd. Yr oedd am i'r llwythau fod yn heddychol â'u gilydd. Dylasai, mae yn wir, ddysgu

y Makololo yn gyntaf yn y wers hono; oblegid nid oedd y Balonda erioed wedi ymosod arnynt hwy, eto yr oeddynt hwy wedi ymosod ar y Balonda. Fe allai ei fod yn dywedyd celwyddau, fe allai nad oedd, ond yr oeddynt yn hytrach yn tueddu i feddwl ei fod. Ond gan fod calonau da gan y Balonda, a chan nad oedd Shinté erioed wedi gwneyd niwed i neb, y peth goreu a allai ei wneyd oedd derbyn y dyn gwŷn yn garedig, a'i anfon ef i'w ffordd. Dyna oedd sylwedd areithiau y ddau siaradwr hyawdl. Yr oedd yno lawer o foneddigesau yn y gynnulleidfa, ac ar ol pob araeth torent allan i fath o gân gwynfanus, ac yn ystod yr areithiau byddent yn awr ac eilwaith yn curo eu dwylaw ynghyd fel arwydd tebyg o'u cymeradwyaeth.

Bu Shinté yn garedig iawn i Dr. L. a'i gymdeithion; ond cawsant ar ddeall un diwrnod "fod ei enau yn chwerw o eisieu profi cig eidion." Anrhegodd Dr. Livingstone ef gan hyny âg ych. Pan glywodd Manenko hyny, daeth yn y blaen, gan ymddangos fel un yn teimlo ei bod wedi cael cam. Dywedai "fod y dyn gwŷn yn perthyn iddi hi—mai hi oedd wedi ei arwain ef yno, gan hyny hi a ddylasai gael yr ŷch ac nid Shinté." Heb wneyd mwy o seremoni, gorchymynodd i'w gwŷr gymeryd meddiant o'r ŷch ar unwaith a'i ladd. Mynodd hi "ran y llew," ac anfonodd goes yn anrheg i'w hewythr. Nid oedd wiw i Shinté achwyn—Manenko oedd hi hyd yn nôd yno. Y mae cyfiawnder o fêl yn y gwledydd hyn, ac y mae y bobl yn gwneyd mêdd o hono. Cafodd Dr. L. anrheg o beth o hwn, ymysg pethau eraill, gan y penaeth. Yr oedd y Doctor yn dyoddef yn barhâus oddiwrth dwymyn; a sylwai y penaeth wrtho mai hyny oedd yr unig beth a allai attal llwyddiant ei daith, gan ei fod ef wedi darpar iddo arweinwyr adnabyddus â'r holl lwybrau a arweinient at y dynion gwŷnion. Yr oedd efe ei hun wedi teithio llawer pan yn ieuanc, ond nid oedd wedi gweled dyn â chroen gwŷn a gwallt llyfn yn ei oes o'r blaen. Gofynodd Dr. L. iddo pa beth oedd yn dda rhag y dwymyn. "Yfwch," meddai, "ddigon o'r mêdd; pan elo y mêdd i mewn, y mae y dwymyn yn myned allan." Yr oedd efe ei hun yn bur hoff o'r mêdd, er nad oedd yn y dwymyn; ac yr oedd hwn yn feddwol. Holl effaith cwrw y wlad oedd gyru pobl i gysgu, ond gyrai y mêdd hwynt i siarad â'u holl egni. Aeth Sambanza allan un diwrnod i edrych am arweinwyr, a dychwelodd yn yr hwyr yn feddw fawr. Yr oedd "arno gymhell deyd anarferol—'doedd derfyn ar ei ddeyd," nes i Manenko ei bacio i'r babell a'i osod yn y gwely.

Yr oedd Dr. L. wedi cymeryd *magic lantern* gydag ef, ac wedi dangos ei rhyfeddodau hi yn y rhan amlaf o'r manau ymha rai yr arosasai. Ar ddymuniad neillduol, dangoswyd hi yma yn mhresennoldeb y penaeth, a boneddigion a boneddigesau ei lys. Y darlun cyntaf oedd Abraham yn offrymu Isaac. Dangosid Abraham yn ei lawn faint yn y weithred o ddyrchafu y gyllell i daro y llanc, a sylwai amryw o'r Balonda fod y darlun yn llawer mwy tebyg i dduw na'r delwau o goed a chlai a fyddent hwy yn eu haddoli. Eglurwyd iddynt mai y gŵr hwn oedd tad y genedl i ba un y rhoddasid y Bibl gan Dduw, ac mai ymhlith ei blant ef yr ymddangosasai y Gwaredwr. Gwrandawai y boneddigesau gyda dychryn dystaw, a phan dynodd y Doctor y *slide* yn ei hol, ymddangosai y gyllell ddyrchafedig fel yn gwneyd am danynt hwy. Mewn dychryn mawr gwaeddasant oll ar unwaith, "O mam anwyl!" a ffwrdd â hwy ar draws eu gilydd, a thros y pebyll eilunod bychain, a'r llwyni tybacco; syrthiai rhai, rhedai eraill nerth eu traed, a gwrthodasant er pobpeth ddychwelyd i weled ychwaneg o'r

pethau dychrynllyd. Ond am Shinté, yr oedd efe yn ddigon gwrol i aros trwy y cwbl, ac ar y diwedd mynodd weled yr offeryn drwyddo. Cafodd Dr. L. y *magic lantern* o wasanaeth mawr. Arddangosai hi yn fynych, ac fel hyn ca'i gyfle wrth egluro y darluniau i bregethu yr efengyl i bobl nad oedd ganddynt nemawr flas i wrando yr efengyl ar ei phen ac er ei mwyn ei hun.

Fel y prawf diweddaf o'i gyfeillgarwch, aeth Shinté un boreu i mewn i babell fechan Dr. L., ac wedi edrych gyda dyddordeb ar amryw bethau cywrain a dynai ei sylw, megys y drych, yr oriawr, &c., tynodd y drws ynghyd fel na chai neb o'i bobl weled y weithred o wastraff yr oedd yn myned i'w chyflawni. Cymerodd odditan ei wisg linyn o leinronos, wrth ben pa un yr hongiai cragen bigfain, yr hon a ystyrid o werth mawr yn y parthau pell yma oddiwrth y môr; a gosododd hwy am wddf Dr. L., gan ddywedyd,—"Dyna, yn awr yr ydych *wedi* cael prawf o'm cyfeillgarwch." Y tro diweddaf y cyfarfuasant, dangosodd Shinté eu prif arweinydd, Intemése, dyn ynghylch deg a deugain oed, yr hwn oedd i'w harwain at y penaeth nesaf, Katema. Rhoddodd gyflawnder o fwyd iddynt i'w taith, ac ychwanegodd nad allai neb ddywedyd ei fod wedi eu gyru hwynt ymaith, gan eu bod wedi bod gydag ef amryw ddyddiau. "Ymadawsom âg ef," medd Dr. L. "gan ddymuno bendith yr Arglwydd ar ei ben."

Yr ydym wedi son am eilunod mewn cysylltiad â'r parthau hyn. Ymysg y Bechuanas a'r Bakwains nid oes braidd olion un grefydd yn y byd. Ymysg y Makalolo y mae syniad ar y bôd o Dduw, a sefyllfa ddyfodol, a llawer o goelgrefydd; eithr prin y gellir dywedyd eu bod hwy yn arfer dim a ellir ei alw yn addoli. Ond yma y mae eilunod—pethau digon hagr ac anghelfydd; eto y maent yn cael eu galw yn dduwiau, ac y mae y bobl yn eu haddoli. Ceir un o honynt yn gyfagos i bob dyn, er ei amddiffyn rhag gelynion; ond prin y gweddïa y bobl ar neb o honynt oddieithr eu bod yn glaf ac mewn perygl. Y mae ganddynt hefyd beth aneirif o swynion i wellâu clefydau, ac i gadw ymaith bob math o ddrygau oddiwrth bob peth a phawb. Ymddengys fel hyn, pa bellaf i'r gogledd yr ëir yn Affrica, fod y teimlad crefyddol, neu goelgrefyddol yn hytrach, yn cryfhâu. Mewn gwledydd mwy gogleddol fyth, cafodd Dr. L. fod eilunaddoliaeth yn cymeryd ffurf mwy gwaedlyd, ac nad oedd aberthu dynion yn beth anghyffredin.

Aethant rhag eu blaen tua gwlad Katema; ond nid oedd yr arweinyddion Balondaidd a gawsent gan Shinté yn cyduno yn wych â'r Makololo. Yr oedd rhai pethau drwg yn perthyn i'r prif arweinydd Intemése; eto yr oedd o gryn wasanaeth, gan ei fod yn rhoddi gair da i'r teithwyr yn y lleoedd y deuent iddynt ar hyd y ffordd, ac felly yn attal y pentrefwyr rhag ffoi am eu bywydau ar eu dyfodiad. Yr oedd parch i'w mamau yn gwneyd i fyny ran nodedig o gymeriad y Balondiaid; am eu tadau yn unig y mae y Bechuaniaid yn prisio. Yr oedd Intemése yn siarad fyth a hefyd am ei fam, er ei fod mewn gwth o oedran; ond tybiai Dr. Livingstone, os oedd ei fam wedi ei gynghori i beidio dywedyd celwyddau, ei fod wedi llwyr anghofio hyny. Yr oedd craith ar ei fraich, ôl clwyf ag ydoedd wedi ei gael mewn brwydr, a siaradai lawer iawn yn ffrostgar am ei wroldeb mewn rhyfel, nes iddynt un diwrnod ganfod craith ar ei gefn. Arwyddai hono yn ddrwg, ac o'r diwrnod hwnw allan yr oedd yn well gan Intemése beidio siarad am ryfeloedd.

Daethant yn agos i dref y penaeth mawr Matiamvo, yr hwn oedd new-

ydd farw; ac nid oedd neb yn hiraethu ar ei ol. Byddai weithiau yn cymeryd yn ei ben i fyned trwy ei dref, â chyllell yn ei law, gan dori pen pob un a gyfarfyddai, nes fod ganddo gruglwyth mawr o benau dynion. Ei esgus ydoedd fod ei bobl yn rhy lïosog, a bod eisieu chwynu tipyn arnynt. Arosasant ychydig yn mhentref Soána Molópo, hanner brawd i Katema. Cymeradwyai hwnw amcan Dr. L., ond nid oedd yn hoffi gweled y Makololo yn ei gyfeillach. Yr oedd ganddo feddwl drwg am y llwyth hwnw, fel sydd gan bawb trwy y parthau hyn. Derbyniwyd y teithwyr yn garedig gan Katema. Yr oedd efe yn benaeth mawr fel Shinté, ac yr oedd y derbyniad yn rhwysgfawr dros ben. Gorchymynodd osod cyflawnder o fwyd o flaen y dyeithriaid, a dywedodd wrthynt, "Ewch adref, cogwch a bwytewch, ac yna chwi fyddwch mewn agwedd addas i ymddyddan â mi yfory." Ceir golwg ar ei gymeriad yn yr araeth ganlynol, yr hon a draddododd efe wrth Dr. L. "Myfi yw yr arglwydd mawr Katema, cyfaill Matiamvo. Nid oes neb yn y wlad hon yn gyfartal i Matiamvo a fi. Yr wyf wedi bod yma bob amser, a fy nghyndeidiau o'm blaen. Dacw y tŷ lle y preswyliai fy nhad. Ni ddarfu i chwi weled penglogau dynion yn y man lle yr oeddych yn gwersyllu. Ni ddarfu i mi erioed ladd neb o'r masnachwyr, ac y maent oll yn dyfod ataf fi. Myfi yw yr arglwydd Katema, am ba un y clywsoch." Yr oedd Katema, fel ambell un bychan arall, yn tybied fod son am dano ymhob man. Buasai yn dda genym allu rhoi ychwaneg o hanes ein teithwyr tra yn nhref y penaeth hwn; ond rhaid i ni—fel yr arferai ein hen frawd anwyl o Sir Fynwy ddywedyd—"fyned yn y blaen i dynu at y diwedd." Er hyny rhaid i ni ddywedyd un peth. Ni chafodd y Doctor ond ychydig gyfle i draethu gwirioneddau yr efengyl yma. Nid oedd y penaeth na'i bobl yn prisio llawer am eu clywed, ac yr oedd ei anallu i siarad â hwy ond trwy gyfieithydd yn rhwystr mawr i wneyd un argraff ar eu meddyliau.

Aethant rhag eu blaen tua'r gogledd-orllewin, ac wrth fyned heibio i lyn o gryn faint a elwir Dilolo, adroddodd un o'r arweinyddion draddodiad sydd yn cael ei gredu yn y wlad mewn cysylltiad â'r llyn hwn. Dywedai fod pentref unwaith yn sefyll lle yn awr y safai y llyn, ond bod y pentrefwyr wedi gwrthod rhoddi ymborth i wraig o'r enw Monénga, yr hon oedd yn ymdaith heibio. Bygythiai hi hwy am eu hangharedigrwydd, a chwarddasant hwythau am ben ei bygythion, gan ei herio i wneyd ei gwaethaf. Ar hyn dechreuodd ganu, ac wrth ei bod yn canu, suddodd y tai, y dynion, yr adar dofion, a'r cwn, a gorchuddiwyd y cwbl gan ddwfr! Tybiai Dr. L. y dichon nad yw hyn ond traddodiad tywyll am y diluw. Ni ddarfu iddo gyfarfod â dim o'r fath yn Affrica o'r blaen.

Ar y 27ain o Chwefror, daethant at afon fawr yn llifo tua'r gogledd a'r gogledd-ddwyrain. Gelwid hi Kasai gan rai, Loke gan eraill. Rhedai yn araf, ac yr oedd tua chan' llath o led. Dywedai yr arweinwyr, gan gyfeirio â'u bysedd gyda chwrs yr afon, "Pe hwyliech drosti am fisoedd, byddai yn rhaid i chwi droi yn ôl heb weled diwedd." Adgofiai yr afon hon Dr. L. am y Clyde yn Ysgotland. Yr oeddynt yn awr wedi dyfod i blith pobl angharedig a thrachwantus; a chan fod eu hystôr o bethau y gellid cael rhywbeth am danynt wedi myned yn isel, a bod pobl y gwledydd hyn yn dysgwyl rhywbeth am bob peth, yr oedd weithiau yn gyfyngder arnynt am fwyd. Cyfarfuasant â rhwystrau a gorthrymderau rhy faith eu henwi, bob cam ar ol croesi y Loke nes iddynt gyrhaedd Loanda, a chael eu hunain ymhlith pobl war-

eiddiedig. Nid yw yn anhawdd cyfrif am hyn. Yr oedd caethfasnachwyr yn dyfod i a thrwy y gwledydd yma i gario yn y blaen eu masnach felldigedig. Byddent hwy yn arfer anfon caethwas neu ddau i bob penaeth ag yr elent heibio iddo er mwyn ei foddloni. Yr oedd y penaethiaid gan hyny yn dysgwyl yr un peth oddiwrth Dr. Livingstone; ac am ei fod yn gwrthod ymadael â neb o'i bobl, ac yn dywedyd ymhob man yn erbyn dal dynion yn gaethion, teflid pob rhwystrau ar ei ffordd, a bygythid ei anfon yn ei ol ar hyd y ffordd ar hyd pa un y daethai. Gorfu arno roi un o'i grysau; ond dywed iddo ofalu rhoddi y gwaethaf a feddai, i benaeth o'r enw Katende. Derbyniwyd y crys, a chawsant ychydig, ond ychydig oedd, o fwyd am dano. Bu yn helynt flin arnynt amryw weithiau yn ngwlad y Chiboque. Ar ddydd Sadwrn, y 4ydd o Fawrth, cyrhaeddasant bentref penaeth o'r enw Njambi. Bwriadent dreulio Sabbath tawel yno; a chan fod eu hymborth wedi darfod, lladdasant ŷch lluddedig. Er mwyn ennill ewyllys da y penaeth, anfonwyd darn iddo ef, gydag hysbysiad ei fod yn arferiad anrhydeddu penaethiaid yn y modd hwn yn y wlad o ba un y daethent. Dychwelodd yntau ei ddiolchgarwch, ac addawodd anfon ymborth iddynt. Ond yn y bore, daeth cenadwri drahâus oddiwrtho, gyda y tipyn lleiaf o flawd, a hysbysiad nad oedd efe yn gosod un gwerth ar y tipyn cig a anfonasid iddo—fod yn rhaid iddo ef gael dyn, ŷch, dryll, pylor, brethyn, neu gragen, ac os na roddent y naill neu y llall o'r pethau hyn y rhwystrai efe hwynt rhag myned ymhellach. Gwrthodwyd anfon dim, a thua hanner dydd daeth y penaeth allan â'i wŷr arfog, ac amgylchynasant eu gwersyll bychan, gan ysgwyd eu harfau a bygwth yn arswydol. O'r braidd y gochelwyd tywallt gwaed. Yr oedd un o bobl Dr. L. wedi cyflawni trosedd arswydol. Wrth eistedd yn ymyl un o'r Chiboque y prydnawn a'r blaen, yr oedd wedi dygwydd poeri, a disgynasai peth o'r poeryn ar goes hwnw. Iawn am y sarhâd hwn oeddynt yn ei geisio, ac iawn oedd yn rhaid iddynt ei gael, ac nid iawn bychan a wnelai y tro am drosedd mor fawr. Crys—yr oedd hyny yn rhy fychan; derbyniwyd hwnw, bid siŵr, ond yr oedd eisieu mwy. Gleinronos—mwy eto. Neisiad—mwy wed'yn. Bu ymron myned yn ymladd. Heriodd Dr. L. hwynt i daro yr ergyd cyntaf ac edrych ati wed'yn, ond nid oeddynt yn dewis gwneyd hyny chwaith. Yr oedd golwg bur beryglus ar y Makololo, a buasent yn gwneyd difrod arnynt mewn eiliad pe cawsent ond caniatâd Dr. L.; ond penderfynodd efe roddi ŷch iddynt er mwyn dybenu y ffrae. Bu cyfrwysder y Doctor ar ddechreu yr ymryson yn gryn help i'w therfynu. Yr oedd wedi tynu y penaeth i eistedd yn agos ato ef, ac fel yr oedd y ffrae yn myned yn y blaen, amgylchynwyd ef gan y Makololo. Gwelodd y Chiboque y buasai bywyd eu penaeth yn myned yn ddirwy am yr ergyd cyntaf a darawent. Rhoddodd yr ŷch ben ar yr ymryson, ac ar ol cael rhyw ychydig fwyd oddiwrth y penaeth, aethant yn eu blaen.

Cyfarfuasant â'r un profedigaethau drachefn oddiwrth benaethiaid gwancus y parthau hyn, ac aeth mor gyfyng arnynt o'r diwedd fel y darfu i'r holl fyntai ond Dr. L. ei hun roddi i fyny mewn anobaith. Dywedasant wrtho nad oedd wiw ceisio myned yn y blaen o dan y fath amgylchiadau, a'u bod hwy wedi penderfynu dychwelyd. Hon oedd y brofedigaeth lemaf a gawsai o'r dechreuad. Yr oedd meddwl am orfod dychwelyd heb gyrhaedd ei amcan, wedi dyfod mor agos i'r sefydliad Portugiaidd, yn wir dorcalonus. Wedi defnyddio pob rheswm i'w perswadio i newid eu penderfyn-

iad, ond yn ofer, dywedodd wrthynt os dychwelent hwy yr äi efe yn ei flaen wrtho ei hunan, a thrôdd i'w babell fechan, gan ddyrchafu ei galon at yr Hwn sydd yn gwrando ocheneidiau y trallodus; ond buan y dilynwyd ef yno gan Mohorisi. Yr oedd edrych ar ei ofid wedi cael mwy o effaith arnynt na'i holl resymau. Dywedodd, "Ni bydd i ni byth eich gadael: peidiwch digaloni. Lle bynag yr arweinioch chwi, ninnau a ddilynwn. Darfu i ni ddyweyd fel y dywedasom yn unig o herwydd anghyfiawnder y bobl yma." Dilynwyd hwy gan eraill yn dywedyd "eu bod hwy oll yn blant iddo ef;—nad oeddynt hwy yn adwaen neb ond Sekeletu ac yntau, a'u bod yn barod i farw drosto;—nad oeddynt wedi ymladd, am mai hyny oedd ei ewyllys ef;—eu bod wedi dywedyd yr hyn a ddywedasent yn chwerwder eu hysbryd, wrth weled nad allent wneuthur dim; ond os byddai i'r bobl ddrwg yma ddechreu ymladd, y cai weled pa beth a wnaent." Gwrthodasid un o'r ychen a gynnygiasant i'r Chiboque am ei fod wedi colli rhan o'i gynffon. Tybient hwy ei bod wedi ei thori ymaith, a rhyw swyn beryglus wedi ei osod yn y darn oedd yn aros. Parodd Dr. L. beth digrifwch ymhlith ei gymdeithion na byddai yn ffol o gynllun pe byddai yr ychen eraill yn cael eu gwneyd yn anghymeradwy yn yr un modd. Buan y gwelodd ei sylw yn dwyn ffrwyth; byrhäwyd cynffonau y pedwar ŷch oedd yn aros, ac ni chawsant eu poeni mwy gan gais am ŷch tra yn ngwlad y Chiboque.

Ar y 4ydd o Ebrill daeth i làn y Quango—afon fawr, ddofn, yn gant a hanner o latheni o lêd. Yma mynai y penaeth a'i bobl eu hyspeilio o bob peth oedd wedi ei adael; ond yn eu cyfyngder mawr, daeth gwaredigaeth trwy ymddangosiad rhagluniaethol hanner-Portugiad, o'r enw Cypriano, yr hwn oedd yn swyddog yn y fyddin Bortugiaidd, a'r hwn a ddaethai i'r parthau hyn er mwyn pwrcasu cŵyr gwenyn. Cynnorthwyodd hwn hwynt i ymryddhâu o afael eu poenydwyr, a dygodd hwynt i'w dŷ, yr hwn oedd rai milldiroedd i'r gorllewin, lle y cawsant ddigon o fwyd a gorphwysfa, a chroesaw calonog. Aethant oddiyma yn eu blaen yn ddirwystr tua Loanda. Pan ddaethant i olwg y môr, edrychai y Makololo arno gyda dychryn. Wrth adrodd ryw amser ar ol hyn pa fath oedd eu teimladau ar y pryd, dywedent, "Yr oeddem ni yn myned yn y blaen gyda'n tad, gan gredu fod yr hen bobl yn dywedyd y gwir pan ddywedent nad oedd yr un pen hwnt i'r byd; ond oll ar unwaith, dywedodd y byd wrthym, 'Dyma fi wedi dybenu; nid oes dim mwy o honof fi.'" Wrth ddisgyn y goriwaered sydd yn arwain i Loanda, yr oedd Dr. L. yn ddigalon oblegid ei afiechyd, ac yr oedd ei ddigalondid wedi ei ychwanegu trwy glywed nad oedd mwy nag un o'i gydwladwyr yn y ddinas, er ei bod yn cynnwys deuddeng mil o eneidiau; ond buan y symudwyd ei ofnau a'i ofalon, trwy gael profion anghamsyniol fod yr un hwnw o'r iawn ryw. Ei enw yw Mr. Gabriel, a'i swydd yno yw dirprwywr y llywodraeth Brydeinig er attal caethfasnach. Derbyniwyd ef gan y boneddwr hwn yn y modd mwyaf haelfrydig; a phan ddeallodd ei fod yn glaf, gosododd ei wely at ei wasanaeth, ac yr *oedd* yn felus cael gorwedd ar wely Seisonig da mewn tŷ cydwladwr caredig, ar ol bod am chwe' mis yn gorwedd ar y ddaear. Buan y cysgodd, a mawr oedd llawenydd Mr. Gabriel pan aeth i edrych ei helynt wrth ei weled wedi myned mor llwyr i dir anghof.

Darfu i'r caredigrwydd mawr a gawsant yn Loanda eu had-dalu am holl ofidiau a thrafferthion eu taith. Nid oedd diwedd ar haelioni a lletygar-

wch Mr. Gabriel; ac yr oedd yr holl awdurdodau Portugiaidd, o'r uchaf hyd yr iselaf, yn gwneyd pob peth yn eu gallu i'w gwneyd yn gysurus, ac ni bu neb yn fwy caredig nag esgob Pabaidd y lle. Yr oedd efe yn wir Babydd, ond ni choleddai deimladau angharedig tuag at y rhai a wahaniaethent oddiwrtho, a chymharai y gwahanol bleidiau o Gristionogion i ddynion yn myned tuag un o eglwysi Loanda ar hyd gwahanol heolydd, ond yn dyfod o'r diwedd i'r un fan. Mawr oedd syndod y Makololo wrth weled tai a llongau pobl wŷnion. Heb weled dim yn eu hoes ond bythod a phebyll, yr oedd yn anmhosibl ganddynt ffurfio un dirnadaeth am dŷ; ac wedi gweled un, dywedent, "Nid tŷ mo hono, ond mynydd ac ystafelloedd ynddo;" a dywedent am long, "Nid yw hi fel cwch, ond fel tref." Daethant yn fuan i wneyd eu hunain yn wasanaethgar, ac i ennill arian wrth gasglu coed i'w gwerthu at danwydd, a chawsant waith i lànio glo o un o'r llongau am chwe' cheiniog y dydd. Buont yn gweithio yma am fwy na mis, a mawr y synent fod un llong yn gallu cynnwys y fath doraeth. "Buom," meddent, "yn gweithio gymaint a allem o godiad haul hyd ei fachludiad, am leuad a hanner, yn dadlwytho cèryg sydd yn llosgi, nes ein bod wedi blino, a gadawsom ddigon ar ol ynddi yn y diwedd." Gwerthwyd ifori Sekeletu am bris da, a phwrcaswyd gwisgoedd a phethau eraill i'w dwyn iddo. Prynodd y Makololo hefyd wisgoedd a gleinronos â'r arian a ennillasent. Anfonodd awdurdodau a masnachwyr y dref anrheg werthfawr i Sekeletu; ac anfonodd yr un boneddigion farch iddo, ond bu hwnw farw ar y ffordd. Bu pâr o asynod a anfonasant yn fwy ffodus—daliodd y rhai hyny flinderau y daith, ac yr oeddynt yn fyw ac yn iach pan ymadawodd Dr. L. â Linyanti. Byddai yn fanteisiol iawn pe gellid lliosogi yr anifeiliaid defnyddiol yma yn y gwledydd hyn, oblegid nid ydynt hwy yn cael un niwed oddiwrth y *tsétse* sydd mor ddinystriol i anifeiliaid dofion eraill.

Ar yr 20 o Fedi, 1854, ymadawsant â Loanda, gan wynebu yn eu hol tua'r canoldir. Nis gallwn eu dilyn yn fanwl. Gofynai hyny erthygl neu ddwy eto, ac yr ydym am ddybenu â'r pwnc yn y gyfrol bresennol. Ac ni byddai manylu chwaith yn unrhyw fuddioldeb. Ni byddai genym ond adrodd pethau o'r un fath ag a adroddasom eisoes—ymosodiadau parhâus ac adnewyddol y dwymyn ar Dr. Livingstone; gwlawogydd mawrion yn ei gadw yn berffaith wlyb un dydd ar ol y llall am ddyddiau lawer; a thrafferthion wrth fyned heibio i benaethiaid trachwantus wrth adgroesi gwledydd y Bashinjé a'r Chiboque. Y mae yn un o'r rhyfeddodau mwyaf erioed iddo ddychwelyd yn fyw i blith dynion gwareiddiedig. Cawsant eu croesawu gyda banllefau ymhob man wedi cyrhaedd gwlad Balonda. Dangosodd eu hen gyfaill Shinté foddlonrwydd mawr wrth eu gweled, a charedigrwydd mawr tuag atynt. Oherwydd afiechyd parhâus Dr. Livingstone, buont yn llawer hŵy ar eu taith nag y dysgwylient; treuliasent gan hyny y rhan fwyaf o'r nwyddau a ddygasent gyda hwynt o Loanda; a phan gyrhaeddasant Libonta, yr oeddynt ymron mor llymion â phan y cychwynasent oddiyno ar y cyntaf. Cyrhaeddasant y lle hwn ar y 27ain o Orphenaf, er mawr lawenydd i'r holl drigolion. Edrychid arnynt fel dynion wedi cyfodi o feirw, oblegid yr oedd eu swynwyr mwyaf doethion yn dywedyd eu bod oll wedi darfod am danynt er ys amser maith. Cynnaliwyd cyfarfod mawr i'w croesawu, ymha un y gwnaeth Pitsane araeth faith, mwy nag awr o hŷd, yn yr hon y rhoddodd hanes eu taith, caredigrwydd pobl wŷnion yn gyffredinol, a'r eiddo Mr. Gabriel yn neillduol. Terfynodd gyda dywedyd fod

Dr. L. wedi gwneyd mwy drostynt nag a ddysgwylient—ei fod nid yn unig wedi agor llwybr i fyned at y bobl wŷnion, ond hefyd wedi enill ewyllys da y penaethiaid a breswylient ar y ffordd. Ymddangosai cymdeithion Dr. L. yn fawreddog yn ngolwg eu cydwladwyr yn eu gwisgoedd gwŷnion a'u capiau cochion a ddygasent o Loanda. Y dydd canlynol, cynnaliwyd cyfarfod o ddiolchgarwch i'r Goruchaf am eu dwyn yn ddyogel trwy beryglon a thrafferthion, a rhoddi iddynt ddychwelyd at eu cyfeillion heb gymaint ag un o honynt wedi ei golli. Ar ol aros yno bedwar diwrnod, cychwynasant drachefn a chyrhaeddasant Linyanti yn mis Medi, 1855, wedi bod yn absennol am yn agos i ddwy flynedd. Prin y mae achos i ni ddywedyd fod llawenydd Sekeletu a'i bobl ar eu dyfodiad yn annesgrifiadwy. Boddlonid y penaeth dirodres gan yr anrhegion a ddygasid iddo o Loanda, a'r wisg filwraidd oedd yn eu plith; boddlonid ef gan y gobaith fod ffordd bellach wedi ei hagoryd i ddwyn yn y blaen fasnach rhwng ei wlad ef â sefydliad y bobl wŷnion ar lân y môr; ond boddlonid ef uwchlaw pobpeth wrth weled ei hoff gyfaill Dr. L. wedi dychwelyd o'i daith beryglus yn fyw ac yn iach. Adroddai ei gymdeithion hanes y pethau rhyfedd a welsent, ac yr oedd y rhyfeddodau yn myned yn fwy yn hytrach nag yn llai wrth eu hadrodd. Mynent eu bod wedi bod yn mhen pellaf y byd; a phan sylwodd un wrthynt eu bod wrth hyny wedi bod gyda Ma Robert (Mrs. Livingstone), nid oedd ganddynt un ffordd i ddyfod allan o'r anhawsder, ond trwy ddywedyd fod yn rhaid fod y wlad yr aethai hi iddi rhyw gymaint ymhellach na phen hwnt y byd.

Ond nid oedd Dr. L. am aros yma. Yr oedd rhan bwysig o'i gynllun heb ei orphen eto. Profasai y ffordd o Linyanti i Fôr y Werydd, ac yr oedd yn ei galon i wneyd prawf o'r ffordd o'r un fan i Fôr India. Penderfynai, od oedd yn bosibl, agor ffordd o'r naill fôr neu y llall i berfeddion y wlad.

Cychwynodd o Linyanti ar y 3ydd o Dachwedd, ac aeth Sekeletu, a dau gant o ganlynwyr gydag ef, am ran o'r daith. Ar yr 20fed o'r mis hwnw, dychwelodd y penaeth tua'i gartref, gan adael cant a phedwar ar ddeg o bobl i fyned yn y blaen gyda Dr. L. Nis gallwn fanylu ar y daith hon. Aethant i waered gyda'r Zambesi, heibio i lwythau llïosog, y rhai oeddynt o'r blaen yn hollol anadnabyddus. Yr oedd rhai o honynt yn ddigon anfrawdol, yn debyg i'r rhai a gyfarfuasai yn ei daith flaenorol, tra yr oedd eraill yn fwy cymwynasgar a charedig. Cafodd y gwledydd hyn yn llawer mwy iachusol na'r rhai y teithiasai trwyddynt i Loanda, a golygai hwy yn dra manteisiol i sefydlu cenadau ynddynt, ac arwyddodd rhai llwythau eu boddlonrwydd i dderbyn dysgawdwr gwŷn, a'u parodrwydd i'w amddiffyn ef a'i eiddo. Bu am fwy na chwe' mis ar y daith hon; ac ar yr 20fed o Fai, 1856, cyrhaeddodd yn ddyogel y nôd y cyrchai ato, sef sefydliad Portugiaidd Quilimane. Cymerodd long yno, a daeth adref i Loegr, lle y cafodd ei wraig a'i deulu yn fyw ac iach, a'i gydwladwyr yn ymorchestu am y blaenaf i dalu iddo anrhydedd, fel prif ddarganfyddwr daearyddol ei oes, ac un o brif gymwynaswyr dynolryw.

Pa beth fydd ffrwyth ei ddarganfyddiadau, amser a ddengys. Y mae wedi dwyn llwythau llïosog, na wyddai neb am danynt o'r blaen, i wyneb haul a llygad goleuni, ac wedi dangos y ffordd i fyned atynt. Y mae y gwledydd trwy y rhai y teithiodd yn llïosog eu poblogaeth wrth eu cymharu â threfedigaeth y Penrhyn, a gwlad y Bechuaniaid; ond ychydig

wedi y cwbl yw y tir gwrteithiedig mewn cymhariaeth i'r hyn sydd hyd yn hyn wedi ei adael yn anialdir. Y mae' gwastadleoedd ëang a ffrwythlawn heb drigiannydd arnynt, nac anifail i fwyta eu glaswellt ond anifeiliaid gwylltion, a llai na digon o'r rhai hyny i ateb yr ymborth sydd ar eu cyfer. Attelir cynnydd y boblogaeth yn y gwledydd gorllewinol gan ryfeloedd rhwng y penaethiaid â'u gilydd, a chedwir i fyny y demtasiwn i ryfela gan y gaethfasnach felldigedig. Gwna y penaethiaid eu goreu i gael cymaint a allont o garcharorion erbyn ymweliadau y Mambári, ac y mae y rhai hyny yn prynu cymaint a allant eu cael i'w dwyn i fin y môr er mwyn eu gwerthu drachefn i'r bobl wynion. Rhoddai gwareiddiad, ac yn enwedig y fath wareiddiad ag a effeithir gan efengyl y tangnefedd, ben ar y pethau hyn am byth.

Ar hyd yr holl ffordd a deithiodd Dr. L., cafodd brofion fod llwythau llïosog yn preswylio tua'r gogledd a'r gogledd-ddwyrain. Crybwyllasom eisoes iddo ddyfod yn agos i dref y penaeth mawr Matiamvo. Enw swyddol yw hwn ar lywydd cyffredinol holl wlad Londa. Y mae ei ddiriogaeth ef yn helaeth iawn, ac y mae lle i gredu fod ei bobl yn llïosog. Bwriadodd Dr. L. unwaith dalu ymweliad iddo ef ar ei ddychweliad o Loanda; ond gan i rwystr gyfodi ar ei ffordd, rhoddwyd i fyny y bwriad hwnw. Y mae ei ddarganfyddiadau wedi deffroi, ac nid boddloni, ein chwilfrydedd. Dywed wrthym pa beth sydd ar hyd y llinell gam a dynodd efe o Loanda yn y gorllewin, hyd Quilimane yn y dwyrain. Yr oedd hyny oll yn newydd i ni; ac y mae arnom eisieu gwybod yn awr pa beth, a pha fath ddynion, a pha nifer o honynt, sydd rhwng hyny a'r gogledd anadnabyddus.

Medr yr efengyl drîn, a gwareiddio, ac achub, y bobl anwar hyn. "Gallu Duw yw hi." Ymysg y Bechuaniaid, y rhai ydynt mor anwar a hwythau, y mae wedi gwneyd rhyfeddodau. Ystyrient ef islaw dyn i wylo; ni welid hwy byth yn tywallt dagrau; ond y mae yr efengyl yn gwneyd iddynt wylo. Gwelodd Dr. L. heliwr mawr yn wylo yn hidl yn y Kuruman, wrth wrando am Iesu Grist. Lladdwyd hwn yn y diwedd gan *rhinoceros;* a phan yn mhangfëydd angeu, a'i gnawd wedi ei ddryllio yn chwilfriw gan y bwystfil cynddeiriog, nid oedd deigryn yn gwlychu ei rudd, ond gweddïai ar yr Iesu hyd yr anadl olaf. Y mae Dr. Livingstone yn awr yn esgyn y Zambesi. Llwydded Arglwydd nef a daear ei hynt bwysig! Dilyner ef gan fasnach a gwareiddiad! Heded yr efengyl ac iachawdwriaeth dragywyddol i'r llwythau ar ei ddê a'i aswy! Llanwer Affrica â'r son am Iesu! Y mae y cyfandir hwn yn yr addewid. Yr oedd Affrica ëang mewn golwg pan ddywedwyd, "Gofyn i mi, a rhoddaf y cenedloedd yn etifeddiaeth i ti, a therfynau y ddaear i'th feddiant!"

# OLIVER CROMWELL.

NID annhebyg ydyw y bydd i rai o'n darllenwyr ofyn, Pwy oedd Cromwell? gwaed pa genedl a lifai yn ei wythienau? Tra y cydnabyddwn fod yr ymholiad yn berffaith deg, yr ydym yn gorfod cyfaddef fod ei ateb yn foddhâol yn orchwyl anhawdd, os yn ddichonadwy. Cromwell ei hun, yn ei araeth ger bron y Senedd, Medi 12fed, 1654, a ddywedai,—"Cefais fy ngeni yn foneddwr; tra nad oeddwn yn byw mewn cyhoeddusrwydd mawr, nac ychwaith allan o'r golwg yn hollol, fe'm galwyd i amryw swyddau yn y wlad, ac i fod yn aelod o'r Senedd, ac mi a ymdrechais wneyd gwaith dyn gonest yn y swyddau hyny."*

Y mae dau deulu o'r enw Cromwell, medd y llinachwyr, mewn hanesyddiaeth Seisonig. Tywysog yr ymchwilwyr hyn—Dugdale,† a sonia am un Ralph de Cromwell ag a fu yn Nghymru yn amser Edward I.; ac am un John de Cromwell, yr hwn, yn y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Edward II., a dderbyniodd gan y brenin gastell Hope, Sir Fflint, ar yr ammod ei fod yn adgyweirio yr hen gastell ag oedd ar y pryd mewn cyflwr tra adfeiliedig; ac yn y chweched flwyddyn o'r un teyrnasiad, anfonwyd yr un gŵr i'r Dywysogaeth gydag un Henry le Scrope, ac yr ydym yn cael fod ystafellydd y brenin yn Nghaernarfon yn talu ei draul, sef deg marc. Yr oedd iddo fab o'r enw Ralph, ac i hwnw fab o'r enw Ralph, yr hwn a fu farw yn y fl. 1455 yn ddiblant, a'i etifeddiaeth a aeth rhwng tair modryb oedd ganddo. Yr oedd y Ralph hwn yn Iarll Essex. Enw un fodryb oedd Maud, yr hon a unwyd mewn glân briodas gydag un Syr William Fitz-Williams, marchog; a bernir gan awdwr galluog hanes Oliver Cromwell yn y *Biographia Britannica*, mai o'r teulu hwn y disgynodd.

Y teulu arall o'r enw ydyw teulu yr Arg. Thomas Cromwell, ag oedd mor enwog yn amser Harri yr Wythfed; "yr hwn nid oedd amgen mab i Walter Cromwell, gôf yn Putney, pedair milldir o Lundain." Eithr fel y sylwa Carlyle, nid yw yn canlyn fod y gŵr mewn amgylchiadau cyfyng am ei fod yn ôf; yr ydym yn cael fod ei fab wedi derbyn dysgeidiaeth gyfrifol, wedi tramwy llawer mewn gwledydd tramor, wedi dysgu eu hieithoedd, wedi ymladd yn eu rhyfeloedd, ac wedi dychwelyd i'w wlad gydag enw mor dda, fel y cymerodd Wolsey ef i'w wasanaeth. Yn ebrwydd ar ol cwymp yr hen Gardinal, y mae Harri yn gwneuthur gwas o Cromwell, yn ei benodi yn gyfrin-gynghorwr, yn geidwad y gemdŷ, yn ganghellydd y drysorfa, ac yn brif-ysgrifenydd y wladwriaeth, heblaw lliaws o bethau urddasol eraill. Bu ei ddyrchafiad yn frysiog iawn, ac yr oedd ei gwymp yn un tra disymwth. Yr hen le enwog hwnw mewn hanesyddiaeth Seisonig—y Tŵr—a'i derbyniodd ar y 10fed o Fehefin, 1540; ac ar y 24ain o'r mis canlynol, fe'i dieneidiwyd ef ar Tower Hill. Gan y bwriadwn ddywedyd gair ar Harri mewn rhifyn dyfodol, y mae yn rhaid i ni ymattal ar hyn o bryd. Yr oedd i'r Arg. Cromwell hwn chwaer; yr oedd iddi hi, o bosibl, enw, er fod y llinachwyr wedi ei lwyr golli; a dywedir fod y chwaer yma wedi priodi un Morgan Williams, Cymro o Sir Forganwg, a bod ein gwron ni

* *Carlyle's "Cromwell,"* cyf. III., 374. † *Baronage*, cyf. II., 44.

yn bedwerydd o'r gŵr o Sîr Forganwg. Cadarnhëir hyn mewn hen ysgriflyfr sydd o'n blaen, yn yr hwn y dangosir fod Morgan Williams yn dad i Richard Cromwell; Richard Cromwell yn dad i Henry Cromwell; Henry Cromwell yn dad i Robert Cromwell; a Robert Cromwell yn dad i Oliver Cromwell.*

Dyna y ddwy farn ger bron y darllenydd. Yn ol y gyntaf, nid yw Oliver yn perthyn i Arglwydd Cromwell, nac yn Gymro ychwaith, canys nid Cymro oedd y Fitz-Williams y cyfeirir ato. Yn ol yr ail, y mae Oliver yn llinach yr Arg. Thomas Cromwell, ac yn Gymro. Teg yw dyweyd mai o blaid yr ail y mae y prif-awdurdodau gan mwyaf. Eithr nid ydym yn deall paham y cymerir yn ganiatäol nad oedd Cromwell y gôf yn llinach y Cromwelliaid cyntaf. Er chwilio cyfrolau Dugdale, nid ydym yn cael un awgrym dros nac yn erbyn y fath olygiad; ond llinachwr arall† a ddywed, ond heb roddi un rheswm dros hyny, nad oedd un berthynas rhwng y teuluoedd. Fodd bynag, y mae hyn yn beth nad allwn ei benderfynu; ac y mae o bwys mawr, wrth olrhain henafiaethau, i ni wybod pa beth sydd brofadwy, a pha beth sydd anmhrofadwy.

Beth am Gymreigyddiaeth Oliver a'i henafiaid? Y mae yn ffaith, medd Carlyle,‡ fod y Richard Cromwell uchod, mab Morgan Williams, yn arfer ysgrifenu ei enw, "Richard Cromwell alias Williams," fel y gwelir mewn hen weithredoedd cyfreithiol, a phapyrau eraill, sydd yn aros hyd heddyw; a bod ei feibion a'i ŵyrion wedi gwneuthur yr un fath; a bod Oliver ei hun yn ei febyd wedi gwneuthur yr un peth. Y mae yn ddiammheuol, dybygid, bod Williams yn un o gyfenwau y teulu. Ond pa fodd y cafwyd ef? Enwir dau fodd: "Yr wyf wedi gweled llinachlen," medd Dugdale,‖ "yn yr hon y dywedir fod Arg. Cromwell wedi priodi merch un Williams, yr hwn oedd Gymro; ond yr wyf yn tybied mai camsyniad yw hyn; a bod Williams wedi priodi ei chwaer ef; oblegid sicr yw y dywedid fod Syr Richard Williams yn nai iddo; yr hwn, ar ol cael ei ddyrchafu ganddo ef i wasanaeth Harri yr Wythfed, a gymerodd iddo ei hun y cyfenw Cromwell." Gan fod Carlyle yn brif awdurdod yn awr ar hanes Cromwell, diau y dylid gwrthbrofi ei haeriad annheg mewn perthynas i Dugdale, ar awdurdod yr hwn, medd efe, "y mae y stori am ddisgyniad Cymreig Cromwell yn gorphwys," a'r hwn "sydd yn dra anffodus wedi adrodd y stori mewn *dwy* ffordd wahanol,"—sef, *fod* ein gwron wedi hanu o Gymry, ac ***nad oedd*** wedi hanu o Gymry.§ Eithr yn hyn, fel yn rhy fynych yn ei ysgrifeniadau, y mae yr awdwr galluog hwn yn anghofio ei ffeithiau er mwyn dangos ei reitheg; canys wrth droi i Dugdale,** yr ydym yn cael yn ei sylw ar Arg. John Williams o Thame y geiriau canlynol: "O ran ei riaint, yr oedd o'r un teulu a Syr Richard Williams, marchog, yr hwn a ymgyfenwodd ar enw Cromwell, yn amser Harri yr Wythfed; sef, yr oedd yn ail fab i Syr John Williams o Burfield, Sir Berks, ac Elizabeth ei wraig, merch ac etifeddes Richard More, Burfield, Yswain." Yn awr, yn enw pob rheswm, a oes yna y gwrthddywediad a dybir gan Carlyle? Y cyfan a ddywedir yw, fod Arg. John Williams o'r un teulu a rhyw Richard Cromwell alias Williams, yr hwn, ebe ein hawdwr mewn man arall, oedd Gymro. Rhyw

* "*Visit. of Huntingdon,*" *Harleian* MSS., 1179. † *Banks* "*Baronage,*" cyf. III., 276. ‡ *Carlyle's* "*Cromwell,*" cyf. I., 45. ‖ *Baronage*, cyf. II., 374. § *Carlyle's* "*Cromwell,*" cyf. I., 47, 48. ** Cyf. II., 393.

ddull newydd o feirniadu, onide, yw esbonio yr hyn a ddywedir wrth yr hyn ni ddywedir gan awdwr; canys tybiem bob amser mai y drefn gywir oedd esbonio dystawrwydd wrth rywbeth a fynegir mewn man arall. Ond er fod Mr. Carlyle wedi colli ei draed i fesur mawr, y mae awdwr yr erthygl yn y *Biographia Britannica* wedi llithro filldiroedd ymhellach, canys cawn ef yn cyhuddo Dugdale o ddywedyd fod yr Arg. John Williams, a'r Syr Richard Williams a gyfenwodd ei hun Cromwell, yn frodyr, ac yn feibion i Williams o Burfield yn Berks! Yna y mae yn fawr ei ymffrost yn haeru fod "Morgan Williams, y Cymro," yn cael ei daflu dros y trothwy, ac mai ynfydrwydd dywedyd mwyach fod Cromwell yn Gymro! Yn wir pe buasai Mark Noble wedi cyflawni y fath gamwri, buan y cawsem weled Carlyle, yn orlawn o nawddgarwch, yn tynu ei law dros ben yr hanesydd tlawd, ac yn ei gysuro â'r frawddeg, "*my poor imbecile friend.*" Edrycher am eiliad ar yr hyn a ddywed Dugdale yn y ddau ddyfyniad uchod. Yn gyntaf, Y mae Richard Cromwell alias Williams yn Gymro; yn ail, Y mae Arg. John Williams o'r un teulu â'r Cymro hwn, ond yn fab i Syr John Williams o Burfield yn Berks; yn drydydd, Nid yw y Syr John Williams hwn yn meddu hawl i Burfield ond yn rhinwedd ei briodas âg Elizabeth More. Y gofyniad, ynte, yw,—O ba le y daeth y Williams hwn i Burfield? Yr ydym wedi chwilio cryn lawer ar hen goflyfrau, ond yn aflwyddiannus; eithr Dugdale a rydd i ni rywfaint o oleuni, drwy ddywedyd ei fod o'r un teulu a Richard Cromwell alias Williams. Dyna sefyllfa hyn o bwnc yn ngwaith Dugdale; a chan yr ystyria Carlyle ei fod, wrth ddangos anghysondeb Dugdale, yn yspeilio ein hystori o'i phrif hawl i grediniaeth, yr ydym ninnau yn ystyried ein bod, wrth ddangos camsyniad Carlyle, a chysondeb Dugdale, yn adferu y ffaith, dros yr hon y dadleuwn, yn ôl i'w lle mewn hanes. Eithr y mae un sylw arall o eiddo awdwr yr erthygl yn y *Biographia Britannica* yn gofyn am air. Ein hawdwr, er mwyn dangos ymhellach nad oedd un berthynas rhwng Cromwell a'r Williamsiaid o Burfield, a ddywed fod Cromwell ei hun wedi dangos, yn ystod ei deyrnasiad, cryn elyniaeth at y teulu hwn, yr hyn, medd efe, na wnaethai pe caredigion fuasent. Yr awdurdod a roddir dros hyn yw Dugdale.* Ar ol darllen yr haeriad, troisom ddalenau yr hen linachwr gofalus; ac er chwilio am gryn amser, nis gallem weled un sail i'r haeriad yn nhu dalen 132, nac mewn unrhyw dudalen arall; ac yr ydym yn tybied, gan hyny, fod dychymyg yr awdwr wedi gyru ei farn ar gyfeiliorn yn yr amgylchiad yma o leiaf.

Y mae genym, felly, air cyson Dugdale o blaid haniad Cymreig Oliver Cromwell. Priodol fydd i ni yn nesaf gipdremio am fynyd ar linach Gymreig ein gwron, taflen o'r hon a geir yn ngwaith Noble,† a'r hon sydd yn olrhain ei henafiaid yn ôl hyd yr unfed ganrif ar ddeg. Y daflen a gyfansoddwyd, medd Noble, yn y fl. 1602, drwy orchymyn Syr Henry Cromwell, taid yr Arglwydd Noddwr Oliver, ac o'r daflen yma, ag oedd ar y pryd yn meddiant y "Miss Cromwells," y dyd yr hanesydd yr enwau yn ei lyfr. Mae yn wir, fel y sylwa Carlyle, na chyfansoddwyd y daflen hyd oddeutu can' mlynedd ar ol marwolaeth y gŵr o Forganwg, ac iddi gael ei chyfansoddi ymhell o'r fro brydferth lle y trigai Morgan Williams; eithr ar ail ystyriaeth, nid yw can' mlynedd yn amser maith i'w gofio gan deulu sydd yn ymfalchio yn ei henafiaid: hyn, ni a feddyliem, sydd sicr, fod

* *Baronage*, cyf. II., 132. † "*Cromwell,*" cyf. I., 2.

can' mlynedd yn amser rhy fyr i gyfrif fodd yn y byd am y traddodiad fod Syr Henry Cromwell wedi disgyn o deulu Cymreig, ond yn unig ar y tir ei fod yn wir. Y daflen a ddengys fod Morgan ap William wedi priodi chwaer Arg. Thomas Cromwell; a'i fod yn fab i William ap Ifan, yr hwn a fu yn gweini dan Jasper, Dug Bedford, a'r brenin Harri yr Wythfed; ei fod ef yn fab i Ieuan ap Morgan, Eglwys Newydd, ger Caerdydd; ei fod ef yn fab i Morgan ap Hywel; ei fod ef yn fab i Hywel ap Madog, Arglwydd Rybwr; ei fod ef yn fab i Madog ap Rhun, Arglwydd Rybwr; ei fod ef yn fab i Rhun ap Gronwy, Arglwydd Rybwr; ei fod ef yn fab i Gronwy Fychan; ei fod ef yn fab i Gronwy ap Llowarth; ei fod ef yn fab i Llowarth ap Gwrgan Fychan; ei fod ef yn fab i Gwrgan ap Gwrgan Fychan; ei fod ef yn fab i Gwrgan ap Gwrystan; ei fod ef yn fab Gwrystan ap Gwaithvoed, Arglwydd Powys; ei fod ef yn ail fab Gwaithvoed, Arglwydd Ceredigion a Phowys; a'i fod yntau yn fab Glothian, Arglwydd Powys. Dyna enwau gwrywaidd y daflen. Nis gwyddom a oes rhai o'n henafiaethwyr cenedlaethol wedi ei chwilio a'i beirniadu. Edrychasom am farn yr enwog Carnhuanawc, ond ychydig a ddywedir ganddo:* "Yr oedd Cromwell o haniad Cymraeg. Ei orhendaid [or-orhendaid] ydoedd William ap Ieuan, gŵr boneddig o dylwyth da yn Morganwg, yr hwn a ddaliai swydd anrhydeddus yn nheulu Jasper Tudor, Iarll Bedford; a mab i William ydoedd Morgan ap William, yr hwn a briododd chwaer i Thomas Arg. Cromwell, Iarll Essex. Mab Morgan ap William ydoedd Richard, yr hwn oedd yn byw yn amser Harri VII., ac a urddwyd yn farchog; ac yn ol y dull Seisonig yr oedd yn ofynol iddo adael yr ap, a chymeryd rhyw atenw sefydlog. A chan ei fod yn byw ar y tir a gafodd oddiwrth ei wraig, drwy arch y brenin cymerodd yr atenw o Cromwell, a chawn ef dan yr enwad o Syr Richard Cromwell. Eithr y tylwyth hwn, hyd at amser Iago, a arferent danysgrifio eu henwau, Cromwell alias Williams; a dywedir i'r atenw olaf gael ei ddechreu gan Morgan ap William, yr hwn a alwai ei hun Morgan Williams, ac hefyd fod ei dylwyth yn Morganwg yn myned dan yr enw hwnw."

Ond yr hyn sydd yn gadarnhâd mawr i'r dyb uchod ydyw yr hyn a ddywed Leland yn ei *Itinerary*.† Defnyddiau y gwaith hwn a gasglwyd rhwng y fl. 1533 a'r fl. 1540, llawn triugain mlynedd cyn genedigaeth Oliver Cromwell. Ymadroddion yr hen deithiwr ydynt,—

"Kibworth lyith from the mouthe of Remny up to an Hille in the same Commote caullid Kavenon, a 6 miles from the mouthe of Remny. This Hille goeth as a Waulle overthwart betwix the Rivers of Thane and Remny.
—A 2 miles from this Hille by South, and a 2 miles from Cairdef, be vestigia of a Pile or Manor Place decayed at Eglius Newith, in the Paroche of Landaf.
—In the South side of this Hille was born Richard Williams alias Cromwelle in the paroche of Llanisen."

Yn awr, y mae y ffeithiau canlynol yn dangos fod yr hyn a ddywed Leland yn gywir. Yr oedd yn gyfoeswr â Syr Richard Williams alias Cromwell, ac yn yn ol pob tebyg yn hollol adnabyddus o hono, yn gymaint a bod y ddau yn perthyn i lys Harri VIII.; ac y mae manylwch cyffredin yr hen awdwr hwn, a'r pendantrwydd gyda'r hwn yr yngana y ffaith, yn ein harwain i'r unig gasgliad teg, sef fod yr haeriad yn wir. Ond

* "Hanes Cymru," 786. † Cyf. IV., 37, 38.

cadarnheir hyn eto gan yr arysgrif a osodwyd gan ei fab Richard ar y gwely breiniol: "Oliver Cromwell, Lord Protector of England, Scotland, and Ireland, born at Huntingdon, of the name of Williams of Glamorgan, and by Henry VIII. changed into Cromwell."

Wel, dyna y ddadl dros ddisgyniad Cymreig ein gwrthddrych. Eithr cyn gadael y pwnc, nid annifyr gan rai o'n darllenwyr fydd cael y daflen ganlynol, enwau yr hon a gymerir o hen ysgriflyfr ddaeth i'n llaw pan yn olrhain y mater. Y llyfr sydd ymhlith yr "*Harleian* MSS."* yn y *British Museum;* ac yn y *Catalogue,*† o dan enw y llyfr bychan yma, dywedir: "This pedigree is in one respect modester than some other Welsh pedigrees that I have seen, for it goes no higher than Adam." Eithaf canmoliaeth i'r Cymro, onidê? Ond wele y daflen: rhaid i'r darllenydd ymfoddloni ar yr enwau gwrywaidd yn unig:

"Oliver Cromwell ap Robert ap Henry ap Richard ap Morgan ap William ap John ap Morgan ap Hywel ap Rhun ap Grono ap Grono ap Llowarth ap Gwrgan ap Gwrganas ap Gwrystan ap Gwaithvoed ap Glodhin ap Gwyrydol ap Cradoc ap Lles Llawddiog ap Ednyfed ap Gwgan ap Gwynawg Farfsych ap Ceidio ap Corf ap Caenawg ap Iorwerth Hirflew ap Dagonwy ap Deon ap Cwmai ap Hywel ap Lliwi ap Rhun ap Lludd ap Llirith ap Macsen Wledig ap Lludd ap Beli Mawr ap Mynwgan ap Cai ap Por ap Sawl Benisel ap Rhydderch ap Rydion ap Eidal ap Arthvoel ap Sitsyllt ap Owain ap Cafo ap Bleiddyd ap Meirion ap Gorwyst ap Clydno ap Clydawg ap Elvydd ap Urien ap Andryw ap Cerain ap Porix ap Coel ap Cadell ap Ceraint ap Elidir War ap Morvudd ap Dau ap Sitsyllt ap Cuhelyn ap Gwrgan Farfdrwch ap Belinus ap Dyfnwal Moelmud ap Clydno ap Dyfnwarth ap Prydain ap Aedd Mawr ap Antonius ap Gorwst ap Rhiwallon ap Kynidda ap Henwyn ap Blinddyd ap Aser ap Cyngon ap Dyfnwal ap Garhonian ap Camber ap Brutus ap Silvius ap Ascanius ap Aenias ap Amhises ap Capis ap Asararus ap Troo ap Eristhonius ap Dardanus ap Cambo Blascon ap Blascon ap Aethius ap Drusius ap Hercules ap Osiris neu Misraim ap Ham ap Noah ap Lamech ap Methusaleh ap Enoch ap Jared ap Mahaleel ap Cenan ap Enos ap Seth ap Adda."

Y mae yn anwadadwy, ynte, fod Oliver Cromwell wedi disgyn yn union-syth oddiwrth hen bendefig urddasol,—Adda! A oes rhywun yn ammheu hyn? Darllened y daflen, a bydded argyhoeddedig. Y mae y daflen yn cychwyn yn gywir ac yn dybenu yn gywir; ond am ei chanol, wele dywyllwch dudew. Os oes gronyn o rinwedd yn nghyfundrefn gyfrin Myfyr Morganwg, dyma fantais iddo ef a'i ddysgyblion anfarwoli eu hunain, drwy ddwyn goleuni o dywyllwch.

Ond i ddychwelyd at ein pwnc. Ystyriwn ein bod—cyn dyfod at berthynas Oliver âg Adda—wedi gosod seiliau i'r casgliadau canlynol: yn gyntaf, Fod henafiaid Cromwell yn myned dan y cyfenw Williams; *yn ail,* Fod y Williamsiaid hyn yn frodorion Morganwg; yn drydydd, Ddyfod o honynt i berthynas â'r Cromwelliaid drwy briodas chwaer Iarll Thomas Cromwell a Morgan ap William; ac yn bedwerydd, Fod Oliver Cromwell, o du ei orhendaid, Morgan ap William, yn Gymro, ac o du ei orhen-nain yn perthyn i urddasol Iarll Essex, Arg. Thomas Cromwell.

Yn erbyn perthynas ein gwron â'r Iarll uchod, y mae Fuller, ac ar ei ol ef, awdwr yr erthygl yn y *Biographia Britannica,* yn dwyn gwrthddadl led bwysig. Pan yn sôn am Syr Henry Cromwell, taid Oliver,‡ dywed, "Nid oedd yn perthyn yn y gradd lleiaf i Arglwydd Thomas Cromwell,

* *Codex,* 1780. † *Harl.* MSS. *Catalogue,* cyf. II., 226. ‡ *Fuller's Worthies,* cyf. I., 178.

ac yr wyf yn haeru hyn oddiar wybodaeth sicr, er fod y gwrthwyneb yn cael ei gredu yn gyffredin. Canys pan gyflwynodd Dr. Goodman, diweddar Esgob Caerloew lyfr argraffedig i Oliver Cromwell, yn yr hwn y soniai am ei gyfathrach agos â'r Arg. Cromwell dywededig, yr Arglwydd Noddwr ymhongar, gan ewyllysio gwrthbrofi camsyniad cyffredin, a ddywedodd mewn cryn nwyd, 'Nid oedd yr arglwydd hwnw yn perthyn i'm teulu i yn y gradd lleiaf.'" Y mae yn rhaid i ni gyfaddef fod yr wrthddadl yn meddu cryn lawer o ymddangosiad gwirionedd. Yr ydym eisoes wedi gweled, a chawn ddangos hyny yn amlycach mewn mynyd, fod Syr Richard Williams alias Cromwell yn berthynas i Iarll Essex; ond dyma Oliver Cromwell, yn ol Fuller, yn gwadu y berthynas yn y modd mwyaf pendant. Pa un a gredir? Cyn y gallwn ateb, ymofynwn i natur y dystiolaeth ar ba un y mae yr haeriadau wedi dyfod hyd atom. O blaid perthynas Syr Richard âg Iarll Essex, y mae genym, heblaw y daflen a wnaed drwy orchymyn Syr Henry yn y flwyddyn 1602, dystiolaeth bendant Syr Richard ei hun mewn dau lythyr o'i eiddo at yr Iarll. Y llythyrau hyn a welir yn awr ymhlith ysgriflyfrau y *British Museum*, ac er mwyn boddloni ein hunain ar y mater, mynasom olwg arnynt, ac y maent o'n blaen ar hyn o bryd; yn un o honynt, y diwedd yw, "Your Lordship's most bounden nephew,—Richard Crumwell."* Y diwedd yn y llall yw, "Your humble nephew most bounden,—Richard Crumwell;"† ac yn yr olaf hwn, sonia am ei rwymau i wasanaethu yr Iarll, "fel y mae *natur*, a'ch mawr amryw garedigrwydd chwi yn fy rhwymo." Yn erbyn y berthynas, y dystiolaeth ydyw eiddo Fuller, yr hon sydd yn gorphwys ar eirwiredd Dr. Goodman—boneddwr, gyda llaw, a dyngodd ffyddlondeb i Charles I., ac ar ol ei gwymp efe a fynai ymwenieithio i Cromwell; a phan welodd nad oedd dyddiau palmwyddog esgobyddiaeth i ddychwelyd dan Cromwell, efe a ymgysurodd yn ffurfiau y Babaeth,—efe ydyw tad y stori sydd gan Fuller. Diymwad yw, y rhaid i ni ddewis ein dyn, canys nis gall Goodman a Syr Richard fod ar yr iawn. Yn y llythyrau, yr ydym yn cael tystiolaeth uniongyrchol Syr Richard; ond yn Fuller, nid yw y dystiolaeth ond eiddo Goodman. Noble‡ a ddywed mai ar "*hearsay*" yr adroddai Fuller yr hanes; ond ar y dybiaeth ei fod yn wir, nad anmhosibl oedd fod Cromwell yn gwrthddywedyd Goodman er mwyn cael gwared o hono. Carlyle hefyd‖ a dybia am unwaith yr un peth a Noble, a dywed ei fod yn synied fod Oliver, gan ei fod newydd roddi pen ar y Senedd Hir, ac felly yn llawn prysurdeb, wedi colli ei amynedd gyda Goodman, ac wedi dywedyd wrtho ynghylch y berthynas dan sylw, "Yr ydych yn hollol gamsyniol ynghylch y mater: bore da'wch," a bod Fuller, o ganlyniad, yn adrodd yn gywir. Eithr nid gwiw i ni ddyfalu, ac ymbalfalu, am esboniad newydd ar hyn o bwnc; sefyllfa yr hwn sydd, yn ein bryd ni, ac yn ol yr ymdriniaeth flaenorol, fel y canlyn:—1af, Y mae Oliver Cromwell yn ddiammheuol yn orŵyr i Syr Richard Cromwell alias Williams. 2il, Y mae y Syr Richard hwn, yn ol ei lythyrau ei hun, gystal a'r daflen achyddol, yn *nai* i Arg. Cromwell; ac os esbonir y gair nai i olygu rhywbeth heblaw mab brawd neu chwaer, nis gellir ei esbonio byth i beidio golygu perthynas o gwbl. 3ydd, Y mae Oliver Cromwell, yn ol Goodman, yn gwadu y berthynas. Yn awr, gan fod gwrthddywediad yn bod, y mae

* *Cottonian* MSS. *Cleopatra, E.* IV., 204 *b*. † *Harleian* MSS., 283, tu dal. 156.
‡ "*Cromwell*," cyf. I., 318. ‖ *Cromwell's Letters*, cyf. I., 41.

yn rhaid i ni esbonio y ffaith sydd a'r dystiolaeth wan o'i phlaid, i gysondeb â'r ffaith sydd yn meddu y dystiolaeth gadarn. Hawdd fyddai amlhâu manylion pellach ar hyn, a dangos fod Oliver yn cydnabod y berthynas yn gyhoeddus pan geisiodd gan y Senedd, ar farwolaeth ei chadfridog, roddi iddo ef y titl o Iarll Essex, a'i wneuthur yn "*Vicar General,*" yr hyn bethau a berthynent i'w henafiad urddasol Arg. Thomas Cromwell; a dwyn ymlaen yr wrthddadl mai drwy ei wraig, Elizabeth Bourchier, yr hon a ddisgynasai oddiwrth y Bourchiers ag oeddynt yn Ieirll Essex yn yr hen amser, y daeth y syniad i'r teulu ei fod yn perthyn i urddasolion Essex; ac ateb yr wrthddadl yma, drwy ddangos nad oedd Mrs. Cromwell o'r teulu hwnw, a phe buasai, nad oedd hyny mewn un modd yn gwrthbrofi yr hyn a brofasom uchod;—hawdd fyddai dilyn ar hyn am du dalenau; ond y mae ein pwnc wedi ei sefydlu, a gwell a wnawn ymattal cyn ei orbrofi, rhag arwain o hyny ryw gyfaill o gydwybod dyner i dybied ein bod yn cynllwyn i'w dwyllo.

Ond un gair eto ar y sychbwnc achyddol yma, a dyna ni yn ei adael. Enw mam Oliver oedd Elizabeth Steward, merch William Steward, Ysw., o Ely. Y llinachwyr a ddywedant yn dra hyderus ei bod wedi disgyn o'r un Stewardiaid a'r brenin Charles I., ac felly fod y Brenin a Cromwell yn garedigion. Y disgyniad a osodir o'n blaen fel y canlyn yn hanes rhagorol Forster:* Yn yr hen amseroedd, yr oedd un Alexander Steward yn Arglwydd Uchel Oruchwyliwr yr Alban: yr oedd iddo ddau fab, James ac Andrew. James ydoedd tad Walter, yr hwn a briododd Marjery, chwaer a chydetifeddes David II., brenin yr Alban; oddiwrthynt hwy y disgynodd Robert II., brenin; yna Robert III.; yna James I.; James II.; James III.; James IV.; James V.; y Frenines Mary; James VI., yr hwn oedd Iago I. o Loegr; a'i fab ef oedd Charles I. Disgynyddion Andrew Stewart ydynt—Syr Alexander Steward—Syr John Steward—Syr John Steward—Thomas Steward—Richard Steward—Arcbibald Steward—Archibald Steward—William Steward, merch i'r hwn oedd mam Oliver. Y mae Charles I. yn y ddeuddegfed genedlaeth o Alexander Steward: y mae Oliver Cromwell yn yr unfed ar ddeg.

Wel yn iach i'r llinachwyr bellach. Buom yn hŵy yn eu cyfeillach nag y bwriadem yn y cychwyn; ond gwell oedd dadrys hyd y gellid y tystiolaethau gwrthwynebol, a gosod gwirionedd ar ei gorsedd. Ein casgliad ydyw, fod Oliver wedi siarad gwirionedd pan ddywedodd o flaen y senedd, "Yr oeddwn wrth enedigaeth yn foneddwr:" yr oedd ei fam yn perthyn i deulu breninol y Stuardiaid; yr oedd ei orhen-nain yn chwaer i Iarll Essex; ac yr oedd ei orhendaid yn un o ddisgynyddion hen uchelarglwyddi ein gwlad ein hunain. I ba un o'r teuluoedd hyn y perthynai Oliver fwyaf—pa faint o waed y naill a'r llall oedd yn llifo yn ei wythienau—pa faint o falchder y Stuardiaid, o ddewrder brwdfrydig y Cymry, ac o ddyfalwch Essex, oedd ynddo—ni fyddai ond ofer i ni ymofyn. Fe allai, wedi y cyfan, ei fod yn rhy bell oddiwrth bob un o'r teuluoedd hyn i ddwyn mewn gwirionedd ddim o'u nodweddion arbenig; a bod gwaed yr Albaniaid wedi colli ei falchder, gwaed y Cymry wedi colli ei frwdfrydedd, a gwaed yr hen Gromwelliaid wedi colli ei rinweddau yntau, cyn cyrhaedd gwythienau Oliver. Yr ydym yn gadael ymchwiliadau o'r fath i eneidiau mwy cyfarwydd â'r dirgelion, ac ymfoddlonwn ar gyflawni yn onest ac yn

* *Eminent British Statesmen, Appendix* I.

gywir, hyd y byddo ynom, y gwaith mwy cyffredin, ond nid llai anhebgorol, o osod ffeithiau lle y dylent fod, a thynu oddiwrthynt y casgliad fyddo cyfiawn.

Nid oes genym ofod i fanylu ynghylch tad a thaid, a pherthynasau agos eraill Oliver. Ei dad oedd Robert Cromwell, mab i Syr Henry Cromwell, Hinchinbrook, Huntingdon, a brawd ieuangaf Syr Oliver Cromwell, Hinchinbrook; yn yr hwn blasdŷ, ac yn amser y boneddwr olaf, ac yn y fl. 1603, y bu y brenin Iago y Cyntaf yn lletya am ddwy noswaith. Ei dad a briododd Elizabeth Steward, merch Syr William Steward, o Ely, a chwaer Syr Thomas Steward o Ely, yr hwn foneddwr a adawodd ei feddiannau ar ol ei ddydd i Oliver. Yr oedd Elizabeth Steward wedi bod yn briod o'r blaen gydag un William Lynne, Ysw.; a phriododd, a hi yn weddw, Robert Cromwell, tua'r fl. 1591. Bu iddynt ddeg o blant: tri o feibion a saith o ferched, a'r pummed o'r rhai hyn oedd Oliver. Tri o'r deg—un ferch a dau fab—a fuont feirw yn eu mebyd, ac felly Oliver oedd yr unig fab a gyrhaeddodd oedran gŵr. Yr oedd gan Robert Cromwell chwaer, a chan Oliver Cromwell fodryb, o'r enw Elizabeth Cromwell alias Hampden, yr hon a briodasai un William Hampden, Ysw., a'r hon ydoedd fam i'r enwog John Hampden, yr hwn nid oedd yn ôl mewn cynneddf a doethineb i brif enwogion unrhyw oes, ac i'r hwn y gellir priodoli, o bosibl, gynnyrchiad llwyddiannus yr amgylchiadau hyny a fuont offerynol yn ol llaw i ddadblygu cymeriad ei nai, Oliver. Darllawydd oedd tad Oliver yn Huntingdon.

Ganwyd Oliver ar y 25ain o Ebrill, yn y fl. 1599, yn mhlwyf St. John, Huntingdon, a derbyniodd ei fedydd ar y 29ain o'r un mis. Adroddir llawer o ystoriau difyrus am ei febyd; ei fod wedi cael ei ddwyn ymaith un diwrnod gan epa, a bod ei berthynasau a'r holl dref yn fawr eu gofal rhag na cheid ail olwg arno, a bod rhagluniaeth yn y dull yma bron wedi gwaredu y byd oddiwrth un o'r prif gynhyrfwyr a anadlodd erioed—ei fod wedi cael gweledigaethau prophwydol, yn y rhai y dangosid iddo ei urddas a'i fawredd mewn dyddiau dyfodol—ei fod wedi cael ffrae, ac wedi ei hymladd hi allan, gyda Charles mab Iago y brenin, a'i fod wedi ei drechu y pryd hwnw fel y gwnaeth yn nyddiau ei freniniaeth—ei fod aml waith wedi cael diangfëydd rhag marwolaeth drwy dân—ei fod yn ddawnus ar ddwyn afalau—wrth natur yn ddieithriad yn cymeryd plaid y bachgen llesgaf hyd yn nôd er gorfod ymladd ei frwydrau—ei fod wedi derbyn cerydd llym gan ei ewythr Syr Oliver am anfoes ffiaidd—ei fod yn ddysgwr gwych, ei fod yn benbwl, ei fod yn bob un o'r ddau ar amserau. Y rhai hyn, a llïaws cyffelyb, yw yr adroddiadau a geir am ddyddiau boreuol y dyn. Ond odid nad oes rhai o honynt yn wir, a rhai yn anwir. Yr ysgol y bu ynddi oedd ysgol ramadegol Huntingdon, a Dr. Beard y gelwid yr athraw. Ar y 23ain o Ebrill, 1616, y mae enw Oliver—pan namyn deuddydd yn ddwy ar bymtheg oed—yn cael ei ysgrifenu ymhlith efrydwyr Sidney-Sussex College, Caergrawnt. Tua'r 18fed o fis Mehefin yn y flwyddyn ganlynol, y mae ei barchus dad, Robert Cromwell, yn marw; ac y mae Oliver ieuanc yn cael ei alw adref, ac nid yw yn dychwelyd mwyach i Gaergrawnt. Rhai o'i fywgraffwyr a fynant iddo fasnachu am enyd fechan mewn diod feddwol; eraill a haerant na wnaeth hyny o gwbl. Sicr yw fod llïaws o ganeuon gwawdus wedi eu cyfansoddi iddo ar ol adferiad Charles yr Ail, yn y rhai y gelwir ef yn ddarllawydd; ond ar y llaw arall, y mae ei fywgraffydd mwyaf enllibus, Heath, yr hwn a ysgrifenodd ei lyfr pan yr oedd hanes Cromwell

ymhob genau, yn dywedyd na fu yn darllaw o gwbl. Nis gall hyn, fodd bynag, fod o bwys yn y byd. Adroddir fyned o hono, yn fuan ar ol marwolaeth ei dad, i'r brifddinas i efrydu cyfraith y tir, ac mai yn Lincoln's Inn yr efrydai; ond dywed Carlyle* fod llyfrau Lincoln's Inn, Gray's Inn, a phob Inn arall, wedi cael eu chwilio am enw Oliver, ond nad ydyw i'w gael; ac mai ei farn ydyw na fu Oliver yn efrydu mewn un lle o'r fath, ond ei fod, o bosibl, wedi myned at ryw gyfreithiwr yn y brifddinas, er mwyn dysgu digon o gyfraith ei wlad, i lanw swydd heddynad neu rywbeth cyffelyb. Yn y brifddinas, yn ol tystiolaeth ei fywgraffwyr gelynol, yr oedd ei fywyd yn un annichlynaidd iawn, a'i amser yn cael ei dreulio yn y gyfeddach ac anfoesau eraill y lle, ac nad oedd "*Coke upon Littleton*" yn cael ond ychydig o'i sylw; ac yn ol yr un awdurdodau ammheus, efe a ddychwelodd ymhen dwy neu dair blynedd i Huntingdon yn "oferddyn perffaith," yn ddychryn i ferched ieuainc, yn gâs gan hyd yn nôd y tafarnwyr, yn ysgymunbeth yn ngolwg ei gydraddolion, ac yn gydymaith i dinceriaid a phedleriaid! Ei elynion, cofier, sydd yn llefaru, ac yr oeddynt yn ysgrifenu dan ddylanwad cymhellion cryfion i wneuthur Oliver o liw diafol, pe gallasent.

Y peth nesaf ydyw priodas Oliver, yr hon a gymerodd le yn eglwys St. Giles, Cripplegate, Llundain, ar yr 22ain o Awst, 1620. Enw ei wraig oedd Elizabeth Bourchier, merch Syr James Bourchier o Felsted yn Essex. Bu iddynt naw o blant—pump o feibion, a phedair o ferched; a thri o'r meibion, a'r oll o'r merched, a gyrhaeddasant addfedrwydd oedran. Ymhen rhyw dair neu bedair blynedd ar ol y briodas hon, y mae Oliver yn cael crefydd; a thra yr oedd o dan argyhoeddiadau cydwybod fyw, yn ol Carlyle,† ond ar ol gwasgariad y Senedd yn 1628 yn ol Noble,‡ y bu Dr. Simcott yn ymweled âg ef yn achos y dduegwst, yr hwn glwyf a ddygwyd ymlaen gan bryder crefyddol, yn ol y blaenaf, ond gan bryder seneddol, yn ol yr olaf; ac yr ydym yn cael Syr Philip Warwick|| yn dywedyd ei fod yn adnabod y Dr. Simcott hwn yn dda, yr hwn a adroddai fod Cromwell yn ŵr tra dychymygol, a'i fod yn galw am dano ef yn aml ar hanner nos, gan dybied fod angeu wedi ymafael ynddo, a dychymygu ffolbethau ynghylch y groes oedd wedi ei gosod yn nhref Huntingdon. Eithr dyma'r ffaith fawr,—y mae y dyn wedi cael crefydd, ac y mae o hyn allan yn gweled gwrthddrychau amser yn ngoleuni tragywyddoldeb. "Yr oedd Oliver o'r pryd hwn yn Gristion—yn credu yn Nuw, nid ar y Suliau yn unig, ond bob dydd, ymhob man, a than bob amgylchiadau." Ei bwnc mawr yw crefydd: ei gymdeithion yw y Puritaniaid, y rhai a bregethant mewn ystafell tu cefn i'w dŷ, yr hon a safai hyd y fl. 1810, pan bwrcaswyd yr etifeddiaeth gan un James Rust, Ysw., yr hwn oedd yn ymserchu cymaint mewn hynafiaethau a chofadeiliau enwog, fel y dileodd yn gwbl holl olion y Cromwelliaid gyda'i adeiladau newyddion ei hun.§

Yn y fl. 1628, ac ar ddydd Llun yr 17eg o fis Mawrth, y mae enw Oliver yn cael ei ysgrifenu yn Senedd-dŷ St. Stephens, yn aelod dros Huntingdon. Yr oedd yr holl dŷ yn un berw mawr drwyddo draw: yr oedd goreugwyr y wlad yno yn ceisio achub y Brenin rhag y dinystr ag yr oedd efe ei hun yn ei wirfoddol dynu arno ei hun; fel hyn y darlunir un o'r dadleuon gan Thomas Alured, yr aelod ar y pryd dros Malton, mewn llythyr at gyfaill:

* *Cromwell's Letters*, cyf. I., 64. † Cyf. I., 72. ‡ Cyf. I., 123. || *Warwick's Memoirs*, 249. § *Forster's British Statesmen*, cyf. VI., I.

"Syr Robert Phillips o Wlad-yr-haf a siaradodd, gan gymysgu ei eiriau â'i ddagrau. Mr. Pym a wnaeth yr un peth. Syr Edward Cook, yr hwn oedd wedi ei orchfygu gan deimlad wrth weled yr anrhaith oedd ar gymeryd lle, er codi i siarad, nid allai gan lïaws dagrau. Hyd yn nôd y Cadeirydd ei hun pan yn areithio, nid allai ymattal rhag wylo a thywallt dagrau. Heblaw amryw eraill, trallod y rhai a'u tarawodd â mudandod."* Dyma'r Senedd yn yr hon yr ymddangosodd Oliver gyntaf. Y mae y tŷ yn cael ei ohirio ar y 26ain o Fehefin, a chyferfydd yn mis Ionawr y flwyddyn nesaf. Y mae Cromwell yno yn ei le, ac yn penderfynu peri i ddynion ddeall ei fod yno, oblegid ar yr 11eg o Chwefror, cawn ef ar ei draed yn siarad, a'i iaith ydyw,—"Ei fod wedi clywed gan un Dr. Beard fod Dr. Alabaster wedi pregethu Pabyddiaeth noeth wrth Paul's Cross; a bod Esgob Winchester, fel ei fugail, wedi gorchymyn iddo na phregethai ddim yn y gwrthwyneb. Cafodd Mainwaring, yr hwn a sènwyd mor gyfiawn yn y tŷ hwn am ei bregethau, ei ddyrchafu i fywioliaeth oludog drwy yr un esgob. Os dyma y llwybr i ddyrchafiad eglwysig, beth a ddysgwyliwn?"† Dyna araeth gyntaf Oliver, ac am a wyddom, ei araeth olaf hefyd yn y senedd hono, ar ol gwasgariad yr hon y bu y wlad am fwy nag un mlynedd ar ddeg—sef hyd y 3ydd o fis Tachwedd, 1640, heb un senedd. Nid ydym yn myned i'w ddilyn drwy y blynyddoedd hyn; dywedir iddo yn unig symud yn 1631 o Huntingdon i St. Ives, a throi o hono ei sylw at amaethyddiaeth, ac iddo symud yn 1636 i ddinas Ely, mewn canlyniad i farwolaeth ei ewythr Syr Thomas Steward, etifeddiaeth yr hwn a ddaeth yn feddiant iddo; ac yn y blynyddoedd hyn y gwelwyd ef a'i deulu ar fwrdd llong ar y Thames, yn cychwyn i New England, hen fangre Puritaniaeth, ond yn cael eu hattal gan orchymyn y Brenin.

Yn y senedd nesaf, yn y fl. 1640, cymer Oliver Cromwell ei le fel cynnrychiolydd Caergrawnt. Eithr nis gallwn wneuthur cyfiawnder â'n gwron heb ei adael dros ychydig, a throi i gymeryd golwg ar nodweddion yr amserau hyny, yn enwedig hanes Oliver yn ei berthynas â'r brenin anffodus Charles. Cyn gwneyd hyny, fodd bynag, wele air am berson ac ymddangosiad Cromwell ar y pryd. Dychymygwch, ddarllenydd, eich bod yn y Tŷ Cyffredin yn y fl. 1640; sefydlwch eich llygad ar y dyn sydd yn siarad yn danllyd o'ch blaen. Ei daldra yw chwe troedfedd namyn dwy fodfedd: y mae yn feddianol ar gorff cryno, cadernid yr hwn sydd fel y graig: dyna ei ben—yn lluniaidd ac yn llydan, wrth fodd calon efrydydd ymenwyddeg; y mae ei lygad yn ddisigl, yn wyliadwrus, ac yn llawn craffder: ei ael sydd fawr, yn amlygu fod yn y fynwes ysbryd rhagorol: llinellau y wyneb, crynöad y gwefusau, a ffiachiad y llygad, a ddangosant fod yna fynydd tanllyd oddimewn, ac mai gwae y neb y rhed ei lîf arno: y mae Syr Philip Warwick yn dyfod i mewn, ac yn gwenu wrth weled ei frethyn cyffredin a'i wneuthuriad gwladaidd; sylwa fod ei lieinwisg yn ddiaddurn, ac heb fod yn lân iawn, fod ysmotynau o waed arni, a bod ei hêt wedi colli ei rhwymyn; ac eto y mae rhywbeth yn nifrifoldeb a thanbeidrwydd y siaradwr sydd yn synu y boneddwr: ac fel y mae tân ein gwron yn llosgi ac yn goleuo, chwi welwch Arg. Digby dan synu yn troi at John Hampden, ac yn gofyn, "Pwy yw y dyn yna sydd yn siarad mor danllyd o'n hochr ni?" a Hampden yn ateb, "Nid oes gan y dyn annhaclus yna sydd o'ch blaen

* *Rushworth's Hist. Coll.*, cyf. I., 610. † *Parliamentary History*, cyf. VIII., 289.

ddim addurn yn ei ymadroddiad; ond y dyn yna, meddaf, pe dygwyddai i ni byth fyned i ryfel â'r Brenin (yr hyn na ato Duw!) ond yn y cyfryw amgylchiad, y dyn yna, meddaf, fydd y dyn penaf yn Lloegr." Y dyn yna oedd Oliver Cromwell.* Tybia Godwin mai oddiwrtho ef y cymerodd Milton y desgrifiad o Adda yn y llinellau canlynol:—

——"Ar ei ddwyfawl wedd
Tywynai delw ei Beryf Edmyg, gwir
Ddoethineb gleindid, oeth a ther (yn oeth
Ond trwy lwyr ryddid mabawl) ac o hyn
Y dŷl i ddynion iawn o rwysg:—
——Ei dâl mawr teg a llygad myg
Arwyddant oruchafiaeth; ac oddiar
Ei iad yn grwn gwineuddu gydyn aml
Yn unawl a fagwyai; ond nid is
Ei fraisg ysgwyddau." [*Coll Gwynfa, Llyfr IV.*]

Ond y mae yn rhaid i ni roddi adroddiad mor fyr ag a allwn o'r amgylchiadau gwladol hyny, y rhai a fuont yn foddion i ddwyn Cromwell i sylw, ac i'w wneuthur yr hyn ydoedd. Diau nad ellir deall amserau y dyn hwn, a'u nodweddion arbenig, heb syrthio yn ol ar y diwygiad Protestanaidd; ac olrhain dadblygiadau graddol rhyddid yn wladol ac yn grefyddol dan Harri yr Wythfed, dan Edward y Chweched, dan Mari Waedlyd, dan Elizabeth, a than Iago y Cyntaf, tad Charles; a dangos fel yr oedd syniadau y wlad am ryddid yn cael eu hëangu a'u puro o flwyddyn bwy gilydd—fel yr oedd y goron yn teimlo hyny, ac mewn canlyniad yn ëangu rhyddid y deiliaid weithiau, ond yn fynychach yn ei gyfyngu—fel yr oedd y bobl, oblegid hyn, yn ymffyrnigo, ac yn dangos i'r pen coronog mai nid ei ewyllys fympwyol ef oedd i fod yn ddeddf—ac fel y daeth y Brenin a'r wlad yn eiddigeddus o'u gilydd—fel yr oedd y brenin yn maentumio ei hawl ddwyfol i lywodraethu fel y mynai, ac fel yr oedd y wlad yn maentumio mai hawl i lywodraethu yn unig yn ol "barn y wlad" oedd ganddo;—diau mai anghenrheidiol gwneuthur hyn cyn y gellir deall amserau a gweithredoedd Cromwell, a dangos pa faint oedd a fynai crefydd â'r cyfnewidiadau a gymerasant le; ond hyderwn fod darllenwyr y TRAETHODYDD yn berffaith hyfforddus yn yr hanes, fel na raid i ni gyfeirio ato ymhellach.

Daeth Charles y Cyntaf i'r orsedd yn y fl. 1625, pan oedd Cromwell yn 26ain oed. Yr oedd y Senedd ar y pryd yn dair plaid, a phob plaid yn lled gref yn y wlad. Un blaid a faentumient "hawl ddwyfol" y brenin i wneuthur yr hyn a fynai. Y blaid arall oedd y Puritaniaid, y rhai a ofynent am ddiwygiadau mawrion yn yr eglwys a'r wladwriaeth, a'r rhai a ymneillduent oddiwrth yr Eglwys Sefydledig. Y drydedd blaid oedd rhwng y ddwy; yr oeddynt yn gyfeillion calon i ryddid gwladol, ond nid yn wrthwynebol iawn i'r dull o addoli. Fe wel y darllenydd mai nid ychydig o ddoethineb oedd yn anghenrheidiol yn y fath amgylchiadau; a bod anghen mwy nag yr oedd y Brenin yn ei feddu; canys un o'i weithredoedd cyntaf ef oedd amlygiad o'i grediniaeth yn hawl ddwyfol breninoedd i wneuthur fel y mynent; a chan mai hwn oedd y pwnc mewn dadl, dangoswyd ar unwaith nad oedd pawb yn cydfarnu âg ef. Yr oedd y Duc Buckingham

* *Godwin's Hist. of the Commonwealth*, cyf. IV., 10, 12; *Warwick's Memoirs*, 247; *Noble's Cromwell*, cyf. I., 348.

mewn parch mawr gyda Charles ar y pryd, ac wedi ei ddenu i ryfel yn erbyn Yspaen; a'r canlyniad oedd i'r llynges fethu gwneuthur dim; i dros fil o'r dwylaw gael eu colli; ac i'r holl arian oedd gan y Brenin gael eu hafradu. Y peth nesaf oedd cael arian i fyned â'r rhyfel ymlaen drachefn; a chan iddo fethu codi arian yn y dulliau gwarthus ac anghyfreithlawn ag yr oedd wedi ceisio, gorfu arno alw ei Senedd ynghyd, ac ymostwng i ofyn iddynt hwy am arian. Nid oedd y Tŷ Cyffredin yn hollol barod i gyfarfod â'i ofynion; a dywedai y Brenin, "y byddai yn waeth iddynt hwy nag iddo ef pe bae unrhyw ddrwg yn dygwyddo i'r deyrnas." Dyna frenin yn maentumio ei hawl ddwyfol mewn hawddfyd, ac yn maentumio ei allu i fod yn ddiogel mewn drygfyd! Ond nid ydyw ond enghraifft o gysondeb y dyn. Yn y cyfwng hwn, y mae Iarll Bristol yn dwyn cyhuddiadau pwysig yn erbyn Buckingham—ei fod wedi denu y Brenin i Ysbaen, yn y fl. 1623, mewn trefn i'w ennill at Babyddiaeth—wedi aberthu lles y wladwriaeth er mwyn ei fwyniant a'i les ei hunan—ac wedi bod yn brif achosydd y rhyfel presennol ag oedd yn gymaint gwarth i'r wlad. Dechreuodd y Senedd ymofyn i'r cyhuddiadau; ond cyn pen nemawr amser wele Charles yn eu gwasgar; a phan ofynodd yr arglwyddi am ganiatâd i eistedd ychydig yn hŵy, atebai y Brenin, "Na chewch am un foment!" Nid oedd y Tŷ Cyffredin wedi cydsynio â'i gais am arian; eithr yr oedd wedi addaw ei gynnorthwyo. Gan hyny, wele y Brenin yn awdurdodi ei gasglyddion i gasglu y trethi. Gwrthododd siroedd Middlesex a Kent gyfranu dim, gan nad oedd y Senedd wedi gorchymyn; a benthycodd y Brenin 200,000 o bunnau, y rhai oedd i gael eu talu o'r swm a ganiatêid gan y Senedd nesaf. Gwariwyd yr arian hyn yn ebrwydd; ac y mae y teyrn anffodus yn ceisio rhagor drwy osod treth ar bob tunnell o win, a phob pwys o nwyddau, a ddygid i'r deyrnas hon o wledydd eraill; a gorchymynodd fod i'r trefydd arfordirol ddwyn traul y llynges. Heblaw hyn hefyd, gorchymynodd ar fod i'r holl farsiandwyr a'r boneddigion fenthyca arian iddo yn ol y graddau yr oeddynt wedi cael eu trethu yn flaenorol. Carcharwyd y rhai a wrthodent gydymffurffo â'r ceisiadau hyn, a gommeddwyd eu rhyddhâu; a hyny heb roddi unrhyw reswm pellach na bod y Brenin yn ol ei hawl ddwyfol wedi gorchymyn hyny, a bod y ffaith ei fod ef wedi gorchymyn yn ddigon o brawf fod rheswm digonol yn bod, er nad oedd y rheswm hwnw yn cael ei amlygu. Yr oedd yn anmhosibl i bethau barhâu fel hyn yn faith, ac y mae ffeithiau yn profi na wnaethant hyny.

Fe welir nad oedd sefyllfa y Brenin yn awr yn un i'w chwennych. Y mae yntau yn deall yn burion ei fod yn sefyll mewn lle ofnadwy, ac yn gweled, yn ddiau, fod yn rhaid iddo wneuthur un ymdrech fawr i orchfygu ei Senedd, neu ymostwng i fod yn gaethwas iddi. Y mae yn penderfynu ymladd a mynu ei ffordd ei hun; ond y mae y Senedd, ar ol cael eu gwasgar mewn dull mor annhêg, yn dechreu ammheu egwyddorion a chywirdeb y brenin, ac yn ymgaledu i'w erbyn. Llïaws mawr o'r aelodau a deimlant dros y rhai a garcharwyd am ballu gydymffurfio â deddf y Brenin, yr hon nid oedd wedi ei chadarnhâu gan y Senedd; ac y mae plaid gref yn gofyn am eglurhâd ar y pethau hyn cân gynted ag y cyferfydd y Senedd. Y mae y Senedd yn cael ei hagor, a dywed y Brenin wrth yr aelodau, os nad oeddynt hwy am roddi yr arian angenrheidiol iddo, *y byddai efe dan orfod i arfer y moddion eraill ag yr oedd Duw wedi eu gosod yn ei law.* Ychwanegai hefyd yn malchder ei galon, nad oeddynt i gymeryd hyny

megys beiddiad, canys, meddai, "Y mae yn rhy ddirmygus genyf fygwth neb ond fy nghydraddolion." Yr oedd sylwadau fel hyn yn burion; ond nid oedd yno neb yn crynu yn y mesur lleiaf; a dangoswyd hyny drwy iddynt ballu arian iddo, ond ar ammodau;—a thrwy iddynt fynegu yndd idderbyn wyneb eu bod yn barnu mai trosedd yn erbyn rhyddid y deiliad oedd ei garcharu heb roddi rheswm digonol am hyny, a phallu ei ollwng yn rhydd dan feichiau; ac hefyd, fod pob dull o godi arian heb ganiatâd y Senedd yn anghyfreithlawn, ac nad oedd yn gyson â rhyddid y deiliaid i'w gorfodi i fenthyca arian yn erbyn eu hewyllys, nac i orfod cynnal milwyr i'r brenin. Hyn oedd sylwedd y *Petition of Rights,* fel ei gelwir. Yr oedd y Brenin yn dechreu canfod fod ei wrthwynebwyr yn rhy gryf iddo, canys yr oedd y ddwy blaid olaf o'r tair a enwasom wedi ymuno, ac yn sefyll yn gadarn dros gael cyfiawnder, a sefydlu rhyddid ar seiliau diogel. Gan hyny, pan ofynwyd iddo arwyddo y ddeiseb bwysig hon, efe a ddywedodd, "Mi a fynaf i gyfawnder ac uniondeb gael eu gwneuthur yn ol deddfau y wlad." Ond nid oedd hyn yn tycio; rhaid cael gwell cydsyniad, neu ni cha efe arian, a bygythir ail-ymofyn i achos ei gyfaill Buckingham. Yn wyneb y pethau hyn, y mae Charles yn gorchymyn i'w ateb cyntaf gael ei ddilëu, ac yn cydymffurfio â chais y Senedd. Eithr ar ol cael addewid am arian, y mae y tywysog anffodus yn ebrwydd yn gwasgaru y Senedd, ac yn gwneuthur yr arddangosiad mwyaf gwarthus o anwadalwch. Yr oedd y *Petition of Rights* wedi cael ei argraffu gydag ail ateb y Brenin; yr oedd y Senedd wedi gorchymyn ei gyhoeddi a'i wasgaru ymhlith y deiliaid. Cân gyned ag y gwasgarwyd y Senedd, y mae y brenin yn peri i'r argraffydd gadw yr holl argraffiad cyntaf, a gwneuthur un arall, yn cynnwys ei ateb *cyntaf* ef, a lledaenu hwnw ymhlith y bobl, yn lle y llall. Ond y mae yn cael talu yn ddrud am hyn, canys pan y geilw ei Senedd ynghyd, y peth cyntaf bron a osodir i lawr ydyw y weithred ragrithiol hon, a gelwir am yr argraffydd, yr hwn a gyfaddefa y cwbl yn erbyn y Brenin. Y peth nesaf a wneir ydyw ymofyn i achos un o'r aelodau o'r enw Mr. Rolles, yr hwn oedd wedi cael ei garcharu am ballu talu treth y nwyddau. Gwaharddai y Brenin iddynt ymyraeth â'r achos; ond cyhoeddodd y Tŷ eu bod yn ystyried hyny yn drosedd ar eu rhyddid. Ar yr 2il o Fawrth, cyfododd Syr John Eliot i gynnyg y penderfyniad, "Fod pob newyddbeth mewn crefydd, a phob treth heb gydsyniad y Senedd, yn *anghyfreithlawn.*" Gommeddodd y cadeirydd roddi y penderfyniad ger bron y Tŷ, ac yr oedd ar adael ei sedd, pan y daliwyd ef i lawr gan ddau o'r aelodau, hyd oni therfynwyd y gwaith. Gwnaeth y Brenin ei oreu i attal gwneuthuriad y ddeddf hon; ond bu yn aflwyddiannus, canys cyn iddo ef allu rhoddi terfyn ar y gwaith, yr oedd cyfraith yn erbyn treth y nwyddau wedi ei gwneuthur. Gohiriwyd y Senedd hyd y 10fed o'r mis. Y dydd hwnw, daeth y Brenin i Dŷ yr Arglwyddi, ac heb gymaint a galw y tŷ arall i'w wyddfod, gwasgarodd y Senedd, gan ddywedyd ei fod yn cael ei orfodi i wneuthur hyny, oblegid ymddygiadau plaid o "wiberod" ag oeddynt yn aelodau o'r Tŷ arall, a'r rhai oeddynt yn ceisio dymchwel yr eglwys a'r wladwriaeth. Daliwyd naw o'r aelodau hyn, a charcharwyd hwy yn y Twr; a phan alwyd am danynt ger bron y cynghor, gwrthodasant ateb am eu hymddygiad yn y Tŷ; ond er hyny, aeth y farn yn eu herbyn. Yn y cyfamser, gwnaethpwyd heddwch gydag Yspaen a Ffrainc, fel na byddai eisieu arian mwyach i ddwyn y rhyfel ymlaen, ac fel y byddai y Brenin yn fwy annibynol ar ei Senedd. Yr oedd arno, er hyny,

anghen am arian, a chodai hwy yn y fath ddull ag y gwelai yn oreu, gan orthymu ei ddeiliaid yn druenus; ac fel y sylwa Hallam, nid oedd dim yn meddu pwys yn ngolwg plaid y Brenin, ond yr Eglwys a'r Goron. A pha fath eglwys oedd hon? Yr oedd yn dyfod yn nês yn feunyddiol at Eglwys Rhufain, a dangosid yn amlwg mai Pabyddiaeth fyddai crefydd y deyrnas os gallai y Brenin a'i giwaid o gyfeillion twyllodrus lwyddo i'w chael. Y mae darlleniad y Llyfr Chwareuon yn cael ei orchymyn. Yr oedd y llyfr hwn wedi ei gyfansoddi yn y flwyddyn 1618, yn ol gorchymyn Iago I., a gorchymyn i'w ddarllen yn yr eglwysi ar y Sabbath; ond yr Archesgob Abbot, ac esgobion eraill, a wrthwynebasant hyny, ac a lwyddasant. Yn y flwyddyn 1633, fodd bynag, y mae Charles yn ei orchymyn drachefn; ac ar yr 28ain o Hydref yn y flwyddyn hono, y mae cylchlythyr Laud yn cael ei anfon at yr esgobion drwy y deyrnas,* yn yr hwn y dywed yr hen Babydd ynghylch darlleniad y llyfr, "Gorchymynir i mi hysbysu hyn i chwi, oblegid y mae ei Fawrhydi yn dysgwyl hyn ar eich llaw, ac y mae eich swyddogion, gan hyny, i anfon am y llyfrau." Y mae hwn yn gyfnod mawr yn hanes Ymneillduaeth y Dywysogaeth, oblegid dyma'r pryd y mae Wroth o Lanfaches, Erbury o Gaerdydd, a Walter Cradoc, yn pallu ufuddhâu i orchymyn y Brenin; a dyma'r pryd y maent yn cael eu galw i Lundain o flaen yr uchel lŷs.† A chanlyniad y cyfan yw, eu bod yn gadael corlan yr eglwys—yn gorfod ei gadael—ac yn pregethu mewn lleoedd anghysegredig; ac yn y flwyddyn 1639, sefydlir yr eglwys Ymneillduol Gymreig gyntaf yn Llanfaches yn Mynwy.

Eithr heblaw hyny, yr oedd rhyddid y wasg yn myned lai lai yn barhâus. Dyma y pryd y gommeddwyd rhoddi caniatâd i ddwyn allan argraffiadau o waith Fox ar y Merthyron, gweithiau Esgob Jewell, &c. Yr oedd y pethau hyn yn dorcalonus i gyfeillion rhyddid, ac nid oedd ganddynt ond dianc o diriogaeth y fath frenin anwadal ac anghyfiawn. Ymblith y rhai sydd yn gadael gwlad eu genedigaeth am gyfandir Americ, y mae John Hampden ac Oliver Cromwell. Yr oeddynt wedi myned ar fwrdd y llong, ac yn barod i ganu yn iach i wlad caethiwed a gormes. Ond yn ddisymwth, y mae y cyfringynghor yn anfon allan orchymyn i atal pawb i ymfudo, oddieithr y rhai hyny yn unig ag oeddynt yn cydymffurfio â dull yr Eglwys Wladol o addoli. Gorfu i Hampden a Cromwell ddychwelyd, a gwae y Brenin iddo eu gorfodi. O'r dydd hwnw allan, y maent yn dyblu eu diwydrwydd i ddwyn oddiamgylch ddiwygiadau yn neddfau y wlad. Nid hir y buont yn dysgwyl cyfleusdra, cyn i Hampden gael ei drethu o 20*s*. o dreth y nwyddau, yr hon oedd wedi cael ei diddymu gan y Senedd. Pallodd dalu, a chafodd ei garcharu, a'i brofi ger bron y llys uchaf yn y wlad. Yr oedd y farn yn ei erbyn, canys er fod pump o'r barnwyr yn bleidiol iddo, yr oedd saith yn ei erbyn. Yr oedd ymddygiad Hampden drwy y cyfan yn ddilychwyn; a'r effaith ydoedd, fod y cydymdeimlad o'i blaid yn ddirfawr. Yr oedd breichiau y Brenin a'i blaid yn cael eu cadarnhâu, ac anturient yn aml ddwyn rhyw newyddbeth Pabyddol i'r eglwys. Yr oedd Laud wedi dyfod mor debyg i swyddog Pabaidd, ac mor amlwg oedd y ffaith o'i agosâd at Eglwys Rhufain, fel y cynnygiodd y Pab ei wneuthur yn Gardinal; ond yr oedd hyn yn ormod i'r archesgob allu ei anturio. Yn wyneb y pethau hyn, yr oedd y dynion goreu yn yr Eglwys yn ymuno â'r Puritan-

* *Cardwell's Documentary Annals*, cyf. II., 188. † *Neal's Hist. of the Puritans*, cyf. II., 218, 238.

iaid, gan wybod y caent yno grefydd yn ei phurdeb a'i blâs. Felly yr oedd rhyddid crefyddol a gwladol yn diflanu yn gyflym. Ac nid digon gan y Brenin boeni y Prydeiniaid yn Lloegr a Chymru, ond y mae yn gorchymyn newid y ffurf o addoli yn Ysgotland. Cyfododd yr Ysgotiaid yn erbyn y fath ormes; ac nid hyny yn unig, ond gofynant am Senedd iddynt eu hunain, yn lle cael eu llywodraethu gan eraill. Ar hyn ofnodd y Brenin ei fod wedi myned yn rhy bell, ac addawodd dynu yn ôl ei orchymyn, os ymwrthodent hwy yn gyfangwbl â'u ceisiadau. Ni chydsynient a hyn; a'r canlyniad fu i'r eglwys a sefydlasid yno er ys deng mlynedd ar hugain yn ol, gael ei llwyr ddymchwelyd, a'r genedl a ymbarotôdd i gyfarfod â'i gormeswr yn ei chastelli a'i hamddiffynfeydd. Ond nid oedd gan Charles arian, ac i'w fawr ofid y mae yn gorfod galw ei Senedd ynghyd ar y 13eg o Ebrill, 1640. Y mae agos ddeng mlynedd er pan wasgarwyd y Senedd, ac y mae llawer o'r hen aelodau wedi meirw, ond yr oedd yr un ysbryd yn ffynu ag yn y seneddau blaenorol. Càn gynted ag y cyfarfyddasant, dechreuasant ar yr hen bynciau; ymofynent i achos Hampden, a'r anghyfiawnder a ddangoswyd tuag ato; a dywedent fod y Brenin wedi treisio hawliau y Senedd, ac wedi gwneuthur llïaws o bethau nad oedd ganddo yr hawl leiaf i'w cyflawni. Pan welodd Charles hyn, efe a wasgarodd ei boenydwyr cyn gallu o honynt wneuthur dim. Y Senedd hon a elwir y Senedd Fèr. Yr oedd cyflwr y Brenin yn awr yn wir alarus, canys yr oedd yr Ysgotiaid yn prysuro i'w derfynau, ac yntau heb arian i fyned i ryfel â hwy. Ceisiodd gan Dŷ yr Arglwyddi ei gynnorthwyo drwy wneuthur cyfraith heb gymhorth na chydsyniad y Tŷ Cyffredin. Eithr yr oeddynt hwy yn ymwybodol o'r perygl o hyn; ac annogasant y Brenin i alw y ddau Dŷ ynghyd i ymgynghori ar y mater. Dinasyddion Llundain a anfonasant ddeiseb ato i'r un perwyl. Gorfu arno ymostwng, a galwodd aelodau y ddau Dŷ ynghyd ar y 3ydd o fis Tachwedd, 1640; ac o'r pryd hwn allan y mae pethau yn prysuro ymlaen i derfyniad truenus, ac y mae Cromwell yn dyfod yn un o'r prif chwareuwyr ar esgynlawr yr olygfa o hyn hyd drancedigaeth y Brenin; ac o hyny hyd y flwyddyn 1658, y mae yn parhâu i fod yn briflywydd y deyrnas.

Er y pryd yr oedd Cromwell wedi bod yn areithio yn y Senedd yn erbyn pregeth Babyddol Dr. Alabaster, yr oedd deuddeng mlynedd wedi myned heibio. Yr oedd yn byw y pryd hwnw yn Huntingdon; ond yn y fl. 1631, symudodd i St. Ives, ac yn y fl. 1636, symudodd i Ely. Yn y cyfamser yr oedd wedi bod yn dra egnïol, ac wedi ennill enwogrwydd mawr yn Sir Gaergrawnt, am ddwyn oddiamgylch fesurau i ddiwyllio corsleoedd y Sîr hono. Canlyniad hyn oedd iddo gael ei ddychwelyd i'r Senedd gan etholwyr Caergrawnt; ond ychydig y bu yma cyn cael ei alw allan i wasanaethu ei wlad fel milwr.

Eithr i ddychwelyd at y Brenin, yr hwn sydd wedi gorfod galw ei Senedd ynghyd, a diddymu ei ddeddfau ei hun, y rhai a wnaethai yn erbyn ewyllys yr aelodau. Yn ychwanegol at ddwyn ymlaen yr hen ofynion, y mae y Senedd yn gwneyd deddf nad oes dros dair blynedd i fod rhwng terfyniad un Senedd a chyfarfyddiad un arall; ac os na fyddai y Brenin yn galw ynghyd y Senedd ar y pryd hwnw, fod hawl gan Dŷ yr Arglwyddi i wneuthur hyny. Dyma y pryd hefyd y rhoddwyd y ddyrnod farwol i allu gormesol y weinyddiaeth a'r Brenin i gosbi neu wobrwyo y neb a fynent. Yr oedd rhyddid y deiliaid yn cael ei sicrhâu yn y modd yma; a'r Brenin yn

ostyngedig iawn yn gorfod arwyddo ei gydsyniad â'r mesurau tra gwrthwynebus hyn. Nid oedd dim amlycach i Charles na'r ffaith mai y blaid ryddfrydig oedd yn dal awenau ei deyrnas; a'i ddoethineb penaf ef fuasai cadw yn eu cyfeillach. Ond yn y cyfwng pwysig, y mae efe yn anfon i'r Iwerddon am ei gynghorwr anffodus Strafford, yr hwn a fuasai unwaith yn dal egwyddorion rhyddfrydig, ond ydoedd yn awr wedi troi o ochr y Brenin. Ofnai y boneddwr hwn ddyfod, a gwyddai na wnai ei bresennoldeb ond cynddeiriogi y blaid wrthwynebol; eithr ni wnai un esgusawd y tro i Charles, a rhoddodd ei air breninol am ddyogelwch ei fywyd. Daeth Strafford drosodd; ac ni fuasai ond deuddydd yn y deyrnas, cyn i un o aelodau Tŷ y Cyffredin ddwyn ei achos ger bron y Tŷ fel prif elyn y wlad, a chamarweinydd y Brenin. Rhoddodd y ddau Dŷ eu barn yn ei erbyn, a gorchymynwyd ei garcharu yn y Tŵr i aros ei brawf. Dydd ei brawf a ddaeth, ac er fod ei achos yn ddrwg, eto y fath ydoedd ei hyawdledd, fel y bu bron a gwrthdroi llid ei gaseion, pan ddywedai, "Fy arglwyddi, yr wyf wedi eich cadw yn rhy faith; ond arweiniwyd fi i'r bai hwn gan y cariad sydd ynof at y trysorau anwyl hyny ag y mae santes sydd heddyw yn y nefoedd wedi eu gadael i mi;"—ac yna edrychai dan wylo ar ei blant, a dywedai, "Nid ydyw yr hyn yr wyf yn ei golli yn ddim i mi; ond yr wyf yn cael fy nghlwyfo hyd yr enaid pan feddyliwyf fod fy annoethineb I i gael ei gosbi yn fy hiliogaeth." Nid oedd dim yn tycio; yr oedd y Senedd yn benderfynol i'w fynu o'r ffordd. Y mae y Brenin yn selio y warant ofnadwy, a dieneidir Strafford yn gyhoeddus ar yr 11eg o Fai, 1641. Yr oedd y weithred hon yn un erchyll iawn, ac yn rhagarweiniad i eraill mwy ysgeler. Nid ellir eu cyfiawnhâu. Yr oedd Strafford yn deilwng o angeu; eithr nid yn nwylaw y Senedd yr oedd y gallu; diau fod yr Hwn sydd yn dywedyd, "Myfi biau dial," wedi rhoddi y weithred hon yn eu herbyn.

Yr oedd y Brenin yn awr yn codi byddin gref; a rhag y byddai iddo fyned yn drech na'r Senedd, penderfynodd yr aelodau mai gwell fuasai iddynt wneyd deddf nad oedd hawl gan y Brenin i wasgaru y Senedd heb eu cydsyniad hwy eu hunain. Y ddeddf a wnaed; ond nid oedd ond newydd ei chadarnhâu pan daeth y newydd fod gwrthryfel yn yr Iwerddon. Tybiai y Pabyddion, gan eu bod yn gryf yn y wlad, y dialent yn awr ar y Protestaniaid am yr erlid fu arnynt yn amser Elizabeth ac Iago. Yr oedd y Pabyddion wedi cynllwyn i ladd yr holl Brotestaniaid yn yr ynys, yn Saeson ac Ysgotiaid; ac mor ddirgel y cadwyd y peth, fel na wyddai yr awdurdodau am y bwriadau uffernol hyn ond y noswaith flaenorol, a'r canlyniad o hyny fu i dros 40,000 o Saeson ac Ysgotiaid gael eu cigyddio yn y dull truenusaf. Nid rhyfedd fod Lloegr wedi teimlo oddiwrth hyn; a'r hyn oedd yn chwerwi y cyfan oedd y sibrwd fod y Brenin wedi bod yn gyfranog â hwy yn y weithred ysgeler. Yn llawn rhagrith, wele ef yn awr yn cynnyg i'r Senedd, yr äi efe ei hun drosodd i'r Iwerddon gyda byddin o 10,000, ac yr ymladdai frwydrau Protestaniaeth. Eithr gwrthodir ei wasanaeth. Yn ebrwydd ar ol hyn, y mae yr esgobion mewn math o ryfel gyda'r Tŷ Cyffredin, a'r canlyniad yw, fod tri ar ddeg o honynt yn cael eu carcharu yn y Tŵr. Yn yr olwg ar agwedd pethau yn gyffredinol, y mae y Brenin yn troi ei gefn ar ei hen gynghoriaid, ac yn dewis rhai o blith y blaid ryddfrydig, sef Essex, St. John, Holland, &c., i fod yn weinidogion iddo. Tybir fod gobaith yn awr am adferiad pethau; ond amser byr a brofa fod y tywysog hwn yn un o'r rhai nad ellir ymddir-

ied iddynt. Y mae yn penderfynu cosbi pump o flaenoriaid y blaid rydd-frydig, a denfyn swyddog i Dŷ y Cyffredin i'r dyben hyny; eithr nid ydyw y Tŷ yn myned i'w traddodi iddo heb wybod am ba beth. Bore drannoeth, wele y Brenin, gyda 300 o filwyr, yn dyfod ar yr un neges, a hysbysa i'r aelodau fod y pump aelod yn euog o deyrnfradwriaeth. Efe a alwodd arnynt wrth eu henwau; a phan nad oedd neb yn ateb, gofynodd i'r cadeirydd hysbysu ymha le yr oeddynt; ond y mae hwnw, gan ymgrymu ger ei fron, yn cyfaddef ei anallu ef i lefaru dim ond megys y gorchymynir iddo gan y Tŷ. Ymadawodd gyda gorchymyn iddynt eu danfon ato ef mor fuan ag y dychwelent. Aeth i lawr i Guildhall y dydd canlynol, a gofynai yr un cais gan y cynghor yno; ac atebasant hwy iddo y ffurfid gorymdaith ardderchog y diwrnod nesaf i'w dwyn i Westminster. Yn ddiymaros fe gasglwyd ynghyd holl luoedd hyfforddus y ddinas—daeth 4000 o wŷr meirch o Sir Buckingham, i sefyll dros Hampden. Yr oedd hyd yn nôd y milwyr yn zelog dros gael cynnorthwyo y dynion erlidiedig hyn. Dianggodd Charles o'r ffordd, ac aeth i Hampton Court, a Windsor; a gellir dywedyd yn briodol, medd Clarendon, fod y rhyfel wedi ei ddechreu mewn gwirionedd yn awr. Syrthiodd y Brenin o dan ei fai yn dra gostyngedig; ond yr oedd y Senedd wedi colli pob ymddiried ynddo, fel nad oedd yn bosibl myned heibio i'r peth yn ysgafn. Yr oedd plaid y Brenin yn codi byddin yn Nghaerefrog, a'r Senedd yn codi byddin yn Llundain. Y mae y Senedd yn gwneyd deddf fod y milisia i gael eu cynnull ynghyd, o dan lywyddiaeth swyddogion o'u dewisiad hwy, y rhai oedd i gael eu gosod yn eu swydd gan y Brenin, a'r rhai nid oeddynt i'w newid am ddwy flynedd heb ganiatâd y Senedd. Gwrthododd yntau wneuthur hyn, ac y mae y ddau Dŷ yn penderfynu gosod y deyrnas mewn cyflwr o amddiffyniad—penderfynir a gorchymynir fod holl raglawiaid y deyrnas i ddwyn i mewn eu comisiwn, a'u bod i'w ystyried o hyny allan yn anghyfreithlawn. Gorchymynwyd i'r Llyngesydd barotôi y llynges erbyn y byddai galwad. Yr oedd y Brenin yn casglu byddin er amddiffyn ei awdurdod; yr oedd y Senedd yn gwneyd deddf oedd yn gwadu ei awdurdod. Yr oedd Charles yn casglu byddin yn Nghaerefrog; yr oedd Hampden, Cromwell, Vane, a Pym, yn casglu byddin yn Northampton, yr hon oedd i fod dan lywyddiaeth Iarll Essex. Yn y fyddin hon, yr oedd Cromwell yn gadben, a buan y dangosodd ei wroldeb a'i zel gydag achos y Senedd. Yr oedd eisoes, yn ol yr hanesion, wedi bod yn parotôi trigolion Caergrawnt a Sir Huntingdon at ryfel, drwy wasgar arfau yn eu mysg; ac nid cynt y canfydd fod y rhyfel wedi ei ddechreu, drwy fod y Brenin yn gwarchae ar Hull, ac yn ymbarotôi i frwydr gyda byddin y Senedd, yr hon a lywyddir gan Iarll Essex, nag y teimla mai ei ddyledswydd at ei wlad yw taflu ei holl ymadferthoedd i'r gwaith. Casglodd fyddin o farchogion yn Huntingdon—byddin o ddynion ieuainc ag oeddynt yn ddewisolion y wlad—bechgyn gwrol, o gyfansoddiadau haiarnaidd, a bechgyn yn feddiannol ar gydwybodau oedd yn sibrwd wrthynt eu bod yn cyflawni gwaith Duw; ac yr oeddynt yn gallu, o ganlyniad, sefyll, a gwrthsefyll, a gorchfygu.

Y frwydr gyntaf o bwys a gymerodd le ddydd Sul, y 23ain o Hydref, 1642, yn Edgehill, Sir Warwick; ac yr oedd Oliver yn hono. Nis gellir dywedyd pa blaid a ennillodd, gan fod cyfeillion y ddwy yn hòni hawl i'r fuddugoliaeth i'w pobl eu hunain. Yn y frwydr yma, nid oedd Cromwell ond cadben; eithr ar yr ail o Fawrth, 1643, yr ydym yn ei gael wedi ei

ddyrchafu i fod yn filwriad. Ar y 13eg o'r mis Mai canlynol, y cymer brwydr Grantham le, ac yn niwedd y dydd y mae efe yn ysgrifenu fel hyn:—"Duw a roddes i ni y prydnawn hwn fuddugoliaeth ogoneddus ar ein gelynion." Ar y 18fed o'r mis nesaf, y mae byddin y Senedd yn cael ei threchu yn hollol yn mrwydr Chalgrove Field, ac yn yr ysgarmes hon y rhoddwyd y clwyf angeuol i'r enwog John Hampden. Ar yr 20fed o Fedi, ymleddir brwydr yn Newbury, yr hon sydd o ochr byddin y Senedd. Ar y 9fed o Hydref, y mae byddin Iarll Manchester, yn yr hon y mae Cromwell yn filwriad, yn ymuno â byddin Fairfax, ac ar yr 11eg, yn ymladd brwydr waedlyd gyda byddin y Brenin ar faes Winceby, ger Horncastle; a phwy a welir yn arwain y gâd ond Oliver, a'r lluoedd o'i ôl a brysurant ymlaen dan ganu Salmau. Ceffyl ein gwron a leddir yn ebrwydd, ac a syrth arno; ac nid cynt y mae ef ar ei draed nag y tarewir ef i lawr drachefn; ond ebrwydd y cyfyd, y myn geffyl arall, ac y dyd ei holl egnïon ar lawn waith nes cael buddugoliaeth o du y Senedd. Yn nechreu y fl. 1644, y mae yr Ysgotiaid yn anfon byddin o 21,000 i ymuno â byddin y Senedd, i ymladd, meddent, dros grefydd, heddwch y deyrnas, "anrhydedd a dedwyddwch y Brenin," ac eto yn *erbyn* y brenin. Dywedir fod Cromwell y pryd hwn wedi rhybuddio ei filwyr yn erbyn ystyried eu bod i beidio ymladd os byddai y Brenin yn y fyddin wrthwynebol; canys, meddai, "pe byddai y Brenin yn dygwydd bod yn mhlith y gelynion, mi a ollyngwn fy llawddryll ato ef cân gynted ag at un dyn cyffredin." Yr oedd byddin y Brenin wedi ei gwarchae yn Nghaerefrog, gan Fairfax, Leven, a Iarll Manchester; ond trwy i'r Tywysog cyfathrachol Rupert wneuthur ei ymddangosiad gyda byddin gref i gynnorthwyo Charles, ciliodd y gelynion tua Marston Moor; ond nid oeddynt wedi cyrhaedd yno cyn deall fod y tywysog, a'r fyddin ag oedd newydd fod dan warchae, yn dyfod allan i'w cyfarfod. Dechreuodd y frwydr, ac yr oedd yn waedlyd anarferol, a'r Brenin yn ennill yn barhâus, hyd onid oedd y cyfan megys wedi ei benderfynu, pryd y daeth Cromwell ymlaen gyda'i fyddin o 300 o ddewrion hyfforddus, y rhai yn fuan a gynnorthwywyd gan eraill, ac o'r diwedd a ennillasant y dydd; ac ymlidiodd Oliver y gelyn hyd at byrth dinas Caerefrog. Bu hyn ar yr 2il o fis Gorphenaf, 1644. Cyn diwedd y flwyddyn cymerodd dwy frwydr arall le, y rhai oeddynt braidd yn erbyn plaid y Senedd; ond dywedir pe cawsai Cromwell ei ffordd y pryd hwn, y buasai y rhyfel yn cael ei derfynu; a'r gwir ydyw fod y Senedd, a rhai o'r swyddogion milwrol, yn ofni rhag i'r Brenin gael ei lwyr orthrechu. Gobeithient, o bosibl, y buasai yn gofyn yn fuan bellach am ammodau heddwch; a cheisiwyd sefydlu heddwch yn awr, ond methwyd.

Y Senedd yn awr a ymdriniai âg achos yr Archesgob Laud, diwedd yr hwn fu dienyddiad; ac yr oedd y blaid Bresbyteraidd yn y Tŷ Cyffredin yn myned i ddileu arferiad y Llyfr Gweddi Cyffredin, ac i gyfansoddi llyfr arall yn ei le. Nid oedd Cromwell yn cydweled â hyn; y mae efe, ac amryw eraill, yn dywedyd hyny yn eglur, gan alw eu hunain yn annibynwyr; ac arweiniodd hyn bob yn ychydig i anghydfod rhwng y blaid ryddfrydig â'u gilydd. Y mae Cromwell yn anturio dwyn cyhuddiad ger bron y Senedd yn erbyn y Prif-lywydd Iarll Manchester—iddo fod yn bleidiol i'r Brenin yn rhai o'r ymgyrchoedd diweddar; ond y mae yr Iarll yn cyfiawnhâu ei hun, neu o'r hyn lleiaf yn ymesgusodi, a'r mater yn cael ei adael. Effaith hyn, a chyffelyb bethau, fu i blaid ymffurfio i'r dyben o symud Cromwell o'r fyddin, drwy ei gyhuddo o fod yn cynllwyn yn erbyn heddwch y wlad. Daeth y

pethau hyn i'w glywedigaeth ef, ac y mae yntau erbyn hyn yn teimlo yn fwy rhydd i amlygu ei feddwl mewn perthynas i'w achwynwyr. Dygwydda fod y Senedd yn penodi pwyllgor i ymchwilio i sefyllfa y deyrnas, ac i ystyried pa beth a wneid dan yr amgylchiadau. Y mae Cromwell yn eistedd yn eu plith. Y mae pawb yn ddystaw, pawb yn rhy wan i agor y cyfarfod, ac i siarad yn rhydd ar y pwnc. O'r diwedd, wele Cromwell ar ei draed. Dywedai ei bod yn bryd siarad o ddifrif bellach; fod y wlad yn dechreu dweyd fod swyddogion y fyddin yn ofni i'r rhyfel derfynu, rhag y byddai eu gallu lwy yn terfynu gyda hyny; ac annogai y pwyllgor i ymofyn yn ddidderby nwyneb i'r peth, ac, mewn gair, i ymddiried y fyddin i ddwylaw mwy medrus. Cymerodd hyn le ar y 9fed o Ragfyr, 1644; a chyn fod y cyfeisteddfod wedi gwasgaru, penderfynwyd "nad oedd unrhyw aelod o un o'r ddau Dŷ i ddal na gwasanaethu unrhyw swydd nac awdurdod filwrol, &c." Effaith y mesur yma oedd fod Cromwell, ac Ieirll Manchester, Essex, a Dinbych, i ymadael â'r fyddin. Yr oedd efe yn ymbarotôi i ganu yn iach i'w hen gyfeillion, a'r Senedd yn dechreu ailffurfio a diwygio y fyddin, yr hon oedd i fod dan lywyddiaeth Syr T. Fairfax. Ond dygwyddodd fod angen am ein gwron yn y cyfamser i fyned i gyfarfod â byddin y Brenin. Efe a aeth, a dychwelodd yn orchfygwr. Y mae Syr T. Fairfax yn fuan yn anfon i'r Senedd y cais iddynt adael Cromwell yn y fyddin mewn eithriad i'r penderfyniad diweddar. Yr oeddynt yn anfoddlawn ar y cyntaf, eto gorfu arnynt wneyd, gan y gwyddent ei fod yn meddu y fath ddylanwad ar y rhan grefyddol o'r fyddin. Ailgymerodd ei le ar y 14eg o Fehefin, a'r dydd canlynol yr ymladdwyd brwydr fythgofus Naseby, yr hon a ddyrchafodd Cromwell yn uchel, ac a fu yn ddinystr anadferadwy i'r Brenin; oblegid cafwyd gafael yn ei bapyrau cyfrinachol, y rhai a amlygent yn ddiammheuol ei fod yn fradwr ei wlad a'i Senedd. Ar ol hyn, a chyn diwedd y flwyddyn 1645, cymerwyd amryw leoedd o bwys oddiar y blaid freninol, a dechreuai y Senedd ganfod eu bod dan rwymau i benaethiaid y fyddin, a phenderfynasant fod Fairfax, a'i blant ar ei ol, i gael £5000 yn y flwyddyn, a Cromwell, a'i olafiaid, i gael £2500, heblaw symiau cyfatebol i brynu ceffylau, &c., a bron yn gyfamserol hefyd fe wnaed Cromwell yn Farwnig, fel arwydd o barch a chydnabyddiaeth o'i wasanaeth.

Yn nechreu 1646, yr oedd y Brenin mewn cyfyngder—wedi colli ei holl amddiffynfëydd, a phan welodd fod nerth braich wedi pallu, taflodd ei hun ar drugaredd y fyddin Ysgotaidd. Y mae yn dyfod atynt yn dra dirodres, ond y maent hwythau yn mynegu hyny i'r Saeson, ac y mae y newydd yn cyrhaedd clustiau y Senedd yn ddiymaros. Yr oedd ar y Senedd ddyled arianol i'r Ysgotiaid am eu cynnorthwy; a chan na fydd eu hanghen mwyach, yr ydys yn talu y ddyled, ar yr ammod fod y carcharor urddasol yn cael ei roddi i fyny i'r Saeson, yr hyn a wneir, fel y sylwa Macaulay, "mewn dull nad yw yn dyrchafu fodd yn y byd gymeriad cenedlaethol" yr Ysgotiaid. Tŷ yr Arglwyddi a benderfynant fod y Brenin i drigiannu yn Newmarket; ond ni chydsynia y Tŷ Cyffredin â hyn, ac anfonir ef i Holmsby House, yn Sir Northampton.

Yr unig wir allu yn y deyrnas erbyn hyn oedd y fyddin, a Cromwell oedd gwir lywydd y fyddin. Nid oedd Tŷ yr Arglwyddi yn feddiannol ar nemawr allu. Yr oedd y Tŷ Cyffredin yn hollol ddiffrwyth. Canfyddai Cromwell fod cyfnewidiad mawr wedi cymeryd lle, ac mai yr unig beth a sicrhäai lwyddiant y deyrnas, a'i ddiogelwch ef ei hun, fyddai dwyn y rhy-

fel i derfyniad. Yr oedd y Senedd wedi cynnyg sicrhâu yr orsedd a'r goron i'r Brenin, os boddlonai efe ymostwng i'w defodau crefyddol hwy; eithr efe ni wnai hyn, a chan hyny methodd eu cais. Yn nesaf ymgeisiasant at leihâu y fyddin gref oedd wedi ei chasglu, a'r hon mewn gair oedd yn meddu yr holl allu ar y foment a fynai ei llywyddion. Ond pallai y swyddogion wneuthur hyn, hyd oni thelid yn llawn eu holl ôl-ddyledion, er fod Cromwell, Fairfax, ac Ireton, yn crefu arnynt. Ar hyn ail anfonwyd at y Brenin, gan feddwl ei ryddhâu a'i adferu; ond mor gynted ag y gwybu Cromwell y bwriad, efe a anfonodd 500 o wŷr i Holmsby Castle, y rhai a gymerasant y Brenin yn garcharor. Cynhyrfodd hyn y Senedd yn ddirfawr; ond ni thyciai hyny ddim. Yr oedd Cromwell wedi meddwl yn drwyadl ar y gwaith oedd ganddo mewn llaw; ac y mae haneswyr yn mynegu mai o'r foment hon allan y gellir edrych ar y Senedd yn llaw Cromwell mor belled ag yr oedd y fyddin yn ei law; ac yr oedd y fyddin yn gyflawn wrth ei ewyllys, canys efe ydoedd ei chadfridog. Yr oedd yn gweled yn eglur fod y senedd yn barod i fradychu yr achos ag yr oedd efe a'r fyddin wedi bod yn ymladd drosto; ac os gallent gael eu ffordd i adferu y Brenin, ychydig o obaith allai fod am ei fywyd ef ag oedd wedi bod mor flaenllaw ymhob ymgyrch, a'r hwn mewn gair ydoedd enaid y fyddin. Penderfynodd, gan hyny, y buasai yn gwneuthur y Brenin yn ddyledwr iddo. A pha fodd? Trwy ei gymeryd yn garcharor, a chynnyg ei osod yn ol ar ei orsedd. Ganddo ef yn unig yr oedd y gallu i wneuthur hyn; ac nis gallwn ammheu am foment gywirdeb ei feddwl yn y peth, canys yr oedd ei fywyd mewn perygl. Cynnygiodd i'r Brenin y buasai yn ei osod ar yr orsedd, ac yn gwasgaru y milwyr, os boddlonai efe i leihâu rhyw gymaint ar ei allu am ddeng mlynedd, ac yn maddeu i'r holl rai ag oeddynt wedi bod yn ymladd i'w erbyn. Nid oedd dim yn hawddach yn ngolwg Charles —addawodd anrhydeddu Cromwell, a'i adael yn llywydd y fyddin. Ond nid cynt yr oedd yr addewid wedi ei chwblhâu nag y daeth y sibrwd i glustiau Charles fod dinasyddion Llundain yn barod i ymladd o'i blaid, a'u bod wedi gorfodi y Senedd i addaw ei adferu. Newidiodd Charles ei feddwl, ymfalchïodd drachefn yn ol ei arfer, anghofiodd ei wendid, a haerodd ei fod yn ddiogel, ac "nas gallai y fyddin fodoli hebddo ef." Arweiniodd Cromwell ei fyddin at byrth y brif-ddinas, y rhai a daflwyd yn agored iddo, a darostyngodd y gwrthryfel, gan garcharu y maer, ac eraill, yn y Tŵr. Yr oedd y ddinas, felly, yn ei law. Gwyddai Charles hyny er ei ofid, a diangodd i'r Isle of Wight. Eithr yr oedd y Senedd ac yntau yn parhâu i geisio dyfod i ammodau; ac ar y 3ydd o Ionawr, 1648, yr oedd y cwestiwn yn cael ei osod ger bron y Tŷ, pa un ai llesol fyddai parhâu i ohebu gyda'r brenin? ac wele Cromwell yn codi i'w ateb yn nacäol, gan ddweyd fod y Brenin yn ddyn o dalentau gorwych, ond ei fod hefyd yn rhagrithiwr dauwynebog, "*fel nad diogel ymddiried iddo;*" a'i fod ar y pryd hwnw, tra yn gohebu gyda'r Senedd, yn ceisio gan yr Ysgotiaid ddyfod drosodd i ymladd drosto, ac i ddarostwng y Senedd, a'r blaid oedd wedi ei wrthwynebu ef. "Y mae yn awr wedi dyfod yn amser (meddai ymhellach) i'r Senedd achub a llywodraethu y deyrnas." Yr oedd pawb yn teimlo pwysigrwydd y gwaith, ac er fod llawer wedi cilio rhag y nacâd hwn, eto cafwyd fod mwyafrif yr aelodau yn barnu yr un fath â Cromwell. Dywedir fod llawer o'r wlad yn erbyn hyn; ond anhawdd, o bosibl, ydyw gwybod pa beth oedd syniadau y wlad. Yn Yscotland, fodd bynag, codwyd byddin o 14,000 i amddiffyn

y Brenin, y rhai a groesasant y terfynau; ond y mae Cromwell yn eu cyfarfod, ac yn eu gorchfygu gyda 6,000. Y mae y Senedd drachefn yn gohebu gyda Charles, ac yr oedd pethau yn arwyddo fod tebygolrwydd y buasai y Brenin yn cael ei adferu. Deallodd Cromwell hyn, a chan ei fod yn credu mai dinystr y deyrnas, a'i ddinystr ef ei hun fuasai hyny, y mae yn arwain ei fyddin unwaith eto yn erbyn Llundain, gan amgylchynu y senedd-dai, ac yn gyru allan yr holl aelodau, oddigerth rhyw hanner cant o'i bleidwyr ef ei hun. Yr hanner cant hyn a gyfansoddent yr hyn a alwyd wed'yn yn *Rump Parliament.* Maent yn maentumio mai teyrnfradwriaeth yn y Brenin ydoedd dwyn ymlaen ryfel yn erbyn ei Senedd, a phenodant uchel lys, yn gyfansoddedig o oddeutu 150 o aelodau o'r ddau Dŷ, i brofi achos Charles. Gwrthododd yr Arglwyddi wneuthur dim gyda hyn, mewn canlyniad i'r hyn y cyhoeddodd y Cyffredinwyr fod prif awdurdod y deyrnas yn eu dwylaw hwy. Dygwyd y Brenin i'w brawf ar y 20fed o'r mis; a chyhoeddwyd ef yn euog, a dedfrydwyd ef i farwolaeth, ac ymhen tri diwrnod ar ol rhoddiad y ddedfryd, y mae yn cael ei golli yn Whitehall; ac yno y mae yn cyhoeddi yn uchel ei fod yn "ferthyr dros ei bobl." Nid ydym yn awr yn dyweyd pa un a oedd y syniad hwn yn gywir ai peidio; ond gellir sylwi yma fod y weithred hon yn un ofnadwy ac ysgeler, ac yn un a ennillodd fwy o gyfeillion i'r Brenin a'i achos, nag a ennillasai ei holl fywyd anghyson. Deuir eto i sylwi ar Cromwell yn y cysylltiadau gofidus hyn.

Ar y 7fed o'r mis canlynol, y mae cyhoeddiad yn cael ei roddi allan fod y deyrnas yn werinlywodraeth—nad oedd mwyach frenin i lywodraethu. Ië, yr oedd i fod yn deyrnfradwriaeth i ddyweyd fod Tywysog Cymru, na neb arall, yn frenin. Dewiswyd swyddogion neillduol i ddwyn ymlaen achosion y deyrnas, a gofynir ganddynt oll gymeryd llŵ o ffyddlondeb i'r Weriniaeth. Y mae rhai yn gwneyd, y mae eraill yn pallu, ac y mae y cynghor gwladol yn gwrthod arwyddo eu cymeradwyaeth o golliad truenus y Brenin; ond nid ydyw hyny yn achosi iddynt golli eu swyddau, gan yr ofnir, o bosibl, ailddechreu rhyfel eto rhwng yr aelodau â'u gilydd. Aeth y Senedd ynghyd â'u gwaith, ac y mae Brougham yn sylwi eu bod, er eu holl anghymhwysderau, wedi gwneuthur gweithredoedd rhagorol. Ond yr oeddynt yn ymddwyn yn gigyddlyd at blaid y Brenin, fel y dengys eu hymddygiadau at Ddug Hamilton, Ieirll Holland a Norwich, Arg. Capell, a Syr John Owen, &c., tri o'r rhai a ddienyddiwyd yn gyhoeddus yn Westminster. Yr oedd y wlad erbyn hyn yn dechreu diglloni, a phenderfynodd y Senedd o hyn allan beidio a cholli neb am droseddau felly; ac ymddengys na chymerodd dim dienyddiadau pellach le am bleidiaeth gwladol, drwy ystod y Weriniaeth. Yn y cyfwng yma yr ysgrifenwyd y llyfr campus hwnw—yr "*Eikon Basilike*"—yr hwn a briodolir i'r Brenin, ond a ysgrifenwyd mewn gwirionedd gan Esgob Exeter, a'r hwn a gynnyrchodd deimlad mawr drwy y wlad o blaid y Brenin. Yn erbyn y llyfr hwn yr ysgrifenodd Milton ei waith ag a elwir yr "*Eikonoclastes,*" yr hwn a atebwyd gan Salmasius, a'r hwn drachefn a oesol atebwyd gan Milton; ac mor nerthol ydyw ymresymiadau y gwaith hwn o eiddo Milton, fel y dywedir fod ei wrthwynebydd Salmasius wedi marw gan ofid o'i blegid. Heblaw hyny, yr oedd plaid gref yn y wlad a'r fyddin, y rhai a alwent eu hunain yn "*Levellers,*" a'r rhai a gyhoeddent fod Cromwell am gael ei wneuthur yn frenin yn lle Charles; ac ymddengys, er fod llawer o gamddarlunio wedi bod ar y blaid hon,

eu bod, ar y cyfan, yn ddynion o egwyddorion rhyddfrydig a chanmoladwy.

Yr oedd y rhyfel wedi ei symud yn awr i'r Iwerddon. Yr oedd plaid y Brenin wedi ymuno gyda'r Pabyddion yn erbyn y Senedd a'i byddin; ac yr oedd yr Arglwydd Raglaw wedi ei gau i fyny yn Dublin. Penodwyd Cromwell i fyned yno; ond trwy fod cryn nifer o'r blaid newydd uchod yn ei fyddin, methodd gychwyn ar y pryd y bwriadasai, oblegid tipyn o anghydwelediad a diffyg cydweithrediad ag oedd yn cymeryd lle. Ond buan y gwastadäodd y pethau hyn, a chyrhaeddodd yno tua chanol y flwyddyn; a bu yn offerynol i lwyr ddarostwng yr ynys, ac i ymlid holl bleidwyr y Brenin.

Cyn pen naw mis ar ol glaniad Cromwell yn yr Ynys Werdd, yr oedd y gwrthryfel wedi ei lethu. Eithr yr oedd yr Ysgotiaid yn dechreu aflonyddu o blaid Tywysog Cymru, Charles yr II., yr hwn a gyhoeddasid yn frenin yn Edinburgh yn uniongyrchol ar ol marwolaeth ei dad. Ceisiodd y Senedd gan Fairfax (yr hwn oedd y prif lywydd, er fod Cromwell yn llywydd y fyddin yn yr Iwerddon) fyned i Ysgotland; ond efe ni theimlai yn rhydd i ddwyn arfau yn erbyn ei frodyr crefyddol, a phallodd. Anfonwyd i ymofyn Cromwell o'r Iwerddon, a daeth yn ei holl frwdfrydigrwydd arferol, ac yn fuan ymadawodd tua'r Alban. Nid oedd ei fyddin ond un fechan mewn cymhariaeth i fyddin yr Ysgotiaid dan lywyddiaeth Leslie; ond fel y sylwa un, "Yr oedd gobaith yn ymbelydru ynddo ef, fel colofn o dân, pan yr oedd wedi diffoddi yn mhawb arall." Yr oedd ei sefyllfa ef a'i fyddin yn awr yn ddyrys fel eiddo plant Israel wrth wynebu y Môr Coch—yr oedd y môr o'r tu ôl, y mynedfeydd culion ar ei aswy wedi eu cau rhagddo, a Leslie a'i fyddin o'i flaen. Y dyfyniad canlynol sydd ran o ddesgrifiad Carlyle o'r frwydr hon, a'n dyben yn ei osod yma ydyw, nid yn unig cyflwyno i'r darllenydd gyfran o un o'r desgrifiadau penaf o frwydr a ysgrifenwyd erioed, ond dangos cymeriad Cromwell a'i wŷr yn y cyfryw amgylchiadau. Arwyddair yr Ysgotiaid oedd, "Y Cyfammod;" ac arwyddair y Saeson oedd, "Arglwydd y Lluoedd."

"Y mae y nos hyn ysgythrog a gwlyb; y mae y lloer-fedi bron yn anweledig gan gymylau o eirwlaw a chesair. Y neb sydd â chalon i weddïo, gweddïed yn awr, canys y mae ymgyrch farwol wrth law. Gweddïed, a chadwed ei bylor yn sych. Ymbarotöed erbyn pethau ofnadwy, a bydded ŵr! Felly y maent yn treulio y nos, gan wneuthur gorynys Dunbar, ac aber Brock, yn fythgofus genym. Genym ni y Saeson y mae pebyll: nid oes dim gan yr Ysgotiaid. Y môr a rua yn ddaroganllyd, ac a ymdreigla yn chwyddedig yn erbyn y cilfachau: y mae y môr a'r dymhestl yn effro, y mae pawb arall ond ni yn cysgu,—ac y mae Un sydd yn marchog ar adenydd y gwynt!

"Oddeutu tri o'r gloch y bore y mae gwŷr traed yr Ysgotiaid—pawb ond dau mewn catrawd—yn diffoddi eu llusernau, yn ol gorchymyn yr islywydd, medd rhai, ac yn ymgrymu dan y cogyrnau ŷd, gan geisio noddfa, ac ychydig gwsg anesmwyth. Byddwch effro, chwi Saeson; gwyliwch a gweddïwch, a chedwch eich pylor yn sych! Oddeutu pedwar o'r gloch, anfonir gorchymyn at fy nghyfaill penfeddal o Sir Efrog, fod yn rhaid i'w fyddin ef ddringo eu cyfrwyau a thramwy yn ebrwydd: y mae ei fyddin ef, ac eraill, yn ymarllwys yn gyflym o'r tu aswy i Brocksmouth House at y fynedfa dros yr aber. Bydded i ni, gyda niferi gorthrechol, ruthro ar aden

dde yr Ysgotiaid; maedder hona, ac yr ydym wedi maeddu y cwbl. Major Hodgson, wrth farchogaeth ymlaen, a glywai, meddai, 'fanerwr yn gweddïo yn y nos;' catrawd o wŷr tlodion, meddyliwyf, yn addoli yno, dan yr wybren wag, cyn dechreu o'r frwydr. Gan roddi ei wŷr yn ngofal un o'i gydswyddwyr, Major Hodgson a dry o'r neilldu am foment i glustfeinio, ac i addoli a gweddïo gyda hwy; ysgatfydd ei weddi olaf ar y ddaear hon, yn ol fel y dygwyddo. Ond na: y banerwr hwn a weddïa yn daer anarferol, ac a rydd nerth yn fy nghyfaill o Sir Efrog, yr hwn a gadarnhâ ei wŷr drwy adrodd y peth wrthynt. Ac y mae y Nefoedd yn ei thrugaredd, mi dybiaf, wedi agor i ni ffordd o waredigaeth. Y lloer a ymbelydra yn lâs ac yn galed, gan farchog ar gesair-gymylau; a thros ben St. Abbs y mae llinellau y cyfddydd yn ymddangos.

"Ac yn awr yw yr amser y dylid gwneyd yr ymosodiad, ac nid yw Lambert yma—y mae efe eto yn llywio y llinell ymhell o'r tu dê; ac y mae Oliver yn achlysurol, yn nghlywedigaeth Hodgson, yr orawyddus am dano. Y mae yr Ysgotiaid hefyd ar ei ochr ddê ar ddihun, ac yn meddwl rhuthro arnom yn ddiarwybod: dyna floedd eu hudgorn, ni a'i clywsom unwaith, ac y mae Lambert, yr hwn sydd i flaenori yr ymosodiad, heb fod yma. Y mae y priflywydd yn llawn dysgwyliad:—ond wele Lambert o'r diwedd! Mae yr udgyrn yn seinio yn olynol; a'u seiniau treiddgar yn rhwygo y dystawrwydd nosawl: y mae y magnelau yn fyw ar hyd yr holl linell. 'Arglwydd y Lluoedd! Arglwydd y Lluoedd!' Ymlaen fy newrion! ymlaen!

"Yr oedd y frwydr ar yr aden ddeheuol hon yn frwd ac yn gadarn am dri chwarter awr. Digon o dân, o bob math o arfau, yn cadw prif rym yr Ysgotiaid dros yr aber:—dynion tlodion sythedig, yn cael eu dihuno dan yr ŷd-gogyrnau, a'u llusernau oll wedi diffoddi! Ond ar y ddê yma, y mae eu marchoglu—yn cael eu blaenu gan wŷr y gwaewffyn—yn ymladd yn ofnadwy, ac yn ein gyru yn ôl ar draws yr aber:—yn ôl ychydig; ond y mae yr Arglwydd yn ein nerthu, ac yr ydym yn rhuthro yn ol, gyda'n gwŷr traed a'n gwŷr meirch, a chyda bloedd fel swn tymhestloedd corwyntog, yn eu dryllio, yn eu maeddu, yn eu gyru oll ar ffô. Rhai a ffoisant tua Copperspath, ond y rhan fwyaf ar draws eu gwŷr traed eu hunain! Eu gwŷr traed tlodion eu hunain, llusernau y rhai oedd prin yn oleuedig eto! Druain ddynion! yr oedd yn ddeffrôad dychrynllyd iddynt; maesŷnau, a rhuthr y gwŷr traed, ar draws y Brocksburne; ac yn awr wele eu marchogion eu hunain, yn eu gwallgofrwydd, yn eu mathru i farwolaeth! Dros dair mil wedi eu lladd yn y lle; 'Ni welais erioed y fath ruthr o wŷr traed a gwŷr meirch,' ebe un: na minnau chwaith. Yr oedd Oliver yn ymyl Hodgson, pan lwyddodd y rhuthr, a chlywodd Hodgson ef yn dywedyd, 'Y maent yn ffoi! yn wir, y maent yn ffoi!' 'A thros St. Abbs a'r Môr Germanaidd y mae pelydron cyntaf yr haul yn awr yn ymdori arnom, ac mi a glywais Nol yn dyweyd, yn ngeiriau y Salmydd, "Cyfoded Duw, gwasgarer ei elynion," neu

'Ymgyfoded un Duw ein Ner
Gwasgarer ei elynion;
Un drygddyn honynt na arhoed,
O'i flaen ffoed ei gaseion.'

"Ië yn wir. Y mae byddin yr Ysgotiaid wedi ei dryllio; rhuthra yn

ddarnau cynhyrfus hwnt ac yma; i Belhaven, neu yn eu gwallgofrwydd hyd yn nôd i Dunbar; erlidiwyd hwy hyd Haddington; Hacker yn y blaen. 'Y Priflywydd a orchymynodd i ni sefyll,' ebe Hodgson, 'ac a ganodd y Ddwyfed Salm ar Bymtheg wedi'r Ganfed,' hyd onid allai ein marchogion ddyfod ynghyd i'r erlyniad. Y Ddwyfed Salm ar Bymtheg wedi'r Ganfed wrth droed Doon Hill; yno yr ydym yn ei chanu ar dôn *Bangor*, neu ryw sain uwch fyth, ac yn ei chodi yn gryf ac yn fawr hyd y nefoedd,—

**'O cenwch fawl i'r Arglwydd nef,**
**Molienwch ef genedloedd;**
**Molwch ei enw ef trwy'r byd,**
**Chwithau i gyd y bobloedd.**

**'Am ei fod ini yn dda iawn,**
**Yr Arglwydd llawn trugaredd;**
**A'i air ef sydd yn parhâu byth,**
**Sef ei ddilyth wirionedd.'**

"Ac yn awr erlidiwn drachefn. Y mae y carcharorion yn ddeng mil—yr holl wŷr traed yn eu crynswth."*

Eithr er fod yr Ysgotiaid yn cael eu gorchfygu yn y modd yma, eto nid oeddynt yn cael eu darostwng; canys yr oedd eu gelyniaeth yn fawr at y dyn ag oedd wedi eu curo mor llwyr. O ganlyniad, yn y gauaf dilynol, y maent yn casglu byddin gref, i'r un dyben ag o'r blaen; ac y mae y Tywysog i fod yn gadfridog. Y mae Charles yn arwyddo eu "Cyfammod," ac yn cael ei goroni yn Schone, lle yr arferai yr hen Ysgotiaid goroni eu breninoedd. Yn y cyfwng pwysig hwn y mae Cromwell yn clafychu, a'r Senedd yn ei gynghori i ymddiried y fyddin am dymmor byr i ofal eraill; ond ni wna efe hyn; ac mewn byr amser y mae yn alluog i lanw ei le fel arfer. Mor fuan ag y goddefai y tywydd, croesodd Cromwell Queen's Ferry, gan dori ymaith gysylltiadau y Brenin gyda'r rhanau gogleddol; fel nad oedd gan Charles ond un o ddau beth i'w wneyd, sef naill ai ymladd, neu arwain ei fyddin i Loegr; ac felly yr ydys yn cael iddo, gyda byddin o 14,000 o wŷr, groesi yr afon Mersey, a thramwy drwy Siroedd Caer ac Amwythig, i dref Worcester. Nis gellir sicrhâu pa un a ddeallodd Cromwell hyn ai peidio ar unwaith, ac y mae yn ammheus a oedd wedi meddwl am y posiblrwydd o'r peth. Tybia rhai fod Charles, am unwaith, wedi myned yn gyfrwysach nag ef. Fodd bynag, yr oedd Cromwell yn ei ddilyn yn agos; a phan gyrhaeddodd Worcester, gorfu i Charles wynebu ei ymlidwyr dewrion mewn brwydr o bedair awr a hanner. Ymladdwyd yn ddewr o'r ddwy ochr, ac yn niwedd y frwydr, cafwyd fod 3000 o fyddin y Tywysog wedi eu lladd, a rhwng 6000 a 7000 wedi eu cymeryd yn garcharorion. Bu hyn yn ddarostyngiad hollol i'r Ysgotiaid ac i'r Tywysog; a chydag anhawsder dirfawr y llwyddodd Charles i ddianc oddiar y ffordd, a mynegir ei fod wedi bod yn grwydryn diymgeledd, yn y peryglon mwyaf, am ddeugain niwrnod, nes o'r diwedd y llwyddodd i ddianc i Ffrainc, dan ffugio ei fod yn was i foneddwr; a dychwelodd Cromwell i'r Brifddinas i dderbyn diolchiadau y Senedd am ei wasanaeth gwerthfawr yn narostyngiad y gelynion hyn; a phenderfynwyd fod y swm o £4000 yn flynyddol i gael eu talu iddo ef a'i etifeddion ar ei ôl, "fel arwydd o ffafr y Senedd am ei wasanaeth mawr a nodedig i'r Weriniaeth."

* *Carlyle's "Cromwell,"* cyf. III., 44—47.

Cymerodd y frwydr uchod le ar y 3ydd o Fedi, 1651; ac ar ei hôl gallai y Weriniaeth ystyried ei bod yn ddyogel, yn llywodraethu ar ei holl elynion, ac yn ffynu yn orwych. Yr oedd yr Iwerddon yn ddarostyngedig; yr oedd Ysgotland yn ddarostyngedig; yr oedd y blaid freninol yn Lloegr yn llethedig; a'r cwbl i'w briodoli i gleddyf Cromwell. Y mae yn wir fod y Senedd yn eistedd; ond nid oedd y Senedd yma ond enw o beth yn unig. Gwyddai Cromwell hyny; a'i waith cyntaf ar ol sefydlu heddwch ydyw myned ynghyd a diwygio y giwaid diwaith yma. Yr oedd y llynges Brydeinig y pryd yma yn dyfod yn brysur yn frenines y moroedd, ac yn ennill buddugoliaethau pa le bynag yr elai, fel y gellir ystyried fod y teyrnasoedd tramor yn ofni ac yn crynu am eu dyogelwch eu hunain. Yr oedd traul fawr i gynnal y milwyr tirol a morwrol, a barnodd y Senedd y gellid lleihâu nifer y fyddin dan Cromwell. Rhag. 19, 1651, penderfynwyd lleihâu y fyddin y bedwaredd ran; ond gwrthodai y fyddin ufuddhâu, oddieithr iddynt gael eu talu o'r holl ôl-ddyledion yn llawn. Yn ebrwydd ar ol hyn, y mae y swyddogion milwrol, ac eraill, yn deisebu y Senedd i ymwasgaru, gan ei bod yn groes i egwyddorion gwerinaeth i unrhyw ddosbarth o swyddogion fod yn barhâus mewn llywodraeth; a chan hyny, mai dymunol fyddai iddynt hwy ymwasgaru, ar ol anfon allan lythyrau yn awdurdodi etholiad newydd. Dywedai Cromwell wrthynt fod angen iddynt ddyfod i benderfyniad o ryw fath gyda golwg ar y genedl. Yr oedd y cyfreithwyr yn barnu mai llywodraeth gymysg fyddai oreu, gyda'r elfen unbenol ynddi i raddau; barnai y milwyr mai gweriniaeth fyddai oreu; ond ni fynegai y Llywydd ei syniadau yn eglur. Fodd bynag, cafwyd gan y Senedd benderfynu eu bod i ymwasgaru mewn pedair blynedd. Eithr dengys hanesion i amgylchiadau eu gorfodi i hyny yn gynt. Yr oedd Cromwell yn awr yn meddu hamdden i ymwrando, a thalu sylw i amgylchiadau mwy cyffredin y deyrnas, a llais y bobl ar y gwahanol ysgogiadau ar droed, Buan y deallodd eu bod yn anfoddlawn i drefniadau y Senedd ddilafur yma; gan hyny, ar yr 20fed o Ebrill, 1653, y mae yn gwneuthur ei ymddangosiad yn Nhŷ y Cyffredin, ac yn eu hysbysu fod yr Arglwydd wedi darfod gyda hwy—eu bod yn awr i roddi lle i eraill ag oeddynt yn fwy teilwng. Atebwyd ef gan Syr Peter Wentworth, fod ei iaith yn anseneddol, ac yn iaith nad oedd yn gweddu i was ei harfer at ei feistri. Dywedai Cromwell ar ol hyny, "Nid ydyw yn gweddu i chwi eistedd yma yn hwy: chwi a gewch yn awr roddi lle i well dynion. Ymaith â chwi, meddaf, a boed i ni ddarfod gyda chwi. Yn enw Duw, ewch!" Ar hyn, y mae yn galw ar y swyddog a'r milwyr ag oeddynt yn aros o'r tu allan, y rhai a ddeuant i mewn ac a waghäant y Tŷ yn ebrwydd o'r holl aelodau; ac wrth ymadael, y mae yn anerch y Senedd, "Chwi sydd yn fy ngorfodi i wneuthur hyn. Yr wyf wedi ceisio yr Arglwydd ddydd a nos, y byddai iddo yn hytrach fy lladd i, na fy ngorfodi i wneuthur hyn; ond nid oes dim *help* am hyn." Yna y mae yn cloi y drws, ac yn dychwelyd i'w dŷ.

Nid oedd ammheuaeth yn awr pwy oedd yn feddiannol ar y gallu a'r awdurdod uchaf yn y deyrnas. Yn ganlynol i hyn, bu y llywodraeth dros ychydig yn nwylaw cynghor o'r swyddogion milwrol, a Cromwell yn ben arnynt; eithr gwelid fod angen Senedd. Gan hyny, anfonwyd allan 140 o lythyrau i alw ynghyd senedd newydd, y rhai a ddaethant oll ynghyd oddigerth dau. Yr oedd y dynion hyn i fod yn "ddynion yn ofni Duw, yn ffyddlawn, ac

yn casâu cybydd-dod." Hon ydyw y Senedd a elwir yn "Senedd *Barebone,*" yr hwn ydoedd un o'r aelodau. Ymdrechodd y rhai hyn wneuthur lles, a chyflawni eu dyledswyddau yn gydwybodol; ond bernir nad oeddynt, o bosibl, yn ddynion cymhwys i ymgymeryd â llywyddiaeth amgylchiadau yn y cyfwng pwysig hwnw. O ganlyniad, nid hir y buont cyn rhoddi terfyn ar eu byr hoedl eu hunain, yr hyn a wnaethant ar y 12fed o Ragfyr, 1653, ar ol eistedd am ryw wyth neu naw mis. Ar ol penderfynu yn eu plith eu hunain i roddi eu swyddau i fyny, y mae nifer o honynt yn myned at Cromwell i Whitehall, i fynegu y cyfryw iddo, ac i grefu arno gymeryd y llywodraeth i'w law ei hunan. Gyda chryn anhawsder y cafwyd ganddo cydsynio; ond o'r diwedd efe a wnaeth hyny; ac ar yr 16eg o'r un mis, y mae yn cael ei gyhoeddi yn "Arglwydd-Amddiffynydd" y deyrnas. Fel y cyfryw, yr oedd i gael llywyddiaeth y fyddin a'r llynges; yr oedd i gael gallu i wneuthur heddwch neu ryfel, gyda chaniatâd ei gynghoriaid; a hawl i benodi prif swyddogion y wlad, gyda chaniatâd y Senedd. Un o'r pethau cyntaf ar ol hyn oedd dewis Senedd newydd, yr hyn a wnaed; a dewis swyddogion i gyflawni y gwaith cyhoeddus, yn yr hyn y bu yn neillduol ffodus. Ei Ysgrifenydd Tramor ydoedd yr anfarwol John Milton; ei Gaplan ydoedd y clodfawr John Howe; a gosododd y Barnwr Hale ar y fainc. Dangosodd ei fod am i'r holl ddeiliaid fwynhâu y rhyddid cydwybod perffeithiaf; a'i fod yn awyddus i leihâu y trethi, ac i gynnyddu masnach y wlad. Yr oedd wedi cyhoeddi fod y Senedd i gyfarfod yn y mis Medi nesaf. Oddeutu y pryd hwn y gwnaed cais i'w lofruddio, ac y dienyddiwyd Gerard a Vowel am hyny. Pan gyfarfyddodd y Senedd ar y 3ydd o Fedi, 1654, yr oedd Cromwell wedi gwneyd heddwch â'r Netherlands, Sweden, Denmark, a Portugal; ac yr oedd cyttundeb ar waith rhwng y wlad yma a Ffrainc. Nid cynt y cyferfydd y Senedd nag y mae awdurdod Cromwell yn cael ei ammheu; y mae yntau yn anfoddloni i hyn, gan mai ei awdurdod ef oedd wedi eu galw hwy ynghyd; ac y mae yn gofyn ganddynt gydnabod ei awdurdod drwy lawdodi papyr oedd wedi ei barotôi. Cant a hanner o honynt a ballant, ac a ymadawant. Ond nid oedd y rhai a lawnodasant ei bapyr o fawr les, oblegid yr hanes a ddengys eu bod yn ddïeithriad ar ffordd pob daioni. Canlyniad hyn yw ei fod yn ceisio llywodraethu heb senedd, ac yn gosod îs-lywyddion i reoli y wlad; gan ddwyn y wlad felly dan lywodraeth filwraidd hollol. Ymhen tua dwy flynedd, sef ar y 17eg o Fedi, 1656, ceisia gyfansoddi Senedd drachefn, a diddymir y llywodraeth filwraidd. Yn y Senedd ceisir adferu yr hen gyfansoddiad breninol: cyfansoddir dau dŷ seneddol; a chynnygir fod Oliver i fod yn frenin; eithr ni thycia y cynnyg olaf gyda'r fyddin, ac felly y mae yn erthylu. Y mae y Senedd newydd yn cyfarfod ar yr 20fed o Ionawr, 1658; ond ni wna y Tŷ Cyffredin gydnabod uchafiaeth y Tŷ Arglwyddi newydd; ac y mae Cromwell yn eu danfon i'w cartrefi, gan benderfynu llywodraethu hebddynt; a'i eiriau olaf, yn ei araeth olaf, wrthynt ydyw, "Bydded Duw farnwr rhyngwyf fi a chwithau." Ar y 3ydd o Fedi yn y flwyddyn hon, y mae yn anadlu ei enaid i fyd yr ysbrydoedd; a'i fab Richard a gymer ei le yma.

Dyna fraslun—ond tra anmherffaith, yr ydym yn cydnabod—o hanes y dyn hynod hwn. Ein hamcan oedd rhoddi adroddiad byr a theg o brif ffeithiau ei fywyd. Eithr y mae un peth yn ei hanes na chawsom o'r braidd le i'w grybwyll, a'r peth hwnw yn gyfryw ag sydd wedi dylanwadu ar ei holl

symudiadau o'r diwrnod cyntaf y cododd yn Senedd ei wlad hyd y dydd y cyrhaeddodd i ben pinacl ei enwogrwydd. Y peth hwnw oedd ei grefydd. Anmhosibl yw deall Oliver heb ddeall ei grefydd. Gwir y gellir deall cymeriad y rhan fwyaf o ddynion—gormod, o lawer o grefyddwyr—heb ddeall, heb wybod dim am, eu crefydd; ond nid ellir deall y dyn hwn. Ac nid yn unig hyny, ond yr oedd ei ysbryd crefyddol wedi ei feithrin dan erlidigaethau chwerwon Charles I., yr hwn oedd yn ddydd profi hyd yn nôd y Puritaniaid eu hunain; ac yr oedd bod yn un o honynt y pryd hwnw yn arwydd lled ddiogel fod "gwreiddyn y mater" yn y galon. Yr oedd ei grefydd yn dyfod gydag ef i bob man, fel y dengys ei holl lythyrau a'i areithiau, y rhai a gasglwyd ynghyd gan Mr. Carlyle. Yn St. Ives, crefydd yw'r penaf peth; ac yn y Senedd, crefydd yw pob peth. Yn y frwydr boeth, crefydd yno; yn frenin o ran pob peth ond enw, crefydd yno. Ac fel y sylwa Mr. Forster,* "Nad pa rai fyddo rhagfarnau blaenorol dyn, nis gall ddilyn siaradwr yr areithiau, ac ysgrifenwr y llythrau hyn, o'r tu dalen cyntaf hyd yr olaf, gan gyd-deithio âg ef o'i dir porfa yn St. Ives hyd ei orsedd fel Arglwydd Amddiffynydd; gan wylio arno yn ei gyfeillachau tyneraf gyda'i rai anwylaf; gan sylwi arno mewn amgylchiadau gwladwriaethol, neu yn masnach cyffredin y byd, mewn cyflawniadau cyfeillgar, neu mewn cynghrair â breninoedd a llywodraethau; gan wrandaw arno yn cysuro pregethwr erlidiedig, neu yn bwgwth tywysog erlidgar; nis gall wneyd hyn, a pharhâu yn y diwedd dan un argyhoeddiad arall, na bod ysbryd crefyddol Cromwell ymhob sefyllfa, ac o dan bob amgylchiadau, yr un yn sylweddol, ac mai yn mrwdfrydedd tanllyd ei deimlad crefyddol, o dan ei wahanol amrywiadau, y rhaid ceisio, ac y ceir, gwir ddirgelwch ei fywyd." Yn achos crefydd y sieryd gyntaf yn y Tŷ Cyffredin yn 1629; ac wrth roddi ei araeth olaf, ei eiriau olaf ydynt, "Bydded Duw farnwr rhyngwyf fi â chwithau." Ei arwyddair ar faes y gwaed ydyw, "Arglwydd y Lluoedd;" ei arfer ar ol cael yr oruchafiaeth yw canu Salmau; a'i iaith barhâus yw, "Nid i ni, ond i Dduw, y bo'r gogoniant." Ac ar ei fyddin hefyd y mae deuparth o'i ysbryd; a'r hyn a wahaniaethai yn benaf fyddin Cromwell oddiwrth fyddinoedd eraill oedd y moesoldeb llym, a'r ofn Duw, oedd yn nodweddu pob gradd. Ni chlywid llŵ, ni welid meddwyn yno; yr oedd yno barch i feddiannau, ac anrhydedd i ferched ; ac unig drafferth y llywydd gyda hwy oedd eu cadw rhag dial ar au-grefyddwyr.† Enghraifft arbenig o zêl Oliver a'i wŷr yn erbyn defodau Pabaidd yw y llythyr a ysgrifenodd efe at y Parch. Mr. Hitch, offeiriad yn eglwys gadeiriol Ely, ar y 10fed o Ionawr, 1643, yn yr hwn y gorchymyna iddo ymattal â'i ddefodau, rhag mynu o'r milwyr ei attal; eithr hanes a ddengys fyned o'r gŵr ymlaen, ac un Sul, tra yr oedd y gwasanaeth yn cael ei ddarllen, wele Oliver yn ymlwybro i fyny at y ganghell, ac yn dywedyd, "Yr wyf yn ddyn dan awdurdod, a gorchymynir i mi wasgar y gynnulleidfa hon;" ond Mr. Hitch nid ufuddhâ hyd oni ddywed Oliver drachefn, "Gadewch eich ffoledd, a dewch i lawr, syr!" a'r tro hwn yn effeithiol, oblegid y pregethwr a'i gynnulleidfa a giliant allan. Yn ei fryd ef, y mae Pabyddiaeth yn elynol i bob da, yn wladol yn gystal ag yn grefyddol, ac oblegid hyn y mae Yspaen Babaidd ganddo fel llygoden dan balf y gath. Y fath ydyw yn ngolwg yr hen Gardinal cyfrwys Mazarin, fel y

* *Essays*, cyf. I., 312. † *Macaulay's Hist. of England*, cyf. I., 123.

dywed fod arno fwy o'i ofn na'r diafol, ac y rhydd nawdd i Gristionogion wrth ei ewyllys. Pan glyw am ddyoddefiadau Cristionogion Piedmont, y mae y dagrau heilltion yn bwrlymu o'i lygaid; palla derfynu y' cyttundeb â Ffrainc hyd onid addawa ei hamddiffyn i'r truenusion; ysgrifena ar eu rhan at dywysogion a breninoedd lawer, gan lawn benderfynu, os na thyciai hyny, eu hamddiffyn gyda'i gleddyf anorfod ei hun; a'r cwbl, meddai, am eu bod yn caru yr Arglwydd Iesu Grist mewn purdeb. Ei lythyrau, o'r dechreu i'r diwedd, sydd frith o ymadroddion crefyddol. Yn 1635, wrth ysgrifenu ar ran pregethwr tlawd am adferiad ei gyflog, dywed, "Yr wyf yn deisyf arnoch, er trugareddau Iesu Grist, dygwch hyn ymlaen, a chaffed y gŵr da ei gyflog. Eneidiau plaut Duw, a minnau hefyd, a'ch bendithiant am hyn." O Ely yn 1638, ysgrifena,—" Eto, i fawrygu fy Nuw drwy fynegu yr hyn a wnaeth efe i'm henaid, yr wyf yn hyderus yn hyn, ac mi a fyddaf felly. Hyn yn wir yr wyf yn ei gael: ei fod yn rhoddi ffynnonau mewn diffeithwch sych a diffrwyth, lle nad oes ddwfr. Chwi wyddoch lle yr wyf yn byw; yn Mesech, yr hyn meddant, sydd yn arwyddocâu *oedi;* yn Cedar, yr hyn a arwyddocâ *tywyllwch;* eto nid yw yr Arglwydd yn fy ngadael." Yn nesaf, y mae yn filwr, a'i iaith ar ol brwydr Grantham yn 1643, ydyw, "Duw a roddes i ni, y prydnawn hwn, oruchafiaeth ogoneddus ar ein gelynion." Ar ol brwydr Gainsboro', ysgrifena at bedwar o foneddigion, "Yn wir, y mae Duw yn ein dilyn â'i gymhorth, yr hwn yw Duw y fendith:—ac yr wyf yn deisyf arnoch, na foed ei fendithion i ni yn ofer." Ar ol brwydr Marston Moor, ysgrifena at gyfaill am yr oruchafiaeth a gafwyd, gan derfynu, "Rhoddwch ogoniant, yr holl ogoniant, i Dduw;" ac yn yr un llythyr, wrth gyfeirio at farwolaeth mab ei gyfaill, "Syr, y mae Duw wedi cymeryd ymaith eich mab hynaf drwy un o'r magnel-bêl. —Syr, chwi wyddoch fy mhrofedigaethau fy hun yn y dull yma [cyfeiria, o bosibl, at farwolaeth ei fab Oliver]; ond yr Arglwydd a'm nerthodd gyda hyn, Fod yr Arglwydd wedi ei gymeryd ef i'r dedwyddwch ag yr ydym ni oll yn ei chwennych, ac yn byw erddo. Yno y mae eich mab anwyl chwi, yn llawn gogoniant, byth i adnabod na phechod na gofid mwy." Yn Ebrill, 1645, ysgrifena at Gyfeisteddfod y ddwy deyrnas—Ysgotland a Lloegr—y rhai sydd ar y pryd yn un yn erbyn Charles,—" Gobeithiaf y maddeuwch i mi am ddywedyd nad ydyw Duw yn cael ei gydnabod ddigon genym. Yr ydym yn edrych yn ormodol at ddynion a phethau gweledig; y mae hyn wedi attal ein llwyddiant yn ddirfawr. Ond yr wyf yn hyderu y bydd i Dduw ein dwyn oll i'w gydnabod ef ymhob peth." Ar ol cymeriad Bristol yn yr un flwyddyn, ysgrifenodd at gadeirydd y Tŷ Cyffredin, am y' gwroniaid a fuont yn offerynol i hyny, "eu bod yn dymuno cael eu hanghofio fel y byddo Duw yn cael ei fendigo. Eu llawenydd hwy yw eu bod yn offerynau gogoniant Duw a lles eu gwlad." Ac ar ol gwasgaru y Senedd Hir, ei iaith wrth ei gynghoriaid swyddogol yw, "Pan aethum yno, nid oeddwn yn meddwl gwneuthur hyn. Ond gan fy mod yn teimlo Ysbryd Duw mor nerthol arnaf, nid ymgynghorais â chig a gwaed." Eithr ni waeth i ni ymattal bellach, canys ymattal raid i ni cyn hir.

Beth, gan hyny, oedd y dyn hwn? yr hwn a ddyrchafwyd, mewn alegori, o fod yn fugail ar fynyddoedd Bethlehem i eistedd yn nheyrngader Israel? Y mae tri atebiad wedi eu rhoddi i hyn. Y rhan fwyaf o'r hen haneswyr a haerant mai rhagrithiwr dihafal ydoedd, ac nad oedd ei holl grefydd ond "cochl o rawn i dwyllo:" dosbarth diweddarach a wadant uniondeb hyn,

gan ddywedyd fod y Cromwell a fu mor llwyddiannus i dwyllo eraill, yn rhwym o fod yn twyllo ei hun—fod twyllo eraill yn berffaith yn annichonadwy i ragrithiwr: a'r dosbarth diweddaraf, yn yr hwn y mae Carlyle a Macaulay, a thorf annifeiriol, a faentumiant ei fod yn un o'r dynion mwyaf difrifol a chydwybodol a anadlodd erioed; a thra yr oedd rhagrith yn beth nad adwaenai ar y naill law, fod penboethni yn beth mor ddyeithr iddo, ar y llaw arall. Y golygiad blaenaf a ddelid yn benaf gan ei elynion proffesedig ar ol adferiad y goron i Charles yr Ail: yr ail a gryfhäodd fel yr oedd dynion yn ymryddhâu oddiwrth hen ragfarnau: a'r trydydd a osodwyd ar sail sicr drwy gyhoeddiad ei areithiau a'i lythyrau gan Carlyle. Uniawn y barnodd yr awdwr galluog hwn fod crefydd Cromwell yn allwedd i'w gymeriad, a bod crefydd y Puritaniaid yn beth nas deallir ond yn ngoleuni yr oesoedd hyny eu hunain. Anrhydedd nid bychan i Carlyle ydyw ei fod wedi gallu treiddio i ysbryd yr amseroedd hyny, ac wedi dwyn eu gwir nodwedd i oleuni nas dygwyd gan neb o'i flaen; ac nid rhyfedd fod beirniaid ei waith newydd ar Frederic Fawr, ar ol darllen ei gyfrolau ar Cromwell, ychydig yn afresymol yn eu dysgwyliadau wrtho. Yr oedd ganddo y fantais o fod yn Ysgotyn, ac o fyw yn Ysgotland—gwlad ag sydd, fel Cymru, heb lwyr golli ysbryd crefyddol llym y Puritaniaid—gwlad ag sydd, fel Cymru, yn credu mewn Hen Destament, a gorchymynion pendant. Yn hyn y mae Guizot yn methu deall Cromwell: nid oes ganddo syniad yn y byd am ei zel grefyddol, a'i ddirodresrwydd, ond yn unig fel "*stroke of policy:*" addefa fod dirodresrwydd mawr ynddo, ond haera nad oedd hyn oll ond rhagrith: "No great man ever carried the hypocrisy of modesty so far as Cromwell, or so easily subordinated his vanity to his ambition:" ond pa fodd y gallai Ffrancwr iawn ddirnad y dyn hwn pan nad yw y Saeson ond newydd gael goleuni arno? os ydynt, yn wir, yn ei ddeall er yr holl ysgrifenu sydd arno. Nid ychydig oedd ein syndod wrth ddarllen y frawddeg ganlynol yn un o gyfrolau newyddion Mr. Forster, yr hwn sydd wedi newid ei farn yn fawr am Cromwell er pan gyhoeddwyd gwaith Carlyle, er ei fod o'r blaen yn dra phleidiol iddo,—"Yn ei gredo crefyddol, dywedir ei fod (ond ar awdurdod ag sydd ammheus genym) yn dal yr athrawiaeth beryglus, mai anmhosibl oedd iddo, os unwaith mewn cyflwr o ras, gwympo o hono; ac o bryd i bryd, os oedd hyn felly, y mae yn rhaid ei fod, yn ddiarwybod iddo, wedi llacâu hyd yn nôd rwymau crefydd ei hun."* Swm a sylwedd hyn oll yw, fod yr athrawiaeth o barhâd mewn gras yn arwain i benrhyddid a phechod! Buasem yn dysgwyl i'r gŵr yma, ar ol ysgrifenu fel y gwnaeth ar y "*Grand Remonstrance,*" a dangos fel yr oedd crefydd yn brif elfen yn ysgogiadau ei bleidwyr, ddeall cymaint am y Puritaniaid, ac am Galfiniaid yn gyffredin, ag i allu dyfod i benderfyniad gwahanol. Fod Cromwell yn credu yr athrawiaeth yna sydd ddiammheuol, ac y mae yr un mor ddiammheuol nad yw penrhyddid mewn un modd yn ganlyniad anghenrheidiol o hyny.

Yr un peth a ddylai cymeriad fod, a'r un elfenau a ddylent ei gyfansoddi, yn ngolwg dynion, ag yn ngolwg y nefoedd: dylem gymeryd i ystyriaeth gyfansoddiad naturiol, amgylchiadau, a dybenion dyn. Yr ydym eisoes wedi gweled mai dyben proffesedig Cromwell oedd gogoneddu Duw trwy fod yn amddiffyn i'w wlad; ac nid oes gan neb hawl i ammheu hyn, oni chaffo

* *Forster's Essays*, cyf. I., 306.

allan ei fod yn ymwybodol anghyson â'r broffes uchod. Mewn perthynas i'w gyfansoddiad naturiol, yr oedd yn rhy benderfynol i ddim ond i amserau anghyffredin; a phe dygwyddasai fod yn ŵr o gymeriad moesol Napoleon, buasai y penderfyniad hwnw wedi gwneuthur ei deyrnasiad yn ddychrynllyd i holl wledydd cred: er ei grefydd, yr oedd y gynneddf hon yn ei arwain weithiau ar gyfeiliorn, yn ol addefiadau ei gyfeillion goreu; ac at y bai hwn ynddo, ni feddyliem, y cyfeiriai ei weinidog Maidstone yn ei lythyr ar gymeriad Cromwell,—"Y cyfryw oedd ei brofedigaethau, fel y gwelid yn fynych fod yn bosibl i'r hwn sydd yn meddu digon o ras i lawer o ddynion, feddu rhy fach iddo ei hun; gan fod ei drysor mewn llestr pridd, a hwnw wedi ei lygru gan bechod gwreiddiol, fel natur pob dyn arall." Yn awr, erbyn y deuwn â phenderfynolrwydd naturiol, a chydwybodolrwydd crefyddol, Cromwell, i gyfarfod â'r amgylchiadau yn y rhai y gosodwyd ef, i raddau mawr heb ei ragwelediad ei hun, yr ydym yn tybied y gwelir y dyn yn ei oleuni priodol ei hun. Yr ydym eisoes wedi canfod fel yr oedd pob dyfais ddichonadwy yn cael ei defnyddio gan Charles a'i lys i ddifodi Puritaniaeth, ac fel y ceisient gyda hyny orthrymu y wlad drwy bob math o anghyfiawnder; fel yr oedd seneddau olynol yn cael eu gwasgar ganddo, am na chydsynient âg ef; fel yr oedd meddiannau a phersonau y dynion goreu mewn enbydrwydd parhâus; fel yr oedd y Brenin yn hòni y mynai ei fympwyon ei hun, tra yr oedd y Senedd yn hòni i'r gwrthwyneb; fel yr oedd y Brenin yn codi byddin gref i drechu y Senedd, ac i ddarostwng yr unig allu oedd yn edrych at iawnderau y wlad, a'r Senedd yn codi byddin i'w wrthwynebu; fel yr oedd byddin y Senedd yn colli hyd oni ddaeth Oliver Cromwell a'i "Ironsides" ymlaen; fel yr oedd Oliver a'i wŷr yn llwyddo nes ennyn cenfigen yn y rhai yr ymladdent drostynt; fel y gwnaed deddf i ysgar Oliver oddiwrth y fyddin; fel y methwyd ei hebgor, ac y gorfodwyd gwneuthur y dyn y gwnaed y ddeddf i'w erbyn, yn eithriad iddi, am nad oedd neb a allai lanw ei le; fel yr ufuddhäodd yntau, ac yr ennillodd ei wŷr yn fuan wed'yn frwydr Naseby, pryd y daeth y Brenin yn garcharor y Senedd; fel yr oedd y Tŷ Cyffredin yn y cyfwng hwn, ar ol yr holl frwydro llwyddiannus, yn gogwyddo at adferu y Brenin heb addewidion y byddai iddo ddiwygio; fel yr oedd y Tŷ hefyd yn ceisio lleihâu y fyddin, yr hon ni chydsyniai â hyny, er crefu o Cromwell; fel yr oedd yn amlwg fod llawer o'r aelodau yn dyfod yn fwy anwadal o ddydd bwy gilydd; fel yr oedd Cromwell, wrth ganfod hyn, yn ofni yn ddiau am ei ddiogelwch ei hun, ac yn ceisio gwneyd y Brenin yn gyfaill iddo, drwy addaw ei adferu ar ammodau tra theg; fel yr addawodd Charles, ac y torodd ei air càn gynted ag y deallodd fod pobl Llundain am ymladd o'i blaid; fel yr oedd Cromwell, ar ol darostwng y gwrthryfel yn Llundain, wedi profi nad oedd wiw gohebu â Charles, am ei fod yn rhagrithiwr diymddiried, a'i fod y foment hòno, tra yn ceisio gwneyd heddwch â'r Senedd, yn ceisio gan yr Ysgotiaid ddyfod i ymladd i'w herbyn; fel y maeddodd Cromwell a'i wŷr yr Ysgotiaid hyn; fel yr oedd y Senedd yn barhâus yn dangos ei hanwadalwch, a Cromwell, rhag bradychu o honynt yr achos, yn eu gwasgaru ond hanner cant; fel y profwyd y Brenin gan y rhai hyn, ac y dienyddiwyd ef; fel y cyhoeddwyd y wlad yn weriniaeth; fel y darostyngwyd Iwerddon ac Ysgotland gan Cromwell; fel y gorchfygwyd yr Ysgotiaid drachefn dan Charles yr Ail; fel y gwasgarwyd y Senedd drachefn am eu diffrwythder; fel y rhoddodd y Senedd nesaf eu swyddau i fyny, ac y gwnaethpwyd Cromwell yn Ar-

glwydd Amddiffynydd y deyrnas. A welwyd dyn erioed yn cael ei hyrddio ymlaen gan amgylchiadau mor anorfod? Ar y cyntaf nid yw ond cadben —yna yn filwriad—yna yn brif-lywydd y fyddin; ac nid oes neb a ddywed fod un dyn yn yr oes gyfan i lanw ei le. Efe a ddechreuodd, fel gwas y Senedd, ymladd brwydrau rhyddid ei wlad; ond yn ei olwg ef yr oedd yr achos yn achos Duw; a chan hyny, pan welodd fod ei feistri cyntaf yn troi yn fradwyr, y mae efe yn troi yn was i'r achos yn annibynol arnynt hwy. Nid ydym sicr nad allasai y Senedd, gyda doethineb cymedrol, wneuthur dyn o Charles wedi'r cyfan; ond y foment y ciliodd synwyr o'u mysg hwy, nid oedd gan Cromwell, os oedd am ymateb cydwybod i'w Dduw a'i wlad, ond ymddwyn fel y gwnaeth. Yr oedd ef, mewn un ystyr, yn fwy na'r amgylchiadau; ond yr oedd ei fawredd ef wedi gwneuthur yr amgylchiadau erbyn hyn mor aruthrol fawr, fel yr oedd ei nerth ef yn wendid perffaith o'u blaen. Y mae llawer o wir yn yr hyn a ddywedodd Southey am dano, "Yr oedd hunan-amddiffyniad yn ei orfodi i ddilyn trefn lem ac ammheüs o lywodraethu: gorfodwyd ef o'r diwedd i lywodraethu heb Senedd, am eu bod, er ei holl drafferth ef gyda hwynt, yn hollol aflywodraethus." Efe a anturiodd i le ofnadwy heb yn wybod iddo ei hun megys—rhwng brenin annoeth a deiliaid gorthrymedig, ac yr oedd ei gydwybodolrwydd yn y gwaith, a'i ymwybodolrwydd ei fod yn cyflawni gwaith y Nefoedd, y fath fel nad oedd dim yn ormod ganddo i'w wneuthur er mwyn ei wlad. Ond yn anffodus—a chraffed y rhai sydd byth a hefyd yn canmawl gwerinlywodraeth ar hyn—anniogel iawn yw pwyso ar "y bobl;" mynych y talant yn chwithig i'w cefnogwyr a'u hamddiffynwyr goreu; ac yr oedd felly yn achos Cromwell; y rhai a godent lef gyda Cromwell heddyw, a floeddient gyda Charles yfory; ac yr oedd ei yrfa gyhoeddus, gan hyny, yn rhyfel parhâus —gyda gelynion ar y naill law, a chydag ystrywiau cyfeillion twyllodrus ar y llaw arall, a diau mai nid i ffyddlondeb cyfeillion y mae diolch am farw o hono â'i ben ar ei ysgwyddau.

Eithr cyn gadael o honom ein harwr, gweddus yw dywedyd gair neu ddau ar dair gweithred a briodolir iddo, ac a ddygir ymlaen fel profion o'i fod yn rhagrithiwr uchelgeisiol. Y gweithredoedd hyn ydynt ei ysgelerwaith yn Iwerddon; ei gysylltiad â dienyddiad Charles; a'i ymddygiadau at ei Seneddau. Dadleuir, "Pa fodd y cysonir ei honiadau crefyddol gyda'i waith yn cigyddio y Gwyddelod tlodion, ac yn cydsynio i ddienyddio ei frenin? A pha fodd y gellir sefyll dros ei gywirdeb pan welwn ef yn dieneidio Charles am lywodraethu yn ol ei fympwyon ei hun, ac yntau ei hun, ar ol dyfod yn frenin o ran gallu, er nad mewn enw (er ceisio hyny), yn ymddwyn at ei Seneddau yn yr un dull ag yr ymddygasai Charles? Os drwg y pethau hyn yn Charles, ai rhinweddol hwynt yn Oliver?" Y mae y cyhuddiadau hyn yn bwysig, ac ofer—ofer hollol—ydyw ceisio cyfiawnhâd Cromwell ond yn amgylchiadau y gweithredoedd ofnadwy. Eithr cyn cynnyg atebion iddynt, craffer ar y ffaith ganlynol, yr hon yr ydym dan orfod ei hail grybwyll (yn y dyddiau hyn o gymdeithasau heddwch, llywodraethu drwy egwyddorion yn lle gorchymynion, a chyffelyb bethau), fod Cromwell, fel yr holl Buritaniaid, yn synio yn uchel am wladwriaeth Israel, ac yn meddwl fod yr hen farnwyr a'r hen freninoedd, a ystyrir gan ein doethion ni yn blantos, yn deilwng o gael eu hefelychu; ac felly y mae drwy ei holl yrfa yn symud ymlaen gan waeddi "Cleddyf yr Arglwydd a Gideon: cleddyf yr Arglwydd a Gideon!"

Ei waith yn yr Iwerddon sydd alanasdra na cheir ei fath braidd mewn hanes—y miloedd truenus yn cael eu hyrddio gan y cleddyf i dragywyddoldeb. Ond pan gofiwn na wnaed hyn heb gynnyg iddynt ammodau heddwch: pan gofiwn am y miloedd Protestaniaid oedd wedi cael eu llofruddio yn y modd mwyaf barbaraidd ganddynt, a'u bod yn gwneuthur hyn yn ol gofynion eu crefydd, nid ydym yn synu cymaint at y driniaeth a gawsant. Diau y dylasai efe ffrwyno ei deimladau crefyddol, a chofio fod Un wedi dweyd, "Myfi bïa dial." Ond dyn oedd efe; ac er meddu o hono, fel y sylwodd yr hen Maidstone, ddigon o ras i lawer o ddynion, eto nid digon iddo ei hun yn yr amgylchiad yma. Efe a wnaeth ryfel arwynt, medd un o'i edmygwyr hyawdlaf, "fel y gwnai yr Hebrëaid ar y Canaanëaid. Yr oedd Drogheda yn ei olwg fel Jericho, a Wexford fel Ai. I weddill yr hen boblogaeth, efe a wnaeth heddwch cyffelyb i'r un a wnaeth yr Israeliaid â'r Gibeoniaid: efe a'u gwnaeth yn 'gymynwyr coed a gwehynwyr dwfr.'"* Ac yn ei driniaeth o honynt efe a lwyddodd, canys y mae hyd yn nôd Clarendon ei hun yn gorfod cydnabod i'r Iwerddon ffynu yn ddirfawr dan ei lywodraeth, ac y mae haneswyr diweddarach yn un yn eu syniad mai yr adeg hon oedd oes euraidd yr Ynys Werdd. Ac felly, er mor ysgeler y gweithredoedd hyn ynddynt eu hunain, y mae yr amcan oedd mewn golwg, a'r llwyddiant a'u canlynodd, yn eu cyfiawnhâu. Llai nag a wnaeth Cromwell yno a fuasai aneffeithiol; mwy nag a wnaeth a fuasai yn ddinystr i'r wlad.

Dienyddiad y Brenin oedd weithred ysgeler; ond yma eto y mae y credo yn arwain i'r gweithredoedd; a chan fod y dynion a ryddhasant y wlad o gadwynau gorthrymder yn credu mai eu dyledswydd oedd symud o'r ffordd frenin anfeddyginiaethol, hyny a wnaethant. Credwn y gallasai swyddogion y fyddin attal hyn, pe mynasent, ac nad oes modd rhyddhâu Cromwell o fod yn gyfranog yn y peth. Eithr pa fodd y dylid edrych ar y ffaith yma? Y credo yw, fod bywyd y teyrnfradwr i gael ei gymeryd ymaith, bydded ef gardotyn neu dywysog. Mae yn wir nas gall y brenin, yn ol y cyfansoddiad Prydeinig, "wneuthur camwri;" ond cofier fod hyn yn golygu fod y brenin yn llywodraethu yn unol â'r deddfau. Y foment y daeth Charles yn euog o dori y deddfau, ac o lywodraethu yn groes iddynt, wele Charles y brenin yn dyfod yn Charles y dyn, ac y mae ei hawl i lywodraethu yn darfod; ac os oedd hawl ganddo ef i dynghedu eraill i angeu am deyrnfradwriaeth, yr oedd gan y Senedd hawl i'w dynghedu ef i'r un ffawd am ei deyrnfradwriaeth yntau. Neu, pe euog fuasai y Brenin o lofruddiaeth echryslawn, a fuasai deddfau y wlad yn ddirym i'w gospi? Credwn nad etyb neb yn nacäol; ac eto, os ceir y brenin yn euog o deyrnfradwriaeth, ceir llawer yn haeru na ddylid ei gosbi gyda'r un deddfau ag y cosbasai ef eraill. Wel, yr oedd Charles, yn ol barn y Senedd, wedi gwneuthur y gweithredoedd hyny ag oeddynt yn haeddu angeu, a'r gweithredoedd ag yr oedd eu cyflawniad wedi dwyn eraill i angeu, yn ol ei orchymyn ef a'r deddfau; ac am y gweithredoedd hyn yr ydys yn ei gosbi. Eithr ped arbedasai y Senedd ef er hyn oll, ai diogel fuasai hyny i'r wlad a'r llywodraeth? Cydwelwn yn hollol â Mr. Hallam† "fod sefyllfa breninoedd, mewn ystyr foesol, mor brofedigaethus, fel y dylai y rhai hyny ag sydd yn lleiaf tueddol i edmygaeth gwasaidd, fod ar eu gwyliadwriaeth rhag y bai cyfer-

* *Macaulay's Essays*, 419. † *Constitutional History of England*, cyf. II., 311.

byniol o lymder angharedig;" ond nis gallwn weled cywirdeb ei sylw nesaf "nad oes dull tecach o farnu gwir werth brenin, nag edrych arno fel deiliad, a barnu, càn belled ag y gellir oddiwrth hanes ei fywyd, beth a fuasai yn y sefyllfa hòno." Nid yw hyn, dybygem ni, amgen gwadiad o gysylltiad sefyllfa dyn â moesoldeb ei weithredoedd. Yn sicr, y mae y brenin a dreisia hawliau ei ddeiliaid, ac a ddywed anwiredd wrth ei Senedd, yn waeth na'r deiliad a dreisia hawliau ei gymydog, ac a ddywed anwiredd wrth ei gyd-drefwyr. Os rhoddir barn ar Charles, fel Charles y brenin y rhaid ei rhoddi; ac er y cyttunwn yn gwbl â'r hanesydd nad yw Charles fodd yn y byd yn un o'r rhai mwyaf ofnadwy o orthrymwyr daear, eto ni ddylai hyny ein gorfodi i'w wneuthur yn ferthyr ac yn sant. Credwn fod Macaulay* wedi darlunio cymeriad y Brenin hwn hyd berffeithrwydd, ac mai y ffaith a brofir gan y nifer fwyaf o'i weithredoedd cyhoeddus ydyw, ei fod yn "rhagrithiwr oddiar egwyddor," ac na fu erioed un llywodraethwr ag y dygwyd cynifer o'i gelwyddau a'i dwylliadau i'w wyneb drachefn. Ac yn wyneb y pethau hyn, yr oedd hyd yn nôd Clarendon yn gorfod dywedyd, ar ol brwydr Naseby, pan gafwyd gafael yn mhapyrau cyfrinachol y Brenin,—"Ah, Mr. Ysgrifenydd, y mae y cyfrwysderau hyn wedi fy ngwneyd yn fwy anghysurus na'r holl anffodion rhyfel ag sydd wedi dyfod ar y Brenin, ac y maent yn ymddangos fel effeithiau digofaint Duw tuag atom." Ac eto, ar ol y cyfan, y mae Cromwell yn cynnyg ei law iddo, ac yn addaw ei adferu; a Charles, ar ol cymeryd y llaw hòno, yn troi yn fradwr drachefn. Wel, dyna'r dyn, a dyna'r amgylchiadau; ac er fod y gosb a gafodd yn un lem, eto, ac ystyried nodweddion yr amseroedd, nid oedd ond yn cyfateb i ddysgwyliadau.

Peth arall a ddygir yn gyffredin yn erbyn Cromwell ydyw ei ymddygiadau at ei Senedd ar wahanol amserau. Yr oedd Charles wedi diddymu wrth ei ewyllys ei Seneddau ef, ac yr ydys yn ei feïo; y mae Cromwell, i'r olwg allanol, yn gwneuthur yr un peth, ac eto canmolir ef. Pa fodd y mae y pethau hyn yn gyson? Wel, fel hyn. Yr oedd Charles yn diddymu ac yn gwasgaru ei Senedd am na wnaent yr hyn a fynai efe; yr oedd Cromwell yn gwasgaru ac yn diddymu ei Senedd, am na wnaent yr hyn a addawent ei wneuthur. Yn yr olwg yma y mae pethau yn ymddangos yn dra gwahanol. Yr oedd y *Rump Parliament* wedi dyfod o'r diwedd yn ddim ond enw gwag, tra yr oedd anghenion y deyrnas, ar ol cymaint o ryfel yn galw am ddynion gweithgar. Yr oedd yr ychydig ddynion hyn yn ymfalchïo yn eu tipyn gallu ac awdurdod; ac yn llawn o'r hunanfoddineb hwnw, prin y gwnaent ddim; ac wele Cromwell yn gydwybodol yn eu gyru allan, fel y gallai dynion mwy teilwng gymeryd eu lle. Y mae ei ymddygiadau olynol yn profi yr un peth, canys tra yr oedd efe yn llosgi gan weithgarwch, yr oedd yn dân ar ei gnawd weled dynion yn segura pan yr oedd cymaint o waith yn dysgwyl wrthynt. O ganlyniad, wrth sylwi ar y gweithredoedd llymion hyn o eiddo Cromwell yn eu cysylltiadau gyda'r amseroedd hyny, yr ydym yn methu gweled dim ynddynt i'w beïo.

Eithr, meddir ymhellach, oni cheisiodd Cromwell fyned yn frenin, tra yr haerai yn rhagrithiol y buasai yn well ganddo fod yn fugail defaid nag yn y swydd bwysig yr oedd ynddi? Gwir iddo ddangos rhyw duedd i hyny. Ond onid oedd y wlad yn dangos yr un tuedd? Nid oedd gwlad oedd wedi arfer cael ei llywodraethu gan frenin, yn deall llywodraeth heb

* *Hist. of England*, cyf. I., 126.

ben arni; gan hyny ceisient frenin yn barhâus. Ac yn wir, fel y sylwa Milton, yr oedd y wlad yn ei gydnabod ef fel ei brenin, er nad ydoedd felly mewn enw. Ac, fel y sylwa Cromwell ei hun am y Senedd, yr oedd y rhai hwn yn barhâus yn achosi rhyw anghysur a chynhwrf, ac anghenrhaid oedd attal eu haflonyddwch trwy benodi rhyw un pen. Ond tra yr oedd ei gynghoriaid doethaf yn cydweled âg ef yn hyn, yr oeddynt yn methu cydweled ynghylch y moddion. Soniai rhai mai y peth goreu fyddai gosod y Tywysog Charles ar yr orsedd; ond yr oedd peryglon lïaws mewn cysylltiad â hyn. Tybiai eraill am osod Cromwell ar yr orsedd, ond yr oedd y fyddin yn wrthwyneb i hyn. Ac eto, yr oedd pawb yn gorfod cyfaddef fod Cromwell mewn gwirionedd yn frenin arnynt, er nad oedd yn ffurfiol felly; a thra yr oedd eraill yn ymddangos fel yn cydweithredu âg ef tra y bu byw, ac mewn canlyniad yn cyfranogi o'i barch cyfiawn ef, eto nid cynt y bu y dyn mawr hwn farw nag y gwelwyd mai efe oedd enaid y llywodraeth, ac mai hebddo ef rhaid oedd i'r holl waith a wnaethai ddyrysu. Nid ydym, gan hyny, yn gallu edrych ar ei ymestyniad at fod yn frenin yn effaith balchder, ond yn unig yn effaith y grediniaeth mai dyna yr unig beth a fuasai yn cyfarfod âg anghenion y wlad.

Ond efe a fu farw. "He being compelled," meddai ei weinidog Maidstone, "to wrestle with the difficulties of his place, so well as he could without parliamentary assistance, in it met with so great a burden as (I doubt not to say) it drank up his spirits, of which his natural constitution yielded a vast stock, and brought him to his grave; his interment being the seed-time of his glory, and England's calamity." Ac ebe yr un gŵr ymhellach, "Nis gallem ni fod yn fwy awyddus iddo ef aros gyda ni nag yr oedd ef am ymadael." Wrth farw, yr oedd ei enaid yn gorphwys yn dawel ar y Graig a'i daliodd yn stormydd ei fywyd. Y cyfammodau oeddynt ei hoff bynciau. "Yr oeddynt yn ddau (meddai), ond fe'u gwnaed yn un cyn seiliad y byd." "Y mae yn wir ac yn sanctaidd. Pwy a'i gwnaeth yn sanctaidd ac yn wir? Cyfryngwr y cyfammod." Ac eto, "Nid yw y cyfammod ond un. Ffydd yn y cyfammod yw fy unig gymhorth. Ac os nad wyf fi yn credu, y mae Ef yn aros yn ffyddlawn." "Arglwydd, ti a wyddost, os wyf yn dymuno byw, fy mod yn dymuno hyny er mwyn dy ogoniant di." "Yr wyf yn goncwerwr, a mwy na choncwerwr, drwy Iesu Grist, yr hwn sydd yn fy nghynnorthwyo." Ei fendith olaf ef i'w blant oedd, "Y cyfammod i ymborthi arno." Ac wrth edrych arno yn awr, priodol y dywedai un, "Dyma frwydr bywyd wedi ei hennill yn anrhydeddus. 'Gwynfydedig yw y meirw sydd yn marw yn yr Arglwydd.'" Claddwyd ef gydag urddas mawr; ond buan y daeth yr orsedd i Charles yr II.; ac er gwarth tragywyddol i'r brenin hwn a'i gynghoriaid y coffhëir am y weithred annynol o'i adgyfodi. Ac er fod haneswyr wedi gosod yr un anfri ar ei gymeriad, ag a osodwyd gan ei elynion ar ei esgyrn, eto y mae pelydron goleuni gwirionedd wedi tori ar ei enw, a chyflawniad yn cymeryd lle o'i brophwydoliaeth ei hun,—"Mi a wn fod Duw wedi bod uwchlaw pob camgyhuddiadau, ac y bydd iddo yn ei amser da ei hun fy amddiffyn."

# LLYFRGELLOEDD.

Arferir y gair llyfrgell, yn y cyffredin, naill ai am y fan neu yr ystafell lle byddo casgliad o lyfrau yn cael eu cadw at wasanaeth rhyw berson unigol, cymdeithas, neu y cyhoedd; neu ynte at y llyfrau eu hunain yn y cyfryw ystafelloedd. Ac yn yr ystyr olaf, yn benaf, y cymerir y gair yn y cysylltiad hwn.

Mae dau fath o lyfrgelloedd, sef rhai neillduol a chyhoeddus. Llyfrgell neillduol, neu ddirgelaidd, yw y cyfryw ag a fyddo yn feddiant personol rhyw berson neu deulu. A llyfrgell gyhoeddus yw y cyfryw ag a fyddo yn perthyn i ryw gymdeithas, tref, neu deyrnas. Mae llawer o lyfrgelloedd dirgelaidd tra ëang a gwerthfawr i'w cael; ond y maent yn y cyffredin yn llai, a mwy unrhywiog o ran eu cynnwysiad, na llyfrgelloedd cyhoeddus. Mae hyny yn naturiol, canys y mae pob person unigol yn debyg o bwrcasu y llyfrau hyny ag a fyddo yn dal cysylltiad â'i alwedigaeth, neu yn gydfynedol â'i chwaeth, ef ei hun.

Ond y prif lyfrgelloedd yw y rhai cyhoeddus. Am y dosbarth hwn o lyfrgelloedd y mae yn cynnwys amrywiaeth mawr. Mae rhai o honynt yn y prifddinasoedd yn perthyn yn neillduol i ryw un alwedigaeth, megys y gyfraith, meddygiaeth, &c.; a'r lleill yn fwy ëang eu cylch, gan gymeryd i mewn lyfrau ar bob gwybodaeth ddynol yn eu gwahanol ranau. Mae y llyfrau sydd yn gwneyd i fyny y prif lyfrgelloedd cyhoeddus, wedi eu casglu iddynt mewn gwahanol ffyrdd. Un drefn yw y ffordd gyffredin trwy *bwrcasiad*, a thalu eu llawn werth am danynt. Trefn arall, trwy yr hon y mae cyfoeth mawr o'r gweithiau sydd ynddynt wedi dyfod ynghyd, yw *gorfodaeth y gyfraith.* Mae y gyfraith hon ag sydd yn gorfodi y rhai sydd yn cyhoeddi llyfrau i roddi *copi* neu *gopïau* o honynt (fel y byddo llythyren y gyfraith yn gofyn) i ryw rifedi penodol o brif lyfrgelloedd cyhoeddus, a hyny yn *rhad*, yn hen a thra chyffredinol yn y gwahanol deyrnasoedd. Ac mewn cysylltiad â senwriaeth *(censorship)* y wasg, y mae y gyfraith hon braidd bob amser yn bodoli. Yn Ffrainc, nid oes gan un lyfrgell ond y Llyfrgell Ymherodrol hawl i gopi o bob llyfr a gyhoeddir yn yr Ymherodraeth. Yn Belgium a'r Iseldiroedd, nid oes gorfodaeth ar y cyhoeddwyr i roddi copi o'r holl weithiau cyhoeddedig ganddynt mewn un llyfrgell, ond yn unig pan y dewisont sicrhâu ysgrif-hawl *(copyright)* o honynt. Yn Sardinia, y mae gan lyfrgell Prifysgol Turin hawl i gopi o bob llyfr a argreffir o fewn y deyrnas. Yn Tuscany, y mae gan bob llyfrgell gyhoeddus hawl i gopi o bob llyfr a gyhoeddir yn y dalaeth lle y byddo. Yn ol cyfraith Sicily, y mae hawl gan lyfrgell Prifysgol Palermo i gopi o bob llyfr a gyhoeddir yn y ddinas hono. Yn Rhufain, gorchymynir i'r argraffwyr anfon pum' copi o bob gwaith a gyhoeddir i Lywydd y Palas Sanctaidd, yr hwn sydd i gadw un yn ei swyddfa ei hun, rhoddi un arall i'r Ficer Cyffredinol, un i Lyfrgell y Vatican, ac un naill ai i lyfrgell y Gymnasium neu y "Sapienza," a'r copi arall sydd i'w ddychwelyd i'r awdwr. Yn ol cyfraith yr Hispaen, y mae gan y Llyfrgell Genedlaethol yn Madrid hawl i gopi o bob llyfr a gyhoeddir trwy y deyrnas, a'r llyfrgelloedd tal-

eithiol hwythau hawl i un copi o bob llyfr a gyhoeddir yn y dalaeth lle y byddont. Yn Portugal, y mae gan y Llyfrgell Genedlaethol yn Lisbon, a Llyfrgell y Dref yn Oporto, hawl i gopi o bob llyfr a gyhoeddir yn yr holl deyrnas. Os tröir i'r Almaen, y mae cyffelyb gyfreithiau mewn grym braidd ymhob man yno, ond bod ychydig wahaniaeth yn eu gweinyddiad yn y naill fan rhagor y llall. Mae gan y Llyfrgell Freninol yn Munich hawl i ddau gopi o bob llyfr a gyhoeddir yn Bavaria. Yn Prwssia, y mae gan y Llyfrgell Freninol yn Berlin hawl i un copi o bob gwaith a gyhoeddir yn yr holl deyrnas, a'r Prifysgolion hwythau ydynt yn meddu hawl i un copi o bob llyfr a gyhoeddir yn y taleithiau lle y byddont. Yn Rwssia, y mae gan y Llyfrgell Ymherodrol yn St. Petersburgh hawl i ddau gopi o bob llyfr a gyhoeddir trwy yr Ymherodraeth. Yn Unol Daleithiau America, yn ol y gyfraith a basiwyd Mai 31, 1790, y mae i lyfrgell talaeth y llywodraeth yn Washington hawl i gopi o bob llyfr y sicrhëir hawlysgrif o hono, trwy yr holl daleithiau. Yn Lloegr, mor gynnar â'r flwyddyn 1609, fe aeth Syr Thomas Bodley i gyttundeb â Chymdeithas y Llyfrgelloedd ar fod iddynt anfon copi o bob llyfr a gyhoeddent i'r Llyfrgell Fodleïaidd; ac ymddengys hefyd i'r cyttundeb hwn barhâu mewn grym hyd yr amser y torodd y Rhyfel Cartrefol allan. Ond yn amser Siarls II. y pasiwyd deddf Seneddol am y waith gyntaf yn y deyrnas hon yn gorfodi cyhoeddwyr i roddi copïau o'r llyfrau a gyhoeddent i ryw lyfrgelloedd penodol. Yn ol y gyfraith uchod, yr hon a elwid Deddf Ymbleidiad *(Sedition Act, Charles* II., *c.* 33*)*, yr oedd *tri* chopi o bob gwaith a gyhoeddid yn y deyrnas i gael eu rhoddi i fyny yn Neuadd y Llyfrwerthwyr *(Stationers' Hall)*; ac un o honynt oedd i gael ei anfon i Lyfrgell y Brenin, a'r ddau arall—un i Rydychain, a'r llall i Gaergrawnt. Ond yn ol gweithred yr Hawlysgrif *(Copyright Act)*, yn amser y Frenines Anne, fe gyfodwyd y rhif i *naw;* ac wedi hyny yn amser Sior III., cyfodwyd y rhif i *un ar ddeg*, a pharhäodd y gyfraith uchod mewn grym hyd y flwyddyn 1835. Yr oedd yr un copi ar ddeg uchod o bob llyfr a gyhoeddid yn y deyrnas hon, yn cael eu rhanu rhwng y llyfrgelloedd a ganlyn:—1. Y Llyfrgell Freninol *(yr Amgueddfa Frytanaidd)*. 2. Llyfrgell y Brifysgol yn Nghaergrawnt. 3. Y Llyfrgell Fodleïaidd yn Rhydychain. 4. Llyfrgell Prifysgol Edinburgh. 5. Llyfrgell Prifysgol Glasgow. 6. Llyfrgell Coleg y Brenin, Aberdeen. 7. Llyfrgell Prifysgol St. Andrews. 8. Llyfrgell Coleg Zïon, Llundain. 9. Llyfrgell y Cyfreithwyr, Edinburgh. 10. Llyfrgell Coleg y Drindod, Dublin. 11. Llyfrgell y *King's Inns*, Dublin. Ond yn ol 5 a'r 6 William IV., *c.* 110, y mae y rhagorfraint uchod wedi ei dileu yn ei pherthynas â chwech o'r llyfrgelloedd a enwyd uchod, a'r swm blynyddol o £3028 yn cael ei dalu iddynt o gyllid y deyrnas yn lle hyny; yr hyn sydd yn cael ei ranu rhyngddynt fel y canlyn,—Prifysgol Edinburgh, £575; Prifysgol Glasgow, £707; Prifysgol St. Andrews, £630; Coleg y Brenin, Aberdeen, £320; Coleg Zïon, Llundain, £363; a *King's Inns*, Dublin, £433. Gwnaed y rhaniad uchod yn ol cyfartaledd gwerth y llyfrau ag oedd pob llyfrgell yn ei dderbyn yn flynyddol, a chymeryd canolbris eu gwerth am y saith mlynedd diweddaf, cyn i'r ddeddf newydd ddyfod i rym. Wrth y rhaniad uchod y mae yn hawdd canfod, er fod yr un hawl gyfreithiol gan yr holl lyfrgelloedd a nodwyd i gopi o'r holl lyfrau a gyhoeddid yn y deyrnas, eto fod rhai o honynt yn llawer mwy gofalus i fynu eu hawl nag eraill; canys dyna ran Glasgow o'r arian yn fwy na chymaint arall yr hyn

yw rhan Aberdeen. Yn ol y gyfraith fel y mae yn sefyll yn bresennol, y mae yn rhaid anfon copi o bob llyfr a fyddo yn ddyledus i Lyfrgell yr Amgueddfa Freninol yn annibynol ar un cais am danynt, neu fod yn agored i gosb y gyfraith; ond am y pedwar copi arall, nid ydynt yn ddyledus hyd nes y gwneir cais mewn ysgrifen am danynt, a hyny o fewn deuddeng mis ar ol yr amser eu cyhoeddwyd. (54 Geo. III., *c.* 156.)

Ond am y ffordd orfodol hon o fynu llyfrau oddiar gyhoeddwyr i ryw brif lyfrgelloedd, a hyny yn rhad, os bu ryw reswm yn yr hen amseroedd dros hyny, y mae goleuni yr amserau hyn yn dangos yn amlwg mai trais ac anghyfiawnder yw y gyfraith o ran ei hegwyddor. Ac ymddengys hefyd nad oes ond y Llyfrgell Freninol, neu Lyfrgell yr Amgueddfa Frytanaidd yn Llundain, yn cario y gyfraith allan yn llawn; ac nid oes ond ychydig flynyddau yn unig er pan y mae hono yn gwneuthur. Yn 1854, yr oedd rhif yr holl lyfrau, y traethodau, &c., a dderbyniwyd yn Llyfrgell yr Amgueddfa Frytanaidd, trwy rym y gyfraith uchod, yn bedair ar bymtheg o filoedd, pum cant a deunaw a thriugain; ond yr oedd yn rhaid i'w swyddogion arfer dyfalwch mawr, a llawer a lymder eu hawdurdod, cyn y gallasent lwyddo i gaffael cynifer.

Modd arall trwy yr hwn y mae llawer o lyfrau yn dyfod i'r prif lyfrgelloedd cyhoeddus, ydyw mewn ffordd o *roddion.* Er nad oes dim yn fwy sicr mai tra anhawdd gan y rhai sydd yn hoff o lyfrau, ac yn casglu llawer o honynt ynghyd, yw ymadael â hwynt, eto yr ydys yn canfod yn y llyfrgelloedd mawrion rifedi dirfawr o gyfrolau yn bur gyffredin, y rhai a fydd wedi dyfod iddynt naill ai fel rhoddion neu gymynroddion. O'r pum' cant a dwy a thriugain o filoedd o gyfrolau ag sydd yn awr yn Llyfrgell yr Amgueddfa Frytanaidd yn Llundain, y mae cynifer a dau cant ac ugain o filoedd o honynt wedi dyfod yno fel rhoddion neu gymynroddion. Ac fe fernir y buasai y rhifedi yn llawer mwy, pe buasai llai o gulni ac eithriad yn etholiad ymddiriedolwyr y sefydliad rhyw ddeugain mlynedd yn ol. Ymddengys nad oedd fawr obaith i neb arall ond rhyw bendefig neu uchel swyddog. Dywedir am Richard Gough, awdwr y llyfr a elwir yn Saesoneg, "*Sepulchral Monuments of Great Britain,*" a Francis Douce, awdwr y llyfr a elwir *Illustrations of Shakspeare,* mai uchelgais y ddau oedd cael bod yn y swydd o ymddiriedolwyr i'r Llyfrgell Freninol. Yr oedd y ddau wedi gwneyd llawer at ddyrchafu llênyddiaeth Seisonig, ac yr oedd y ddau yn feddiannol ar lyfrgelloedd tra gwerthfawr, neillduol gyfoethog mewn Parthddarluniaeth Frytanaidd a Hanesiaeth; ond nid oedd y naill na'r llall na phendefig nac uchel-swyddwr, ac mewn canlyniad, ni chyrhaeddasant eu dymuniad. O herwydd hyny, penodasant eu llyfrgelloedd i Brifysgol Rhydychain, trwy gymynrodd, ar ol eu dyddiau eu hunain, lle y maent yn nghadw mewn modd dyogel a theilwng. Ond y mae pethau yn awr wedi newid; nid yw y syniad swyddogol yn awr yn ofni fod yr ymddiriedolaeth yn cael ei darostwng trwy fod daearegwr enwog, neu hanesydd clodwiw, yn gyfranog o'r swyddogaeth. Ac felly yn bresennol y mae rhestr yr ymddiriedolwyr yn cael ei haddurno âg enwau Murchison, Hallam, a Macaulay, yn gystal ag âg enwau Duciaid a Changhellwyr. Er fod llyfrgelloedd personol neu ddirgelaidd yn dra gwerthfawr yn ngolwg eu perchenogion, eto peth dra chyffredin ydyw eu gweled yn cael eu chwalu oddiwrth eu gilydd mewn ffordd tra dienwaededig yn fynych ar ol dyddiau eu casglwyr. Mae llawer o chwidredd a damwain yn cyfarfod y cyfryw lyfrgelloedd yn

bur aml. Ond y mae dosbarth arall o lyfrau lled liosog, a phwysig iawn hefyd ar lawer cyfrif, y rhai ni ddylai na damwain na mympwy eu difuddio o wasanaeth y cyhoedd,—sef y cyfryw weithiau ag sydd yn cael eu cyhoeddi ar draul y cyhoedd, megys casgliadau o bapyrau *(documents)* cyhoeddus; defnyddiau hanesiol (megys y "*State Papers of the Reign of Henry* VIII.," a'r "*Monumenta Historica Britannica*"); hanes mordeithiau darganfyddiadol dan nawdd y llywodraeth; adroddiadau y naturiaethwyr, a swyddogion gwyddonol eraill, a fyddont mewn cysylltiad â'r fath anturiaethau, &c., &c.; y rhai hefyd sydd yn cael eu cyhoeddi ar draul y llywodraeth—rhai o honynt dan lywyddiaeth yr Ysgrifenydd Cartrefol, a rhai dan nawdd Bwrdd y Morlys, ac eraill dan nawdd Bwrdd y Cyflegrau. Adroddiadau a Phapyrau perthynol i ddau Dŷ y Senedd sydd hefyd yn perthyn yn agos i'r un dosbarth. Ond hyd yma, ymddengys nad oes fawr iawn o ddim fel rheol sefydlog ddealledig, sut y mae y cyhoeddiadau hyn i gael eu dosbarthu, eithr ambell lyfrgell yn cael ei breintio â chopi o honynt, a rhai eraill llawn mor deilwng o honynt yn methu eu cael.

Moddion arall trwy yr hwn y mae llyfrgelloedd cyhoeddus yn cael eu cyflenwi yw *cyfnewidiad rhyngwladwriaethol,* sef trwy fod un deyrnas yn gwneyd cyfnewid o'i llyfrau hi, am lyfrau rhyw deyrnas arall. Mae yn ymddangos mai nid peth newydd a diweddar yw hyn yn hollol, ond fod yn achlysurol gyfnewidiadau mawrion a phwysig o gynnyrchion llyfrol un wlad yn cael eu gwneuthur am gyffelyb gynnyrchion gwlad arall, yn yr hen amserau. Ond hyd yn ddiweddar, yn ddamweiniol, yn hytrach nag yn rheolaidd, yr oedd hyny yn cymeryd lle; ac ymddengys hefyd fod y deyrnas hon yn un o'r rhai mwyaf arafaidd yn y symudiad. Yn un o gofnodau y Gyllidfa am 1832, y mae "Canghellydd y Gyllidfa yn hysbysu y bwrdd fod golygiad am i drefn gael ei sefydlu, rhwng llywodraeth y deyrnas hon â llywodraeth Brenin y Ffrancod, trwy yr hon yr oedd llyfrgell yr Amgueddfa Frytanaidd i sicrhâu copi o'r holl lyfrau newyddion a gyhoeddid yn Ffrainc, o un tu; a'r *Biblotheque du Roi* yn Paris i gael copi o'r holl lyfrau a gyhoeddid yn y deyrnas hon, o'r tu arall." Eithr nid yw y peth wedi ei roddi i weithrediad yn llawn byth—ddim ymhellach na'r hyn sydd yn dal perthynas â thystebau cyhoeddus *(public documents)* y ddwy deyrnas. Ond er nad yw y cynllun uchod yn ei berthynas â Lloegr a Ffrainc wedi bod yn neillduol lwyddiannus, eto ymddengys fod y cyffelyb gynllun wedi ateb dybenion lled bwysig mewn gwledydd eraill. Yn 1853, y mae Mr. Vattemare, wrth anerch "Cymanfa o Lyfrgellwyr" ag oedd wedi cyfarfod yn New York, yn hysbysu am gant a deg ar hugain o lyfrgelloedd cyhoeddus, a sefydliadau eraill, ag oeddynt wedi derbyn ychwanegiadau mawrion atynt trwy y drefn hon; ac nad oedd llai nag un a thriugain o filoedd o lyfrau o bob math wedi eu dosbarthu trwy ei offerynoliaeth ef yn bersonol, yn ystod y pum' mlynedd blaenorol i hyny, yn yr Unol Daleithiau ac yn Ewrop. Ac ymddengys oddiwrth hysbysiadau diweddar, fod y cynllun hwn o gyfoethogi llyfrgelloedd cyhoeddus yn cael ei ddwyn ymlaen gyda bywiogrwydd mawr yn yr America.

Mae ôlion llyfrgelloedd o ryw fath i'w cael braidd ymhob man lle y byddo y trigolion wedi cyrhaedd rhyw radd o wareiddiaeth. Pan y goresgynwyd America Ddeheuol gan yr Yspaeniaid, yr oedd y trigolion yn arfer arwyddluniau ac arddangosiadau darluniadol o bethau, ond yr oedd llythyrenau yn hollol anadnabyddus iddynt. Yr oedd llyfrau wedi eu cyfansoddi

o ddail coed yn Yucatan a Honduras. Ac yr oedd gan frodorion teyrnas Mexico fel math o lyfrgell, hanesion a blwyddiaduron, lle yr oeddynt yn paentio lluniau gwrthddrychau gweledig; a'r pethau nas gellid eu darlunio felly a osodid allan ganddynt trwy wahanol nodau penodedig ac adnabyddus iddynt hwy eu hunain; ac felly yr oeddynt yn gallu gosod allan unrhyw beth a ddewisent. Gellir edrych ar hyn fel math o ysgrifen, a chasgliad o'r cyfryw ynghyd fel math o lyfrgell, yn ei dull mwyaf cyntefig. Ac am y llyfrgelloedd a ddarlunir fel yn perthyn i'r henafiaid, yr oeddynt oll yn gyfansoddedig o rôlau *(rolls)*; y rhai, er eu bod yn wahanol o ran eu dull i lyfrau gyda ni yn eu gwedd bresennol, eto oeddynt yn ateb cyffelyb ddyben; y rhai wedi eu casglu ynghyd oeddynt yn ffurfio neu yn gwneyd i fyny lyfrgell, hyd yn nôd yn ol ystyr diweddar y gair. Fe allai mai y ffurf henaf o'r gelfyddyd ysgrifol oedd crafu neu grifellu nodau ar faen, metel, pren, neu ryw ddefnydd parhâus arall; ac y mae yn debygol mai casgliad o'r cyfryw ddefnyddiau crifelledig, y rhai a gedwid yn y temlau, yw y ffurf fwyaf cyntefig a gwreiddiol o'r hyn a ellid ei ystyried yn llyfrgell, neu gofiaethfa.

## LLYFRGELLOEDD HENAFOL.

Dywedir mai *Osymandyas*, un o hen freninoedd yr Aipht, oedd y cyntaf a sefydlodd lyfrgell, ac iddo ei gosod hi i fyny mewn rhan o'r adeilad, yr hon a elwir weithiau ei balas, ac weithiau ei feddadail. Uwch ben y fynedfa i hon, yr oedd y geiriau ψυχης Ιατρειον (*meddygdy yr enaid*), yn ysgrifenedig; tra yr oedd y cerfiadwaith ar y mur yn arddangos barnwr, â delw gwirionedd yn crogi wrth ei wddf, a lliaws o lyfrau neu rôlau yn gorwedd o'i flaen ef. Y cyfryw ydyw yr hanes a rydd Diodorus Siculus,* yr hwn oedd wedi talu ymweliad â'r Aipht yn bersonol, a'r hwn nid yw ond crybwyll yn unig am yr adeilad, heb roddi un hysbysrwydd am ei chynnwysiad. Credir y gallai fod yn y llyfrgell hon weithiau o henafiaeth uchel; a bod y llyfrau hyny a ystyrid yn gysegredig gan yr Aiphtiaid yn cael eu cadw ynddi, y rhai a lwyr ddinystriwyd yn y difrod a ddaeth ar y wlad mewn cysylltiad â'r goresgyniad Persiaidd dan Cambyses. Mae Wilkinson† a Champollion‡ yn barnu mai yr un oedd yr adeilad y cyfeiria Diodorus ati, â'r beddadail adnabyddus, yr hwn yn y cyffredin a elwir y "*Memnonium,*" neu yn hytrach y "*Ramesium*"—ar ystlysbost drws un o neuaddau mewnol yr hwn y mae cerflun o *Thoth*, dyfeisydd llythyrenau, a'r dduwies *Saf*, ei gydymaith, i'w gweled eto, yn gwisgo yr enwau, "Arglwyddes Llênyddiaeth," a "Llywydd Neuadd y Llyfrau." Yn ol Eustathius, a hen ysgrifenwyr eraill, yr oedd llyfrgell ardderchog arall yn Memphis, yn nheml y Dduwies Phtha; o'r hon, yn ol rhai hen chwedlau hanesyddol, y cymerodd Homer yr *Iliad* a'r *Odyssey* ymaith, gan eu cyfeirio fel ei gyfansoddiadau ei hun. Ond y mae digon o brofion mai hollol ddisail yw y fath gyhuddiad yn erbyn y prif-fardd. Ond y llyfrgell fwyaf yn yr Aipht, ac fe allai yn yr holl fyd yn yr hen amseroedd, oedd yr hon a sylfaenwyd gan Ptolemy Soter, yn Alexandria, yr hon a gyfoethogwyd yn fawr wedi hyny gan freninoedd dilynol y wlad hono. Tua'r flwyddyn 290 C.C., fe sylfaenodd y Ptolemy hwn, yr hwn oedd yn dywysog dysgedig ei

* *Lib.* 1., *c.* 2. † *Manners and Customs of the Ancient Egyptians, Vol.* I., *pp.* 111—116. ‡ *Letter* 285, *as quoted by Kenrick, "Ancient Egypt," Vol.* I., *page* 155.

hun, athrofa yn Alexandria, yr hon a alwodd efe wrth yr enw amgueddfa (*museum*), lle yr ymgasglodd cymdeithas o ddynion dysgedig ynghyd, y rhai a ymroddent i efrydu athroniaeth a'r celfyddydau; ac at eu gwasanaeth hwy, fel yr ymddengys, y sefydlwyd y llyfrgell. Beth oedd rhif y cyfrolau ynddi ar hyn o bryd, nid yw yn ymddangos fod llawer o sicrwydd. Ptolemy Philadelphus, wedi hyny, a gasglodd ynghyd rifedi mawr o lyfrau yn nheml Serapis, yn ychwanegol at y rhai a gasglasai ei dad ynghyd, ac a'u gadawodd ar ei farwolaeth, yn ol tystiolaeth Eusebius, yn cynnwys tua chan' mil o gyfrolau. Yr oedd gan y brenin hwn swyddogion anfonedig ymhob rhan o Asia a Groeg, yn ymofyn am ac yn pwrcasu yr ysgrifeniadau mwyaf hynod, anghyffredin, a gwerthfawr; ymhlith y rhai, meddir, yr oedd copi o ysgrifeniadau Aristotle, y rhai a bwrcaswyd gan Neleus. Ptolemy Euergetes, dilynydd Ptolemy Philadelphus ar yr orsedd, a fabwysiadodd y cyffelyb fesurau ag yntau, mewn trefn i ychwanegu at Lyfrgell Alexandria, a hyny gyda phob dyfal ymroddiad. Dywedir iddo osod cyfraith mewn grym i gymeryd i fyny bob math o lyfrau a ddygid i'r wlad gan bersonau o wledydd eraill, mewn trefn i'w hanfon i'r llyfrgell, lle yr adysgrifenid hwy drosodd gyda'r gofal mwyaf, gan bersonau a gedwid at hyny o bwrpas; ac yna anfonid yr adysgrifau i feddiannwyr y llyfrau, a chedwid y copïau gwreiddiol yn y llyfrgell. Dywedir iddo fenthyca gan yr Atheniaid holl weithiau Sophocles, Euripides, ac Æschylus; ac iddo beri iddynt gael eu hadysgrifenu yn y modd prydferthaf ag oedd modd, gan gadw y copi gwreiddiol at ei lyfrgell ei hun, a dychwelyd i'r Atheniaid y copi a adysgrifenasid o honynt, ynghyd â swm o arian cyfwerth a thua £3000 am eu benthyg. Megys yr oedd yr amgueddfa lle yr oedd y llyfrgell wedi ei sylfaenu yn wreiddiol, yn sefyll yn agos i'r palas breninol, yn y cwr hwnw o'r ddinas yr hwn a elwid Bruchion, bernir i'r holl lyfrau ar y cyntaf gael eu rhoddi yn nghadw yno; ond pan y llanwyd y lle â llyfrau—tua phedwar can' mil o rifedi—cyfodwyd llyfrgell adchwanegol o fewn i'r Serapeum, neu deml Serapis; ac yn raddol cynnyddodd y llyfrau yn y llyfrgell hono i gymaint a thri chan' mil o gyfrolau; ac felly, rhwng y ddwy lyfrgell, yr oedd cyfanswm y cyfrolau wedi cyrhaedd y rhifedi dirfawr o saith gan' mil. Parhäodd Llyfrgell Alexandria yn ei holl ardderchogrwydd hyd y rhyfel Alexandriaidd cyntaf, pan yn yr anrhaith a fu ar y ddinas y rhoddwyd y rhan o'r llyfrgell ag oedd yn Bruchion ar dân. Ond yr oedd y llyfrgell ag oedd yn nheml Serapis yn aros, yr hon yr ychwanegwyd ati trwy amryw roddion, yn neillduol y Llyfrgell Bergameaidd, yr hon oedd yn cynnwys tua dau can' mil o gyfrolau, yr hon a roddwyd gan Marc Antony i Cleopatra; felly daeth y llyfrgell hon i ragori ar y flaenaf, o ran rhif y cyfrolau a gynnwysai, yn gystal ag o ran gwerth. Y mae Seneca* yn tystio fod llyfrgell Alexandria i'w hystyried yn hytrach fel drych mawreddus i'r cyhoedd na lle yn cynnwys efrydiau y dysgedig; ond faint o sail sydd i'r fath haeriad, y mae yn anhawdd penderfynu. O'r diwedd, ar ol llawer o chwyldroadau dan yr Ymherawdwyr Rhufeinig, yn ystod y rhai y byddai y llyfrgell weithiau yn cael ei hyspeilio, ac weithiau yn cael ychwanegiadau ati, fe'i llwyr ddinystriwyd hi gan y Saraceniaid, trwy orchymyn y Caliph Omar, pan y daethant i feddiant o Alexandria, yn y flwyddyn 642 O.C. Yr oedd Amrou, y llywydd buddugoliaethus, o'i

* *De Tranquilitate Animi, cap.* 9.

ran ei hun yn dra anfoddlawn i ddinystrio y fath drysorfa o ddysg a gwybodaeth yr henafiaid; ond yr oedd y Caliph penboeth, anwybodus, yn hollol benderfynol am fynu eu dinystrio. "Os (medd efe) yw yr ysgrifeniadau hyn o eiddo y Groegiaid yn cyttuno â'r Koran, neu lyfr Allah, y maent yn ddiddefnydd, fel nad oes un anghen am eu cadw; ond os ydynt yn anghyttunol âg ef, y maent yn niweidiol, ac am hyny hwy a ddylent gael eu dinystrio." A dedfryd eu dinystr a roddwyd mewn gweithrediad. Heblaw y llyfrgelloedd uchod ag oedd yn Alexandria, dywed haneswyr fod yno un arall yn y Sebasteum, neu deml Augustus; ac un arall lawer diweddarach mewn cysylltiad âg "ysgol" Alexandria.

Am lyfrgelloedd yr Iuddewon ni wyddys nemawr sicrwydd yn eu cylch; ond y mae yn ymddangos fod ganddynt rai o ryw fath. Myn rhai fod ganddynt hanesion a chroniclau am danynt eu hunain fel cenedl; a thybia Eusebius* mai dyma y llyfrau a fynodd Herod eu llosgi, gyda bwriad i ddinystrio hanes henafion y genedl. Ymddengys hefyd oddiwrth 2 Mac. ii. 13, fod rhyw fath o lyfrgelloedd yn eu plith fel cenedl, lle y dywedir, "Y pethau hyn hefyd a fynegir yn ysgrifeniadau, ac yn nghoflythyrau Nehemias, fel y gwnaeth efe lyfrdy, ac y casglodd actau y breninoedd, a'r prophwydi, actau Dafydd, ac Epistolau y breninoedd am y rhoddion sanctaidd." Am hanes llênyddiaeth foreuol yr Iuddewon nis gwyddys dim sicrwydd, y tu hwnt i'r llyfrau yn yr Hen Destament; ond meddylir fod rhai dinasoedd yn eu plith yn enwog am eu gwybodaethau, ymhlith y rhai gellir enwi y dref a elwid gan Josuah *Kirjath Sepher*, neu ddinas y Llyfr, yr hon oedd yn sefyll ar derfynau llwyth Judah. Yn amseroedd diweddar y genedl, crybwyllir am Ysgol enwog Tiberias, ac yn ol pob tebygolrwydd yr oedd math o lyfrgell yn perthyn i'r cyfryw athrofa, yn gystal ag athrofeydd eraill yn eu plith. Mae crybwylliad eto yn yr Ysgrythyrau am *lyfrgell* brenin Persia. "Yna y brenin Darius a osododd orchymyn, a chwiliwyd yn *nhy y llyfrau*, lle y cedwid y trysorau yn Babilon, &c." (Ezra vi. 1, 2). Ymddengys mai casgliad o gofysgrifeniadau perthynol i'r deyrnas, yn hytrach na chasgliad o hanes y Persiaid eu hunain, oedd y llyfrau crybwylledig. Yn y darganfyddiadau diweddar yn Assyria, yn y palas yn Ninefeh, cafwyd casgliad dirfawr o dafleni clai, ac argraffiadau ysgrifenedig mewn nodau geingaidd *(cuneiform)* arnynt, y rhai oeddynt yn ffurfio y llyfrgell freninol uchod, fel y credir. Dywed Syr Henry Rawlinson fod tuag ugain mil o'r taflenau, neu y coflechau hyn, wedi eu niweidio yn fwy neu lai gan dân, wedi eu dwyn drosodd i Loegr, a'u rhoddi yn nghadw yn yr Amgueddfa Frytanaidd; a dysgwylir y bydd i'r hyn sydd yn ysgrifenedig ary coflechau henafol hyn, pan eu deonglir yn llawn, fod yn foddion i daflu llawer o oleuni ychwanegol at y wybodaeth a feddiennid o'r blaen am y byd henafol. Dywedir fod Ymddiriedolwyr yr Amgueddfa Frytanaidd yn bwriadu cyhoeddi cyfluniau o'r coflechau hyn, gyda chyfieithiad Lladinaidd o honynt gan Syr Henry Rawlinson, yn fuan.

Y Llyfrgelloedd cyntaf ymhlith y Groegiaid, fel cenedloedd eraill, oeddynt yn gynnwysedig yn unig o hen gofiaethau *(archives)*, y rhai er mwyn eu diogelwch a gedwid yn nhemlau y duwiau. Y cyfryw oedd y llyfrau cysegredig y rhai y crybwyllir am danynt gan Dionysius Halicarnasus, dan yr enw Deltids. Mynych y dywedwyd mai Pisistratus y Gorthrym-

* *Historia Eccles., lib.* I., c. 7.

ydd oedd y cyntaf a sefydlodd lyfrgell gyhoeddus yn Athen; ond y mae yr hysbysiad yn gorphwys yn benaf ar dystiolaeth Aulus Gellius, yr hwn a ysgrifenodd ymhen tua saith gant o flynyddau ar ol amser Pisistratus. Yn y llyfrgell hon, fel yr haerir gan Gellius, dywedir fod y sylfaenydd wedi rhoddi gweithiau Homer i'w cadw, y rhai ag oedd efe wedi eu casglu ynghyd trwy anhawsdra a thraul fawr; a dywedir hefyd fod yr Atheniaid eu hunain wedi myned i draul fawr i ychwanegu rhif y cyfrolau yn y llyfrgell. Mae amgylchiadau y llyfrgell hon wedi bod yn amrywiol a nodedig iawn, os gwiw rhoddi coel i'r hanes am dani. Trosglwyddwyd hi i Persia gan Xerxes; dygwyd hi yn ôl gan Seleucus Nicator; yspeiliwyd hi gan Sylla; ac adferwyd hi yn ôl wedi hyny gan Hadrian. Ond credir gan rai nad yw yr hanes uchod ond tyb ddisail. Addefir ei bod yn ffaith fod Pisistratus yn goleddwr dysgeidiaeth, ac iddo wneyd llawer mewn cysylltiad â'i ymchwiliadau *Homeraidd*, ond ddarfod iddo sefydlu unrhyw beth teilwng o'r enw, neu yn ymylu at yr hyn a ystyrir yn llyfrgell gyhoeddus yn Athen, sydd yn cael edrych arno fel pwnc hollol ammheus. Dywed Strabo* mai Aristotle oedd y casglydd adnabyddus cyntaf o lyfrgell gyhoeddus, ac mai iddo ef hefyd y mae yr anrhydedd yn perthyn, o awgrymu i'r Ptolemiaid (breninoedd yr Aipht) am ffurfiad Llyfrgell Alexandria. Dywedir i Aristotle adael ei lyfrgell, ynghyd a lliaws o'i ysgrifeniadau ei hun, ar ei ôl i Theophrastus—yr hwn, fel yr ymddengys, a wnaeth lawer o ychwanegiadau ati; ac iddo yntau, yn ei dro, ei gadael ar ei ol i Neleus. Y Neleus hwn, yn ol Strabo, a ddygodd y casgliad llyfrau hwn i Scepsis yn y Troad—lle wedi hyny a syrthiodd i annhrefn mawr—ac o'r diwedd, iddo guddio y llyfrau mewn ogof, fel nas gallai breninoedd Pergamus eu hyspeilio. Ac wedi i'r llyfrau leithio a chael eu niweidio yn yr ogof, gwerthwyd hwynt i Apellicon o Teos—yr hwn, fel y dywedir, oedd yn hytrach yn gasglydd llyfrau nag yn athronydd. A phan y cymerwyd Athen gan Sylla, Llyfrgell Apellicon, ac nid llyfrgell Pisistratus, a gymerwyd gan y gorchfygwr, ac efe a'i dygodd i Rufain. Ond y mae hanes Strabo ar y pwnc hwn yn hollol anghyttuno â'r hyn a adroddir gan dalfyrydd Athenæus; yn ol yr hwn yr oedd llyfrgell Neleus er ys amser mawr wedi cael ei phrynu gan Ptolemy Philadelphus, ac wedi ei symud i Alexandria, ynghyd a'r holl lyfrau ag oedd efe wedi eu casglu yn Athen ac yn Rhodes. Bernir fod yr hysbysiad hwn yn cyd-daro yn well â'r ffaith o fodolaeth adnabyddus a chyhoeddusrwydd gweithiau Aristotle, er fod iddo ei anhawsderau ar lawer ystyr. Ond ymddengys o leiaf fod tebygolrwydd mawr, beth bynag a fu yn achlysuro hyny, fod rhan o'r llyfrgell hon wedi myned i Alexandria, a rhan wedi aros yn Scepsis.

Y nesaf mewn bri i Lyfrgell Alexandria oedd Llyfrgell Pergamus; yr hon, yn ol Plutarch, oedd yn cynnwys dau can' mil o gyfrolau. Yr oedd y llyfrgell hon wedi ei sylfaenu gan freninoedd Pergamus, y rhai hefyd oeddynt y naill ar ol y llall yn ychwanegu ati. Yr oeddynt yn goleddwyr aiddgar o'i celfyddydau, ac i un o honynt hwy yr ydys yn ddyledus am ddarganfod y ffordd i wneyd memrwn *(parchment,* neu *Charta Pergamena).* Ond aeth Attalus y tu hwnt i holl freninoedd Pergamus y rhai a fuasai o'i flaen ef, mewn mawredd ac ysplenyddrwydd; ac yn ol eu siampl hwy, efe a gysegrodd ran o'i drysorau at bwrcasu prif weithiau ac ysgrifeniadau ei oes.

* *Strabo, lib.* XIII., *pp.* 608, 609.

Ac megys y sylwyd yn barod, yr oedd llyfrgell Pergamus wedi ei rhoddi i Cleopatra gan Antony, mewn trefn i fod yn sylfon llyfrgell yn Alexandria.

Mae yr ychydig sylwadau uchod, pa mor anmherffaith bynag y gallant fod, yn ddigon o brofion fod lliaws o lyfrgelloedd, a llawer o'r rhai hyny yn rhai mawrion, yn nhir Groeg, yn yr hên amserau. Ac ymddengys hefyd fod dysgwyliadau tra hyderus y gallai rhyw hen lawysgrifeniadau Groegaidd, anhysbys i'r cyhoedd hyd yma, ddyfod i'r amlwg trwy yr ymchwiliadau diweddar a phresennol ag sydd wedi ac yn cael eu gwneyd mewn amrywiol hen lyfrgelloedd Groegaidd.

Y llyfrgell gyntaf a sefydlwyd yn Rhufain, fel y tybir, oedd yr un a sylfaenwyd gan Paulus Æmilius, 167 C.C. Wedi iddo orchfygu Perses, brenin Macedonia, efe a gyfoethogodd Rufain â llyfrgell y penadur gorchfygedig, yr hon yr ychwanegwyd ati wedi hyny gan Sylla. Ar ei ddychweliad o Asia, lle yr oedd efe wedi terfynu y rhyfel gyntaf yn erbyn Mithridates yn llwyddiannus, fe ymwelodd Sylla âg Athen, ac oddiyno efe a gymerodd Lyfrgell Apellicon, y crybwyllwyd am dani yn barod, i'w ganlyn. Yr oedd Lucullus, gorchfygydd arall ar Mithridates, yn nodedig ei chwaeth at lyfrau. Dywedir fod rhifedi mawr iawn o lyfrau yn y llyfrgell hon, a'i bod wedi eu hysgrifenu yn y modd rhagoraf o ran prydferthwch y llawysgrifen. Ond yr oedd y defnydd a wnaed o'r llyfrau uchod yn llawer mwy anrhydeddus na'r modd y cafwyd meddiant o honynt; oblegid yr oedd y llyfrgell hon yn Rhufain yn agored i bawb, a byddai y Groegiaid, pan ar ymweliad â Rhufain, yn mynychu orielau a phorthfëydd y llyfrgell hon, fel argelfa yr awenau *(muses)*, ac yn treulio dyddiau cyfain ynddynt mewn ymddyddanion ar byncìau llênyddol. Ond er fod Sylla a Lucullus yn caniatâu rhyddfynedfa fel yma i'r cyhoedd at eu trysorau llênyddol hyn, eto nid oedd eu llyfrgelloedd hwynt mewn gwirionedd ond rhai *dirgelaidd* neu bersonol, yn perthynu iddynt hwy eu hunain yn unig. Ymhlith gwahanol gynlluniau Julius Cæsar i addurno Rhufain, un oedd sefydlu *Llyfrgell Gyhoeddus*, yr hon oedd i gynnwys y casgliad mwyaf o weithiau Groegaidd a Lladinaidd ag oedd modd ei gael; ac yr oedd wedi penodi Varro at y gorchwyl o'u casglu ynghyd, a'u cyfleu yn rheolaidd. Ond barna rhai na ddygwyd yr amcan clodwiw hwn o amgylch ar hyny o bryd, trwy i Cæsar gael ei ladd, ac na chymerodd sefydliad llyfrgelloedd cyhoeddus le yn Rhufain hyd amser teyrnasiad Augustus. Rhydd Pliny yr Hynaf yr anrhydedd o awgrymu penodi y sefydliadau gwerthfawr hyn i Asinius Pollio,* yr hwn a osododd i fyny lyfrgell gyhoeddus yn neuadd teml Rhyddid. Dywedir fod y llyfrgell hon i gael ei ffurfio o'r yspail a ddygid oddiar genedloedd eraill, a bod haner-lun (*bust*) Varro i gael ei osod i fyny ynddi. Ac y mae rhai yn casglu oddiwrth hyn, fod Varro, wedi y cyfan, wedi llwyddo i ddwyn o amgylch y gorchwyl o gasglu a gosod i fyny lyfrgell gyhoeddus, megys ei gorchymasid gan Cæsar, ac nad oedd Pollio ond wedi helaethu ar ei gynllun ef yn unig. Ymhlith addurniadau eraill a osododd Augustus yn Rhufain, efe a sefydlodd ddwy Lyfrgell Gyhoeddus, sef yr *Octavian* a'r *Palatine*. Rhoddwyd yr enw Octavian ar un o'r llyfrgelloedd hyn mewn ffordd o anrhydedd ar *Octavia*, chwaer yr Amherawdwr, yr hon a safai yn mhorthfa Octavia; a rhoddid ei gofal i Melissus. Ychwanegid y llyfrgell arall gan Augustus at deml Apollo. Yn hon yr oedd llyfrau diwygiedig y *Sybils*

* *Plin., Hist. Nat., lib.* XXV., *c.* 2.

wedi eu rhoddi yn nghadw; ac ymddengys, oddiwrth dystiolaeth rhai hen ysgrifenwyr, fod y llyfrgell hon yn cynnwys dau gasgliad—un o lyfrau Groegaidd, a'r llall o lyfrau Lladinaidd. Goroesodd y sefydliad hwn yr holl chwyldröadau a fu ar Ymherodraeth Rhufain, a bu yn bodoli hyd amser Gregory Fawr, yr hwn yn ei zel annoeth a orchymynodd ar i holl ysgrifeniadau yr hynafiaid gael eu dinystrio.*

Er nad oedd olynwyr Augustus mor nodedig ag ef am ei nawdd i ddysg a llênyddiaeth, eto nid oeddynt yn hollol ddifater am eu llwyddiant. Dywed Suetonius yr hanesydd,† ddarfod i'r Amherawdwr Tiberius sefydlu llyfrgell yn nheml newydd Apollo; ac ymddengys hefyd oddiwrth ryw amgylchiadau achlysurol a nodir yn ei hanes, ei fod wedi sefydlu un arall yn ei dŷ ei hun, yr hon a alwodd efe y *Llyfrgell Tiberiaidd.* Vespasian hefyd, gan ddilyn siampl ei ragflaenoriaid, a sefydlodd lyfrgell yn Nheml Heddwch, yr hon a adeiladodd efe ar ol llosgiad y ddinas gan Nero.‡ Ac ymddengys hefyd hyd yn nôd i Domitian, trwy draul fawr, yn nechreuad ei deyrnasiad, adferu y llyfrgelloedd, y rhai oedd wedi eu dinystrio yn nghyflosgiad y ddinas, gan gasglu copïau o lyfrau o bob goror, ac anfon personau i Alexandria i adysgrifenu cyfrolau ag oedd yn y casgliad ardderchog hwnw, neu er diwygio copïau ag oeddynt wedi eu hadysgrifenu yn flaenorol mewn manau eraill.

Mae amryw ysgrifenwyr yn haeru fod llyfrgell mewn cysylltiad â Theml y Capitol, ond nid ydynt yn hysbysu gan bwy ei sylfaenwyd. Mae Lipsius‖ yn priodoli hyny i Domitian; tra y mae Donatus yn barnu mai yr Ymherawdwr Hadrian a'i sylfaenodd, gan yr hwn o leiaf yr ëangwyd hi; yr hwn hefyd, fel y tybir, a sylfaenodd lyfrgell y Tibur, yn Tibur, yn nghymydogaeth Rhufain.§ Ond y llyfrgell fwyaf mawreddig o'r holl rai a sylfaenwyd gan holl Ymherawdwyr Rhufain, oedd llyfrgell yr Ymherawdwyr Ulpius Trajanus, oddiwrth enw yr hwn y galwyd hi y Llyfrgell Ulpaidd. Adeiladwyd hon ar y cyntaf yn Fforum Trajan, ond symudwyd hi gwedi hyny i Fryn Viminal, er addurno baddonau Diocletian. Yn y llyfrgell hon yr oedd y llyfrau elephantaidd wedi eu gosod i fyny, y rhai oedd ysgrifenedig ar dafleni o ifori, ac yn cynnwys hanes gweithrediadau yr Ymherawdwyr, gorchwylion y Senedd a'r Ynadon Rhufeinig, ynghydag achosion y taleithiau. Tybir fod y llyfrgell hon yn cynnwys gweithiau Groegaidd a Lladinaidd; ac y mae awdwyr yn dywedyd fod Trajan wedi gorchymyn ar fod i'r holl lyfrau ag oedd yn y dinasoedd gorchfygedig gael eu dwyn yn ddioed i Rufain, mewn trefn i gyfoethogi ei lyfrgell ef. Wedi llosgi llyfrgell Domitian gan fellt, yn nheyrnasiad Commodus, nid adferwyd hi hyd amser Gordian, yr hwn a barodd adferu yr adeilad, ac a sefydlodd lyfrgell newydd, gan ychwanegu ati y casgliad llyfrau a gawsai mewn cymynrodd ar ol Quintus Serenas Samonicus, y meddyg; yr hwn, meddir, a gynnwysai gynifer a deuddeg a thriugain o filoedd o gyfrolau. Mae Donatus yn tybied i'r llyfrgell hon gael ei rhoddi yn nghadw yn mhalas Pompey.** Yn ychwanegol at y llyfrgelloedd amherodrol, yr oedd eraill yn y prif ddinasoedd a threfedigaethau yr ymherodraeth, i'r rhai yr oedd y cyhoedd yn cael rhyddfynedfa. Mae Pliny yn crybwyll am lyfrgell gyhoeddus, yr hon a sylfaenasai ef at wasanaeth ei gydwladwyr; ac y mae Vopiscus yn dywed-

* *Plutarch in Marcello. Suet. de Illust. Gram.*, c. 41. *Idem. in August.*, c. 29.
† *In Tiber.*, c. 74. ‡ *Suet., in Vespas*, c. 9. ‖ *Lipsius, de Biblioth.*, c. 20.
§ *Suet., in Domitian*, c. 20. ** *Euseb., in Commodo. Donatus, Roma Vetus, lib.* III., c. 8.

yd i'r Ymherawdwr Tacitus beri fod i ysgrifeniadau hanesiol ardderchog ei gyfenw gael eu rhoddi o fewn cyrhaedd y cyhoedd i'w darllen.

Ond rhoddodd rhuthriadau y Barbariaid Fandalaidd, y rhai a ddarostyngasant Ymherodraeth y Gorllewin, yr ergyd trymaf i achos llênyddiaeth, trwy ddinystrio y llyfrgelloedd yn yr Ital, y rhai y buasid am ganrifoedd yn eu casglu at eu gilydd.

Pan ddarfu i Cystenyn Fawr wneuthur Byzantium (Caercystenyn), yn y flwyddyn 336 O.C., yn eisteddle ei ymherodraeth, efe a addurnodd y ddinas âg adeiladau ysplenydd, gan ei galw ar ei enw ei hun; a chan ddymuno gwneyd rhyw fath o ad-daliad i'r Cristionogion am y cam a'r golled a gawsent yn ystod teyrnasiad ei ragflaenydd ar yr orsedd, efe a orchymynodd ar fod i'r ymchwiliad manylaf gael ei wneyd am y llyfrau ag oedd Diocletian wedi eu dedfrydu i ddinystr; efe a barodd i adysgrifeniadau gael eu gwneyd o'r cyfryw ag oedd ar gael, ac wedi casglu eraill o wahanol fanau, efe a ffurfiodd y cyfan yn llyfrgell yn Nghaercystenyn. Ond ar farwolaeth Cystenyn, ymddengys nad oedd rhif y llyfrau yn y llyfrgell ymherodrol ond chwe' mil a naw cant; ond ychwanegwyd atynt yn ddiwyd gan yr ymherhawdwyr Julian, a Theodosius yr Ieuengaf, yr hwn a'i cyfododd nes oedd yn cynnwys chwech ugain mil o gyfrolau. Ond llosgwyd mwy na hanner y rhai hyn gan yr ymherawdwr Leo III., yn y seithfed ganrif. Ond parodd llwyr ddymchweliad yr Ymherodraeth Ddwyreiniol, a chymeriad Caercystenyn yn 1453, gan y gorchfygwr, i holl wŷr dysgedig Groeg gael eu gwasgaru ar hyd Ewrop Orllewinol, gan osod yr holl weddillion llênyddol yn Nghaercystenyn yn nwylaw y gelynion. Eithr diogelwyd y Llyfrgell Ymherodrol rhag dinystr trwy orchymyn penodol Mohammed, a dywedir iddi gael ei chadw yn rhyw gŵr o'r llys. Beth a ddaeth o honi ar ol hyny, y mae yn anhawdd gwybod; ond dywedir yn fynych yn awr nad yw llyfrgell y Sultan yn cynnwys ond ysgrifeniadau Tyrcaidd ac Arabaidd, ac nad oes ynddi gymaint ag un ysgrif Roegaidd na Lladinaidd o un pwys. Rhaid addef fod hwn yn bwnc ammheus, canys y mae rhai beirniaid o fri uchel, ymhlith y rhai y gellir enwi *Tischendorff*, y rhai ydynt o'r dyb y gallai fod yn Llyfrgell y Sultan yn Nghaercystenyn weithiau mewn llawysgrifen o bwys mawr.

Felly y mae yn ymddangos ar y cyfan, fod llyfrau yn lled lïosog yn yr hen amserau yn Rhufain a Chaercystenyn, a fod gan yr hen ddysgedigion yn y dinasoedd hyny fwy o fanteision nag y gellid meddwl ar yr olwg gyntaf. Ac y mae y cyfeiriadau llïosog ag sydd i'w canfod yn Strabo, Pliny, &c., yn cadarnhâu y golygiad hwn yn fawr. Ond eto dylid cofio, pan yn crybwyll am y rhifedi mawr o lyfrau a gynnwysai rhai o'r hen Lyfrgelloedd gynt, y gellid ffurfio cam farn yn hawdd am danynt o ran eu maint; canys ymddengys fod pob gwaith yn cael ei ysgrifenu ar rolau (*rolls*) gwahanol, ac felly yr oedd rhifedi y llyfrau, yn ol eu dull hwy o gyfrif, yn fwy nag yn ol y dull presennol, o herwydd yr oedd y *llyfrau* yn ngweithiau Livy neu Pliny yn cael eu hystyried fel cynifer o gyfrolau, am eu bod bob un yn llanw rhôl, a phob rhôl ar wahân oddiwrth eu gilydd. Mae *Balbi* yn awgrymu y gellid cymharu y rholau hyn i ranau o lyfr a welir yn fynych yn awr yn cael eu cyhoeddi yn fisol neu chwarterol, &c. Ac yn ol y golygiad hwn, gellir barnu nad oedd y llyfrgelloedd mwyaf ymhlith yr henafiaid, o ran eu gwir gynnwysiad, yn rhagor na'r hyn mewn llyfrgell ddiweddar a fyddo yn cynnwys o hanner can' mil i gan' mil o gyfrolau.

# MYNACHAETH.

WEDI rhoddi y braslun byr ydym wedi wneuthur o Fynachaeth Gristionogol foreuol,* yn lle myned rhagom ymhellach yn awr i adrodd ei hanes bruddaidd a melldigedig ddilynol, ei gynnydd digyffelyb a drygargoelus, a'i rwysg mwyaf yn yr eglwys Gristionogol, yn helaethach, (canys rhaid cadw mewn côf o hyd, ei fod ysywaeth *yn* yr eglwys, gymaint ag a allai dim fod ynddi—ïe, *yn ei chalon* hefyd, a hyny yn fwy na hyd yn nôd "y pethau sydd ynglŷn wrth iachawdwriaeth,") ni a ddefnyddiwn y cyfleusdra presennol i gyflwyno rhai ystyriaethau eraill o bwys, cysylltiedig âg ef, ac i grybwyll rhai amgylchiadau eraill lled arbenig ynglŷn âg ef oedd â llaw mwy neu lai ganddynt yn ei ymddadblygiad, beth bynag am ei gynnyrchiad cyntaf, mewn ychwanegiad at yr hyn yr ydym eisoes wedi osod ger bron, na ddylid mewn un modd fyned heibio iddynt yn ddisylw a dystaw; a gwybodaeth o ba rai sydd yn hollol anhebgorol i iawn ddeall mynachaeth foreuol, ac i wneyd cyfrif goleuedig, têg, a chywir, o hono.

Llwyddasom, ni a hyderwn, yn ein hysgrif flaenorol, i arddangos mynachaeth foreuol yn ffyddlawn, er yn anmherffaith ddigon, fel y gwyddom yn eithaf da, yn ei wedd feudwyaidd, ddidryfol, lemaf, a gwreiddiol, yn gystal ag yn ei wedd mwy cyfluniedig, dulliedig, a chymdeithasol, yr ymgymerodd â hi wedi hyny. Heblaw hyn, ni a ddymunem yn fawr fod—a choeliwn yn gryf, heb fod yn euog o ryfygu yn enbyd, ni a obeithiwn fod—y brasddarluniad, brysiog a diffygiol o anghenrheidrwydd, a roddasom o fynachaeth foreuol yn ei ffurfiau gwahanredol, yn gyfryw ag i gynnysgaethu cryn radd o hysbysrwydd gwerthfawr—os nad yr hysbysrwydd anghenrheidiol i fesur mawr, a digonol—i gynnorthwyo i ffurfiad barn agos iawn i'w lle, os mynwn, o'i wir natur a'i nodwedd neillduol; yr hyn yw ein nôd penaf yn ein hymdriniaeth anghyfatebol a garw âg ef; o herwydd syniadau cymysglyd, gwag, a gwallus i'r eithaf—beth bynag am gyfeiliornus—sydd yn cael eu lletya o barth iddo yn y nifer amlaf o lawer o amgylchiadau, onidê? fel y cyfarfuasom, yn wir, yn o ddiweddar, a hyny lle na ddysgwyliem oll—llawer llai yn ddiweddaf oll—âg enghraifft nodedig—braidd na ddywedem anfaddeuol—nid yn unig o feddu a boddloni ar wybodaeth arwynebol, a llym i'w ryfeddu, ynghylch dechreuad mynachaeth, &c., ond o haeru pethau cwbl ddisail ac anghywir hollol am dano, a hyny hefyd gyda hyfder gwyddonol, yn bradychu anwybodaeth dygn, gresynol, a diachos (o ran manteision) o hono; ac yn ganlynol, gamsyniad anferth yn ei gylch, yn cymarwain eraill yn druenus. Oddiar hyn, yr ydym yn credu yn ddiffuant ein bod yn gwneuthur gwasanaeth i achos gwirionedd, a dyledswydd—os nad i achos crefydd, gyda llaw—wrth adrodd

* Gwel TRAETHODYDD, Rhif LIV., Hyd., 1858. Nid ydym heb deimlo, ddarllenydd hynaws, fod yr ymadrodd "*mynachaeth Gristionogol,*" pa un yr ydym yn ei arfer yn fynych, yn wrthddywediad noeth, ac yn rhoddi achlysur yn ganlynol i dderbyn camargraff; anghenrhaid a osodir arnom, er hyny, i ddefnyddio y cylymair ansoddol hwn i'w ddynodi, er yr anghysondeb, mewn trefn i'w wahannodi yn rhywiogaethol a phendant, yn ei gysylltiad â'r grefydd Gristionogol, oddiwrth yr hyn ydoedd mewn cysylltiadau a ffurfiau eraill oedd ar led.

ychydig o'i hanes, i gyflenwi i ryw fesur y diffyg galarus sydd o bob peth tebyg i wybodaeth fanwl a chyflawn—ïe, yn wir, o unrhyw grynodeb o fynachaeth yn ein iaith ni hyd yma—yr hyn sydd beth i'w chwennychu yn fawr, gellid meddwl;—ei olrhain, a thaflu rhyw gymaint o oleuni arno, hyd yn nôd pe na byddai ond y gradd lleiaf, i'r darllenydd uniaith (os gallwn lwyddo i wneyd hyny hefyd), i unioni y dyb—y tybiau cyffredin—a ffyna yn ei gylch, trwy ei ddeall yn well; cynnorthwyo rhyw faint i'r hyn yr ydym yn awyddus mwy na pheidio i'w wneuthur yn ol ein medr.

Yr ydym yn cael, pa fodd bynag, ei fod yn anhebgorol angheurheidiol, mewn trefn i gyrhaedd yr amcan hwn yn effeithiol, neu hyd yn nôd i ddynesu ato, trwy roddi y safle gofynedig i wneyd cyfrifiad tebyg i uniawn o fynachaeth, yn gystal ag i roddi golwg gynnwysfawr arno, i nodi allan, ac ymhelaethu ychydig ymhellach, ar yr amgylchiadau neillduol hyny o wahanol fathau y cyfododd mynachaeth Gristionogol ynddynt; yn anad dim, gan iddynt droi allan mewn canlyniad yn rhywbeth llawer mwy pwysig na hyny yn unig, a'u bod yn sefyll mewn perthynas agosach âg ef na bod yn gyd-ddygwyddiadau syml. Rhoddasant achlysur i'w genedliad a'i doriad allan yn anocheladwy. Profasant, yn wir, yn achosion o'r ail radd, pa rai a gyd-dueddasant mor fawr, ac a gymhellasant mor rymus ac anwrthwynebol iddo, ac a fuont yn amlwg yn gynnyrchiol o hono; heb yr hyn byddai unrhyw driniaeth ar fynachaeth foreuol yr eglwys Gristionogol yn enwedig, yn hannerog dros ben, ac yn anghyflawn, ac anfoddlonol ei wala, a dywedyd y lleiaf. Mae y cyfryw olrheiniad, gan hyny, yn dra gorchymynol arnom, ac nid gwiw ceisio ei osgoi.

Lled awgrymasom yn ddigon eglur, dybygasem ni, yn barod, os na wnaethom rywbeth yn ychwaneg ragor nag unwaith ar y ffordd, o berthynas i'r rhan hon o'n mater. Gorfu i ni yn wir gyfeirio at, a sôn mwy neu lai am, rai o'r pethau hyn yn wahaniaethol a phendant; oblegid nis gallem yn wych gadw rhag gwneyd hyny, pe buasai hyny hefyd yn rhyw afreoleidd-dra neu drosedd, gan yr ymwthient eu hunain arnom yn anocheladwy. Yn ganlynol, na rodder y bai o adeiriad yn ein herbyn yn anhael, er y gwyddom ein bod yn ddigon gwasgaredig. Eithr yr ydym, fel y rhoddasom ar ddeall droion y gwnaem wrth dynu ymlaen, wedi eu cadw i ymdriniaeth â hwynt ar eu penau eu hunain; ar ba un yr ydym yn awr ynghylch ymosod, ac er mwyn yr hyn yr ydym yn ail ymaflyd yn ein hysgrifell y waith hon, yn ol ein haddewid. Yr ydym yn petruso peth pa un a allwn wneyd cyfiawnder â'n testun, er ein bod yn llawn pryderwch i wneyd hyny yn ffyddlawn.

Gorchwyl anhawdd i'r eithaf, wedi y cwbl, mae yn rhaid cyfaddef, ydyw i ni o dan amgylchiadau presennol allu gwneuthur chware teg â newydd-iaethau gormesol, a phenboethni ffrwythlawn, Cristionogaeth y canrifoedd cyntaf; yn enwedig llymfucheddiaeth didryfaidd a mynachaidd. Dim ond ystyried y peth yn araf, a diduedd i ryw fesur, fe welir yn fuan nad all dim fod yn fwy amlwg a diddadl na'n bod ni yn y wlad hon, ac yn yr oes hon, yn anghymhwys iawn o bawb—mor anghymhwys ag y gallwn fod ymron, a hyny ymhob peth braidd—i farnu pethau gynt, a gymerodd le mewn pellder mawr oddiwrthym o ran amser a gwlad, ac o dan wybren arall; yn bendifaddeu pethau yn dwyn cysylltiad â naws anianyddol pethau, dulliau o fyw, ac ansawdd crefydd. Ymddengys fod Cristionogion Prydain yn y bedwaredd ganrif ar bymtheg mor wahanol fyth ag y gallant fod, ymhob peth nad yw yn hanfodol i'r natur ddynol, i Gristionogion Syria a'r Aipht

yn yr ail ganrif, fel ag i'n hamgylchu ni â dyryswch dirfawr a phoenus o berthynas iddynt hwy; yn neillduol i gael allan a phenderfynu y fath grefydd a allai fod ganddynt hwy. Y mae galwad arnom uwchlaw y cwbl, os awn ynghylch dim o'r fath beth, i wylio yn ofalus yn erbyn dylanwad rhagfarnau culion a phengam; ïe, i ymddyosg, hyd y gallom, o bob rhagfarnau anianyddol, dealltwriaethol, a moesol, yn perthyn i'n hinsawdd lem, tuedd gynhyrfus, blysiau bwytäol, a chyfansoddiadau mwythus. Y mae neillduolrwydd gwahaniaethol mawr, hefyd, yn perthyn i'n dull anhyblyg ni o feddwl, ein hymffrost yn yr hawlfraint o farn bersonol, a'n harferion masnachol o deimlo; fel y rhaid i ni feddu dychymyg ystwyth iawn, a llawer o dymher athronyddol, yn gystal âg ysbryd cariad yr efengyl, i brisio eu dybenion hwy yn iawn a llawn. Yr ydym mewn perygl o golli wrth ddwyn pob peth yn ddiwahân a diarbed at yr un safon diblygu o ffydd ac ymarweddiad, ac fe allai mai ein un neillduol ni fydd hono yn y diwedd, fel yr ydym yn rhy chwannog ac arferol o wneuthur, a chymharu pawb a phob peth â hi yn dŷn, a gwrthod a chondemnio yn ddiofal yr hyn a fyddo yn groes i'n syniad ni am briodoldeb ac iawnder; ac nid ar unwaith y deuwn ni, os ceir genym oll, i deimlo yn rhydd a pharod i arddel perthynas â Christionogion, ac ymfrawdoli â phroffeswyr, o liw ac o wisgiad arall.

Nid ydym yn anghofus o'r ffaith, ac yr ydym yn barod i dystio ar ein llŵ —pe byddai angen am hyny—nad ydym yn ddifater ynghylch y gwirionedd, fod rheol ddwyfol yr Ysgrythyr am foesau yn anghyfnewidiol, ac y rhaid ei chymhwyso yn ffyddlawn, gydag anmhleidgarwch diammodol, at ddyn, o dan bob amrywiaeth mewn amgylchiadau; eto cân wired â hyny mae yn agos, os nad yn gwbl annichonadwy, i ni yn y pellder o uwchlaw mil o flyneddau, wybod y cyfan ynghylch y dynion dan sylw, ac olrhain yr amgylchiadau hyny cysylltiedig â hwy, ac felly ddarganfod y cymhellion i ymddygiad a'u hysgogai hwy, ag sydd yn ofynol i farnu yn ddiduedd am ddiniweidrwydd neu fai rhyw weithredoedd arbenig, neu arferion bywyd. Ni fynem er dim ymylu ar dir gwaharddedig, llawer llai osod ein hunain i sefyll mewn cyflëad ammheus, chwaithach peryglus, gyda golwg ar ein crefydd sanctaidd yn y cysylltiad hwn; ac yr ydym yn darbwyllo ein hunain na wnawn, ac yn sicr na ddylem wneuthur, ein hunain yn agored i'r gradd lleiaf i'r cyhuddiad cenfigenus o benrhyddid mewn barn, llawer llai o augredaeth, a myned i afael y "*gwarth duwinyddol,*" y mae rhyw rai yn rhy barod, ysywaeth, i'w luchio, fel pe byddent wedi cael eu hawdurdodi i swydd o'r fath. Nid yw ein sefyllfa, pa fodd bynag, mor enbydus; ac yr ydym yn hollol hyderus na raid i ni ofni dim o'r fath beth oddiwrth ddarllenwyr goleuedig a rhyddfrydig y TRAETHODYDD, wrth ddodi ar lawr y *canon* a dderbynir yn gyffredinol gan y dynion goreu, a'i ddal yn ddiroddi i fyny,—fod y pwnc o berffeithrwydd, yn ein tyb ni, a hwnw o barth i euogrwydd personol, i gael eu cadw ar wahân yn wastad—o leiaf y dylid eu cadw ar wahân—pan demtir ni i ofyn, fel nas gallwn lai yn ngwyneb y brofedigaeth gref sydd i hyny yn fynych, yn enwedig wrth ddarllen hanesiaeth eglwysig, pa un sydd yn cyflwyno pethau mewn agwedd yn amrywio yn fawr oddiwrth, nid yn unig ein barn ni am athrawiaeth yr efengyl, ond yn ddiammheuol oddiwrth athrawiaeth yr efengyl ei hunan, ac yn dadymchwelyd Cristionogaeth Apostolaidd,—pa un a ellir ystyried y cyfryw ddynion yn Gristionogion oll, y rhai a fu byw ac a ysgrifenasant fel ar fel? Y mae rhoddi ateb penderfynol, ac ar yr un pryd un a ddeil, yn beth anhawdd

i'w ryfeddu. Nid oes dim yn ein trechu yn fwy, o herwydd cyn y gellir cael peth fel hyn allan i foddlonrwydd, rhaid i ni wybod yr hyn nas gellir byth ei wybod hyd ddydd y dadguddiad mawr a chyffredinol, pa faint o anmherffeithrwydd a gwyrni a all gydsefyll â chrefydd wirioneddol; a thrachefn pa faint sydd o wir wyrni yn amgylchiadau gweithredol yr achos, yn yr ymddygiad mewn dadl. Y mae yn dyfod i'n meddwl yn aml—a phwy a all droi yn ol nad oes llawer o wirionedd yn ein tybygiad?—os goroesa cofiaethau crefyddol yr amserau presennol, y rhai ar y cyfan sydd yn o gyflawn, er eu bod yn anghyfatebol iawn wedi y cwbl, fel nas gallant lai na bod o anghenrheidrwydd, ac am y rhai yr ydym yn meddwl yn uchel, —os bydd y rhai hyn ar gael mewn oes ddyfodol, bell, yr ydym yn lled dybio y gwnant y mater mewn llaw lawn mor ddyrys, beth bynag am yn fwy dyrys, i'r darllenydd y pryd hwnw; yr hwn yn nghanol cymeradwyo ac edmygu yn awr ac eilwaith, a orfodir i waeddi allan, 'A allai fod y dynion hyn yn dduwiol? Pa fodd y gallwn lettya y meddwl, a bod yn deyrngar i'r gwirionedd, eu bod yn Gristionogion?' Os cawn adrodd ein hargyhoeddiad dwfn, nid ydym mewn un modd yn sicr y bydd darllenwyr yr hyn a alwn yn lênyddiaeth Gristionogol y dyddiau hyn—ac nid y sothach gwaelaf ychwaith sydd yn gwaradwyddo Cristionogaeth, pa rai, ni a obeithiwn, a gleddir yn fuan mewn ebargofiant bythol (onidê beth a feddylir am danom pe dygwyddai rhai o'r rhai hyn fod ar gael?)—eithr cynnyrchion teilwng a rhagorol,—llyfrau megys "Methodistiaeth Cymru," "Hanes Ymneillduaeth yn Nghymru," &c., pa rai a olygwn yn anfarwol, ac sydd yn ddiau yn weithiau gwerthfawr ar gyfrif eu cynnwysiad mewnol a'u hawduriaeth wych, ar ol hyn, yn ystod y milflwyddiant a ddysgwylir, ac yn hir cyn hyny fe ddichon, yn gwbl ddyeithr i deimladau fel y rhai a grybwyllasom. Pwy a ŵyr, fe allai,—ac nid ydym yn edrych arno fel peth annhebyg—y cânt ef yn beth anhawdd i'r eithaf ei benderfynu ein bod ni wedi y cwbl yn Gristionogion, ar ol ein holl dwrw, er y bydd y cariad sydd yn gobeithio pob dim yn eu hyfforddi yn helaeth a llawn. Onid ydym yn *imposio* arnom ein hunain yn rhyfeddol gyda golwg ar bethau fel hyn? Yn lle bod Cristionogaeth wedi dangos ei heithaf, a chyflawni ei gwaith ar ei goreu, fel y tybiwn ni yn esgeulus weithiau, rhaid cofio fod ei *hideal* hi heb gael ei sylweddoli eto, ond i radd fechan anghyffredinol. Y mae, er hyny, ar waith yn raddol o hyd yn diwygio egwyddorion ac ymarferion dynolryw, gan eu puro, eu dyrchafu, a'u perffeithio; a phan fydd y gwaith adferiadol, bendigedig, wedi myned ymlaen amrywiol raddau y tu hwnt i'r man y mae yn bresennol, fel yr ydym ni ryw gymaint ymlaen ar yr oesau boreuaf, ymddengys golygiadau a defodau ein dyddiau ni,—pa rai, yn ein diniweidrwydd, a dybiwn ni yn berffeithrwydd ei hunan, neu o leiaf y peth nesaf at hyny—wrth eu cymharu âg athrawiaeth yr efengyl fel y deallir hi y pryd hwnw, yn anghredadwy o wallus yn ddiammheu.* Bydded i ni, gan hyny, tra yn tosturio wrth fethiad mawr Cristionogaeth hyd yn hyn, "ddiolch i Dduw, a chymeryd cysur," wrth fwrw trem ar y dyfodol. Y mae pethau yn obeithiol iawn wedi y cwbl. Y mae "*human progression*" yn cael ei ddwyn oddiamgylch gan Gristionogaeth, a hi a'i dwg oddiamgylch i radd aufesurol eto, yn ei hamser da ei hun.

Ysgatfydd ei bod yn llawn bryd i ni erbyn hyn, er mwyn rhyw rai neu

* Gwel "*Natural History of Enthusiasm,*" tu dal. 168.

gilydd a allant ddyfod i gyfarfyddiad â'r llinellau hyn, roddi gocheliad arall gyda golwg arnom ein hunain, na byddo i ni er dim gael ein camddeall, ein drwgdybio, a'n camgyhuddo yn fyrbwyll o groesddywediad o herwydd y gosodiadau hyn, nes i ni orphen egluro yr hyn sydd yn ein bryd. Ar ein gair, nid oes ynom y cydymdeimlad lleiaf â mynachaeth yn yr un o'i agweddau gwrthwynebus, a phell oddiwrthym a fyddo tueddu i fod yn dyner wrtho. Na chamgasgled neb ychwaith ein bod wrth ymgydnabod âg ef, fel yr ydym yn gorfod gwneuthur i'w drîn fel hyn, yn cael ein serchennyn ganddo, ein bod yn newid ein barn am dano, ac yn dyfod yn raddol yn fwyfwy ffafriol iddo. Na; effaith cwbl wahanol sydd yn dilyn ein hymchwiliad. Y mae yn cynnyddu ein ffieiddiad o hono. "Na ddeued ein henaid i'w gyfrinach," meddwn o eigion ein calon, gymaint ag y dywedodd Jacob am Simeon a Lefi greulawn. Na feddylied neb am fynyd ein bod am alw yn ôl ddim o'r hyn yr ydym wedi ei ddodi ar lawr o berthynas iddo, a'i fawrddrwg arswydus. Nid ydym yn gweled achos i wneyd hyny eto, beth bynag. Na; nid ydym am droi bellach, a sefyll i fyny yn ddadleuwyr drosto i'w esgusodi; chwaithach yn rhyswyr i'w bleidio dan gudd, llawer llai yn agored. Yr ydym yn gadael hyny i ddwylaw mwy medrus—"duwinyddion Rhydychain," sydd yn trachwantu yn yr anrhydedd yn fwy—er mai peth gwaeth nag ofer, yn ein barn ni, yw cynnyg at wneuthur dim o'r fath beth. Y mae yr achos yn rhy ddrwg yn wir. Yr ydym yn gwadu gydag eiddigedd cryf pob peth tebyg i hyn yn ddyben yn y sylwadau blaenorol ag ydym newydd wneuthur; ac nis gellir yn sicr, heb ŵyrdroi eu meddwl yn gywilyddus, neu fethu canfod eu hamcan yn hollol, eu gwneyd i arwyddocâu dim yn y byd o'r fath. Boed hysbys ein bod yn edrych ar yr egwyddor ddirwestol* gynt yn un annyoddefol, yn gystal ag ar yr holl gyfundraeth fynachol gyda chas perffaith, fel y dylem wneuthur yn ddiau eto, gyda châs yn gymysgedig â thosturi dwfn wrth eu dallbleidwyr ymroddedig a thwylledig, a aethant yn ysglyfaeth rhy barod i'w rhaib a'u drygioni. Nid heb loes calon y deallasom gyntaf fod y Puseyaid yn dyweddïo yr achos gwarthus, ac yn ei hylwybro yn egnïol, fel canlyniad anghenrheidiol eu hathrawiaeth, a chyflanw eu cyfundraeth. Brathodd ni i'r byw eilwaith i glywed ychydig ddyddiau yn ol fod y Pabyddion ynghylch adeiladu mynachdŷ newydd ar lawr ein hoff wlad, Cymru. Mae y gareg sylfaen, yr ydym yn deall, wedi cael ei gosod i lawr mewn lle o'r enw Pantasa, gerllaw Treffynnon, yn Sir Fflint, gyda rhwysgfawredd, a hyny yn mhresennoldeb lliaws o foneddwyr ac offeiriaid Pabaidd. Mae yn

* Yr ydys yn deall yn dda nad yr hyn sydd yn myned dan yr enw hwn, yn ol fel y defnyddir ef yn ddiweddar, pa un a gyfyngir yn gyfangwbl at lwyrymwrthod â gwlybyroedd meddwol yn unig, y cyfeirir ato yma; eithr *ascetism* Cristionogol, pa un a rydd-gyfieithwn yn lwyrymwrthodiad, llwyrymattaliad, ac yn enwedig dirwest a llymfucheddiaeth. Y mae y gair *dirwest* yn ei ystyr wreiddiol yn dyfod yn bur agos i'r meddwl, os nad yn ei roddi yn lled dda—onid yw?—a'r cyfansoddair llymfucheddiaeth yn well fyth. Barnasom gan hyny, ei fod yn well, y byddai yn fwy dealladwy i'r nifer amlaf o'n darllenwyr uniaith beth bynag, i beidio gadael *ascetism* yn anghyfiaith, eithr arfer y geiriau cyfystyrol hyn am dano yn ddiwahân. Gyda'r gair, gresyn garw, onite?—na eglurhawyd yn gywirach ystyr *ascetism* na rhoddi "meudwy" a "didryfwr" am *ascetic*, yn gymaint a'u bod y naill a'r llall ymhell o fod yn gyfystyron iddo. Mae yn wir, bod yr un rhai yn dygwydd bod yn feudwyaid ac yn *ascetics*; ar yr un pryd, y maent yn cyflwyno y peth mewn dwy wedd wahanol hollol. Gellid bod—ac yr oedd llawer ar y cyntaf, fel y dangoswn eto—yn *ascetics* heb fod yn feudwyaid. Y mae *ascetic* yn dynodi *un yn byw yn llym*, yn ymwadu â blysiau anianol, tra y mae *meudwy* a *didryfwr*, y rhai ydynt yn gyfystyron lled agos, yn dynodi, fel yr ydym wedi dangos eisoes, *un yn byw wrtho ei hun*, &c.

ymddangos mai dyma y mynachdŷ cyntaf a adeiladwyd yn Nghymru na Lloegr er amser y Diwygiad Protestanaidd.† Mae yr ymofyniad pwysig ac effro, "Arwydd o ba beth yw hyn?" yn haeddu dwysystyriaeth yn ddiau. Y Nefoedd a baro i ni wylio symudiadau y gelyn cyfffredin cyfrwys, adnabod ei *dactics*, a chydymuno yn ddoeth, ymdrechgar, a phenderfynol, yn ei erbyn, i waredu ein cenedl rhag yr amryfusedd o gael eu huddenu a'u dwyn yn gaeth ganddo eto! Gwneler ni, fel meibion Issachar gynt, yn rhai "yn medru deall yr amseroedd, i wybod beth a ddylai Israel ei wneuthur."

Ond rhaid i ni ddychwelyd at ein pwnc, pe byddem wedi ei adael hefyd, er nad ydym yn tybied ein bod. Y mae hyn yn galw yn uchel arnom, ac yr ydym ninnau am gyflawni ein dyledswydd, trwy ddynoethi llymfuchedd-iaeth a mynachaeth, dangos eu hanfadrwydd niweidiol, a'u gwarthnodi gyda soriant pur a chyfiawn. Nis gallwn, ni feiddiwn, yn wir, lai na'u condemnio yn ddiarbed fel cynnyrchion penaf twyll pechod, a dichell y gwrthwynebwr mawr, Satan, i lygru Cristionogaeth, rhwystro ei llwyddiant, a llithio eneidiau i ddinystr a cholledigaeth. Ei brif ddyfais oedd yn ddiammheu i attal cynnydd ac ymledaniad gwir grefydd, er niwed a dymchweliad i'w deyrnas ef. Y mae hyn yn gorwedd ar y wyneb; nis gellir lai na'i ddarganfod, ac nis gallwn yn ganlynol ddadgan ein hanghymeradwyaeth llwyr o honynt yn wahanredol mewn iaith digon cref a digllawn. Y maent yn drais ar natur—y trais mwyaf arni, fel y gwnaeth Duw hi. Y maent hefyd yn drais ar foesoldeb yr Ysgrythyr, oblegid eu bod yn drais ar natur dyn; o herwydd o bob llyfr, y Bibl yw y mwyaf naturiol yn y byd, yn ei ddysgeidiaeth, a'i orchymynion. Oddiar hyn, yn lle eu bod y rhinwedd uchaf, fel y myn y coegweledydd mewn crefydd, y maent yn ddrygau erchyll ac andwyol. Ar yr un pryd, er fod yr egwyddor lwyrymwrthodol, a'r gyfundraeth fynachaidd, yn ddrwg drwyddynt draw, ni raid i'w beiddunwyr fod oll felly mewn un modd. Gellir gwahaniaethu rhwng y dyn a'r egwyddor neu y gyfundraeth. Nid oes dim yn fwy amlwg na hyn; a dyma y peth a fynem wneuthur. Y mae pob un rhyddfrydig a diragfarn yn barod i'w ganiatâu. Y mae awdwr diweddar wedi galw sylw at hyn yn bendant (ychwaneg nag un am hyny), a'i osod allan yn rymus a rhagorol. Y mae arnom chwant dyfynu ei iaith yn eglurhäol o hyn, gan ei bod mor bwrpasol a nerthol. Cymerwn genad gan hyny i foddio ein chwaeth, yn hyderus na fydd hyny yn annerbyniol gan ein darllenwyr.

"Yr oedd athroniaeth Zeno yn gyfeiliornus, ond nid all neb ddywedyd llai nad allai fod ochr ardderchog i *garitor* y *Stoic* ymarferol. Os, pa mor gamsyniol bynag, gwnai ei fywyd yn achos rhinwedd yn rhyfel â'r holl fyd cyfan o deimladau, yr oedd yr achos yn dda, a'r ymladdfa yn un orwych. Pa mor ffol bynag oedd yr ymdrechwr, yr oedd gwroniaethyn yr ymdrech. Enaid ydoedd yn ymhoni bod yn drech na'r corff, ac yn gwneyd hyny mewn trefn i fod yn dda. Yr oedd y llymfucheddwr gynt yn fath o Stoic. Nid oes ammheuaeth nad oedd rhai o'r *Ascetics* Cynniceaidd yn llawn balchder ysbrydol; ar yr un pryd, nis gallwn ddarllen eu hanes—eu hunanymfarweiddiadau, gyda'r fath ddybenion ag oedd gan rai o honynt mewn golwg, y fath gymhellion ag a gyffesent, heb deimlo fod rhywbeth ynddynt yn haeddu parchedigaeth."†

Dyma ddywedyd yn dda, onidê? ac yn gywir gyda hyny. Yr ydym

* Gwel y "*Drysorfa,*" am fis Hyd., 1858, tu dal. 345. † *Stoughton's "Ages of Christendom.*"

yn cydsynio â'r awdwr parchedig yn galonog, ac yn teimlo yn ddiolchgar iddo am lefaru fel hyn ar y mater, mor ddifloesgni, ac addysgiadol ar unwaith, gan ddal i fyny y gwirionedd yn ffyddlawn. Mae yn rhydd i ninnau gyfaddef ymhellach y byddai yn ddrwg iawn genym fod yn amddifaid o bob parchedigaeth i rai o honynt o leiaf. Y maent yn ddiammheuol yn ei hawlio yn ddigon cyfiawn a chryf. Ni fynem er dim fethu gwerthfawrogi rhyw bethau ynglŷn â'r ymddëolwyr didryfaidd, dirwestol cyntaf, ac â chymaint a geir o wir rinwedd mewn cysylltiad â mynachaeth Gristionogol yn ei gwaethaf, fel ag i fod yn anhael tuag atynt, chwaithach yn anghyfiawn.

Y mae ei berthynas agos â chydwybod, ynddo ei hun, pe na byddai dim arall, yn peri y dylai fod ganddo afael ar ein cydymdeimlad moesol. Nid ellir byth ddirmygu cydwybod, pa mor gamsyniol bynag a thywyll bynag y byddo; o leiaf, ni wna neb hyny o feddwl ystyriol, yn ei iawn bwyll. Nid yw y dyn a ddilyno hyfforddiadau ei gydwybod yn onest i'w ddiystyru ychwaith. Hyd yn nôd pan dosturiwn yn fawr wrth ei anwybodaeth, neu gyndynrwydd ei farn, yr ydym yn reddfol yn parchu ei gywirdeb moesol. A phan fyddo ei gamgymeriadau yn fwyaf alaethus, a chyda hyny yn ysmala i'r pen fel *Jacir* India, yr hwn a ä oddiamgylch â hoelion hirion trwy ei esgidiau, neu fâch yn un o'i asenau yn peri crawn i redeg,—os arweiniant ar yr un pryd i hunanymaberthiad, nis gallwn lai nag edmygu y dewrder moesol, beth bynag a feddyliom am synwyr, doethineb, neu ras y dyn. Y mae yr arddunol a'r digrif yn cyfarfod weithiau yn rhyfeddol yn yr un person, a nyni a barchwn yr ymroddwr cydwybodol, tra y cymerwn drueni ar neu y dirmygwn y damcanydd ffol ac ofer.*

Rhai fel hyn i fesur mawr, yn ddiddadl, ydoedd lliaws, beth bynag am y nifer amlaf, o'r meudwyaid boreuol,—y mynachod Cristionogol cyntaf, am y rhai yr ydym yn sôn. Perffeithrwydd mewn byw yn sanctaidd, mae yn eithaf amlwg a diammheuol, ydoedd eu nhôd,—nôd teilwng iawn, y nôd mwyaf goruchel a gogoneddus, yr unig nôd teilwng, yn wir, i fôd rhesymol, moesol, ac anfarwol, gyrchu ato. Y mae yn haeddu egni, ymröad, a difrifwch, yn ei erlyniad, ac efe a dâl yn ehelaeth am bob ymdrech diffuant i'w gyrhaeddyd. Camsyniasant yn alarus iawn, er hyny, gyda golwg ar y moddion, neu y ffordd i'w gaffaelyd. Ond rhaid i ni beidio bod yn galed wrthynt wedi y cwbl; o herwydd camsyniad y pen, mae yn ddigon goleu, ydoedd yr eiddynt hwy, yn fwy na chamsyniad y galon. Neu, ac addef mai hunanoldeb oedd y cymhelliad sylfaenol a'u hysgogai, yr hyn yn ddiau a weddnodai y gyfundrefn fynachaidd yn hynodol a hanfodol—dyma ydoedd ei hegwyddor a'i phrif ansawdd, ac yn ganlynol hunangyfiawnder yr unig gynnyrch—yr oedd o leiaf yn hunanoldeb a ymestynai y tu hwnt i'r bedd. Chware teg iddynt hefyd, dynion o ddifrif am nefoedd oedd llawer o honynt, a hyny nid yn y ffordd rwyddaf ychwaith. Nid boddloni ar ddymuno nefoedd yn ddiofal a dioglyd yn unig a wnaethant, a gadael i hyny droi a diflanu yn darth. Na; nid gwely sidan, esmwyth a geisiasant i orwedd a chysgu arno, eithr llafur caled a blin, gwyliadwriaethau, ymprydiau, ymdeneuad—pob math o ymfarweiddiadau corfforol, ynghyd a gweddïau dibaid a dyfal, oeddynt y moddion trwy ba rai yr ymorchestai yr hen frodyr hyn, oeddynt yn dal, ac mewn cariad â'r,

* Gwel "*Bibliotheca Sacra*," cyf. I., tu dal. 810.

athrawiaeth o berffeithrwydd y natur ddynol, am y goron anfarwol. A beth bynag ellir ei ddywedyd am fywyd mynachaidd diweddarach, oedd yn îs ryw o lawer, yn hir cyn cyfodiad y Babaeth—nas gellir dywedyd dim yn ddigon drwg, chwaithach yn rhy ddrwg, am dano, a'i ormodedd gwallgof, a'i anfadrwydd dinystriol—ni ddilynodd neb y gair a'r weithred, ni roddodd neb yr athrawiaeth mewn ymarferiad, yn fanylach nag y gwnaeth y meudwyaid truain, anolchedig, ac anghneifiedig hyn, y rhai y gellid yn hawdd eu camgymeryd, pan redent i ffwrdd yn lladradaidd i wibymdeithio wrthynt eu hunain yn y diffaethwch, neu pan ehedent yn chwim, gyda chyflymder adeiniog, ar ryw neges o gariad at frawd pellenig, fel Sant Antwn wrth fyned at ogof Paul pan drengai, am y cythreuliaid eu hunain y daethant yno i ryfela â hwy a'u gorchfygu.

Nid all dim ychwaith fod ar unwaith yn fwy disail ac anghariadus na'r cyhuddiad mai clod dynol a geisient trwy yr afreoleiddrwydd hyn. Yr oeddynt yn gwbl rydd o lochi dim o'r fath beth. Ni ddaeth erioed i'w meddwl. Amlwg yw oddiwrth rai o amgylchiadau yr achos na ofalent fawr na dim am enw yn y byd. Yn wir, ni chwennychent weled byd dynion byth mwyach, nac hyd yn nôd glywed oddiwrtho oll drachefn, oddigerth gyda golwg ar lwyddiant yr efengyl, a'i buddugoliaethau ar deyrnas Satan. Bu llïaws mawr o honynt fyw a marw, na wyddai yr un dyn pa le. Fe allai hefyd fod eu hymddygiad yn eu gwneyd yn agored i'r cyhuddiad o fod yn hunangar a hunangeisiol—o fod â'u bryd yn hollol a chyfangwbl ar eu llesâd eu hunain. Eithr nid oedd eu nôd ysbrydol mor berffaith gyfyngedig i'w mantais eu hunain—eu cynnydd personol mewn gras, ag yr ydys wedi tybio yn rhy fynych. O leiaf, nid oedd pawb o honynt wedi eu llyncu i fyny i'r fath raddau gan eu budd a'u boddineb eu hunain, fel ag i wneyd daioni eu heneidiau eu hunain yn wrthddrych goruchaf, llawer llai yn unig wrthddrych eu gofal a'u cais. Er eu bod wedi dianc rhag y byd, teimlent ddawr o hyd ynddo, a phryderwch dwys yn ei gylch; ïe, cofient ef o hyd yn eu gweddïau taerion yn feunyddiol. Yr oedd eu galwedigaeth hefyd, fel yr edrychid arni ganddynt hwy eu hunain, yn cymeryd i mewn ychwaneg na hyn. Argraff gyfeiliornus hollol yw hono am danynt, er ei bod yn bur boblogaidd, iddynt gilio allan o'r byd i ddianc ei demtasiynau. Naddo hwy, o leiaf bawb o honynt; ac nid oes grym yn ganlynol yn sylw goganus y doethawr Dr. Johnson—pa un a ganmolir mor uchel am fod yn synwyrlawn a gwatwarol anghyffredin,—"Fod myned i fonachlog rhag ofn anfoesoldeb yr un peth a thori ymaith ddwylaw rhag ofn lladrata"—mewn cysylltiad â hyny. Nid yw yn gymhwysiadol atynt hwy, faint bynag o reswm a all fod ynddo, mwy nag iaith yr hyn a eilw Milton yn "rhinwedd enciliol a chauedig i fyny," yr hwn a wna i ddywedyd,

"——— let us live and lie reclined,
On the hills, like gods together, careless of mankind."

Dynion fel hwy i ffòi! na syrthied neb i'r amryfusedd o dybio y fath beth. "Cystal," meddai yr ysgrifenydd Americanaidd, Dr. Emerson, wrth drin hyn mewn modd grymus, "fyddai siarad am Bonaparte yn ffoi, pan aeth ef a'i ddirieidweision o'r chwyldröad i orchfygu y Mameluciaid yn yr un Aipht hanner can' mlynedd yn ol. Na, aethant hwy i'r anialwch o bwrpas, rai o honynt i ymladd â, a gorchfygu yr ysbrydion drwg yn eu lloches ddiweddaf yn y lleoedd sychion hyn, lle y tybid eu bod wedi eu gyru a'u

halltudio, gan y Gristionogaeth a ymledanai. Oddiwrth hyn galwent eu hunain, mewn ffordd o euogrwydd, 'yn filwyr yr Arglwydd,' a llafarent am y cythreuliaid yn llefain allan yn erbyn eu hanghyfiawnder yn goresgyn eu tiriogaeth, ac yn aflonyddu arnynt."

"Na," ychwanega yr un ysgrifenydd diduedd, yn gystal â champus, ymhellach—sylwadau addysgiadol a gwerthfawr yr hwn ar y rhan hon o'r mater a ddylent yn ddiau gael eu coffâu a'u hadysgrifenu genym—"nid eiddilod natur oedd y dynion hyn. Yr oedd eu hanturiaeth ëofn, er enghraifft, yn peryglu eu hunain yn unig ac anarfog i ruthriadau bwystfilod gwylltion y diffaethwch, megys y gwelir yn amgylchiad Antwn, yn gyfryw fel ag o hono ei hun i fynu parch dyfnaf y miloedd Saraceniaid crwydrol. Yr oedd ganddynt o leiaf wroldeb a hunanymwadiad, a dyfal barhâd haiarnaidd, os nad oedd ganddynt ddim arall gwell. Garw na chyfarwyddesid y priodoliaethau rhagorol hyn oeddynt mor anghenrheidiol y pryd hwnw i'r cenadwr, a ddygai y groes i drigfanau cenedloedd anwar, gan ddoethineb well. Garw na ddaethai i feddwl yr Antwniaid a'r Pauliaid, yn lle camgymeryd ôl y cythreuliaid a fwrid allan, i fyned â'r efengyl i'r diffeithdir moesol hwnw, trigfeydd y Gothiaid, â'r Vandaliaid, â'r Huniaid mwy ffyrnig fyth, pa rai oeddynt yn fuan i oresgyn wyneb teg Ewrop Gristionogol fel ellyllon; neu i gynniweirfëydd y Saraceniaid hyny, pa rai oeddynt heb fod yn hir i yru Cristionogaeth o Asia ac Affrica. Pwy a all ddychymygu y canlyniadau gwahanol, a mwy bendithfawr, pe deallesid y wyddiant o fyw yn dduwiol yn well, a phe troisid yn ganlynol y llanw ymruthrol hyd yn hyn o wroniaeth Cristionogol, yn y drydedd a'r bedwaredd ganrif, yn ôl i'w rhedlëoedd apostolaidd o anturiaeth cenadol oedd yn awr yn sychion!"

Mae yr ymddëolwyr llwyrymwrthodol cyntaf yn cael eu cyflwyno i ni mewn un wedd arall, anghenrheidiol dros ben i'w gwybod tuag at brisio eu cymeriad yn iawn, a'n cymhwyso i ffurfio barn deg am danynt. Dynion haiarnaidd fel yr oeddynt mewn penderfyniad a glewder, a "milwyr" fel y galwent eu hunain, yr oeddynt ymhell iawn er hyny o goleddu ysbryd dygasog, ac ymgymeryd âg ystum ryfelgar tuag at eu cyd-ddynion. Y mae yn anghyfiawnder mawr â hwy i letya unrhyw feddwl o'r fath yn eu cylch; canys yn hollol i'r gwrthwyneb i hyn ydoedd y ffaith, meddir. Mae yn wir eu bod ar un olwg yn wŷr, beth bynag am fod yn fwy na gwŷr, mewn dewrder, eithr yr oeddynt ar yr un pryd mewn golwg arall mor dyner eu teimladau â gwragedd. Bod yn ddyoddefus, mwyn, llariaidd, hyd yn nôd tuag at eu gelynion, ydoedd eu nôd gwastadol. Yn ol eu hiaith hwy eu hunain, rhyfelent ar eu gliniau. Os tarewid hwy ar y naill rudd, troent y llall hefyd, o herwydd yn llythyrenol, yn yr ystyr fanylaf fel hyn, y deonglent yn wallus ddigon orchymynion moesol yr efengyl. Yn annhebyg i'r eithaf i'w holynwyr trystfawr a therfysglyd—mynachod Eglwys Rhufain—ni wrthwynebent ddrwg. Ni wnaent gymaint â niwed i'r grëadigaeth anifeilaidd, ddireswm; ac ymffrostient fod hyd yn nôd fwystfilod gwyllt y maes mewn heddwch â hwythau. Dyna rai o'r pethau pwysicaf cysylltiedig â mynachaeth gyntefig yn yr eglwys Gristionogol; neu yn hytrach ddarlun bras o'r meudwyaid cyntaf, fel y mae wedi cael ei dynu gan eu cyfeillion a'u cydoeswyr.

Er hyn oll, beth bynag a ellir ei ddwyn ymlaen ymhlaid ymneillduwyr llymfucheddol didryfaidd yr oesau boreuaf, nid ellir cyfiawnhâu mynach-

aeth. Mae yr egwyddor yn ddrwg ddiobaith; ac nid all dim achub egwyddor ddrwg, er fod llawer i achub enw da dynion wedi cael eu twyllo a'u harwain ar gyfeiliorn ganddi. Dyma yn amlwg fel y bu gyda y dirwestwyr boreuaf, canys rhaid i ni gredu am lawer o honynt mai cael eu twyllo a'u camarwain a ddarfu iddynt gan eu hegwyddor. Ni ddeallasant beth oedd yn eu dwyn yn gaeth. Cael eu llygad dynu a'gawsant gan yr hyn a ymddangosai iddynt hwy yn angel y goleuni, er mai Satan wedi ymrithio felly ydoedd, serch hyny, fel y ceisiwn ddangos pa fodd yn y man.

Yr ydym am brysuro ymlaen yn fawr, ac eto nis gallwn adael y rhan hon o'n mater, a dyfod at yr hyn y bwriadwn gysegru rhelyw ein hysgrif bresennol iddo, heb roddi gocheliad caredig—ac anghenrheidiol, fe ddichon —ynglŷn â'r olwg hael hon ar fynachaeth, neu yn hytrach fynachod boreuol, mewn amddiffyniad, cân belled ag y mae ffeithiau diymwad yn gwarantu i ni wneyd hyny, rhag i ni yn ddiarwybod ac yn groes i'n dymuniad wneuthur drwg, nac hyd yn nôd roddi yr achlysur lleiaf iddo, wrth geisio gwneyd cyfiawnder â'r meudwyaid cyntaf; oblegid ychydig o bethau sydd wedi bod, ac yn parhâu i fod, yn fwy peryglus i'r eglwys Gristionogol na chrediniaeth go gyffredinol nas gallai peth drwg fod wedi cael ei osod ar droed gan ddynion da, ac i ddyben da. Dylanwadir yn rymus i'w ryfeddu arnom gan enwau dynion. Yr ydym yn ymlynu yn ystyfnig wrth eu traddodiadau a'u sefydliadau, pa mor ddireswm a beius bynag y byddo hyny. Blinir ni yn fynych gan ymostyngiad rhy ufudd, dall, a gwasaidd, i bethau o'r fath hyn yn wladol, yn gystal ag yn eglwysig. Delir at ryw drefniadau yn dŷn a diollwng, yn unig ac yn gyfangwbl o herwydd rhyw enw o fri cysylltiedig â'u cychwyniad, er y bydd y pethau eu hunain yn hollol ddiles, gwrthun, a rhwystredig. Y mae pob llygriad o Gristionogaeth Apostolaidd ymron, hyd nôd Jesuitiaeth ei hunan, wedi cael ei ddechreu a'i sefydlu gan ddynion da, yn ol pob ymddangosiad, ac i ddyben da—yn broffesedig yn sicr. Yn bendifaddeu, yr ydym am osod pwys ar hyn, gan y sonir yn uchel a chroew bellach, gan rywrai yn ein gwlad, a hyny ymhlith Protestaniaid mewn enw, am ddychwelyd at fynachaeth fel cangen bwysig o Gristionogaeth gyntefig, fel yn ddiau y mae; ond ddim o Gristionogaeth Apostolaidd, er ei holl ffrwythau alaethus a thrychlawn, a'r holl oleuni ychwanegol sydd genym ni yn y dyddiau hyn, yr hyn a fuasai yn anhawdd ei gredu amryw flynyddau yn ol. Y mae y Puseyaid, fel y gwyddys yn dda, ac fel y crybwyllasom yn flaenorol, yn ei gefnogi yn galonog ac aiddgar, fel hanfodion eraill Pabyddiaeth, dan rith adgyfodi ac adfywio Cristionogaeth gyntefig bur; ac nid yn ddilwyddiant, ysywaeth, ychwaith.

Ni a ddeuwn weithian i roddi ychydig o atddodiad, neu ôlddodiad, i hanes mynachaeth trwy lanw i fyny yr amrywiol amgylchiadau hyny a arweiniodd iddo, ac sydd yn gydwëedig â'i gychwyniad a'i ddadenhuddiad yn yr Eglwys Gristionogol.

Y mae Mynachaeth Gristionogol, fel y gwelsom, yn afon fawr lifeiriol, lydan, ddofn, nid yn unig erbyn y ddeuddegfed neu y drydedd ganrif ar ddeg, pan ydoedd yn ei uchder mwyaf, eithr y mae wedi cyrhaedd y wedd hon yn ystod yr oes Niceaidd;* ac wrth ei dilyn i fyny i'w tharddle (os

* Rhag ofn fod rhyw faint o ddyeithrwch yn y term hwn i ambell un, pa un ydym wedi arfer rai gweithiau erbyn hyn, ac y dychymygir fod mwy o ddirgelwch ynddo nag y sydd gan rai nad allant gael allan yn union a rhwydd beth a ddynoda, ni a ddefnyddiwn y cyfleusdra hwn i hysbysu y golwir ac yr adnabyddir y bedwaredd ganrif wrth yr enw hwn

gellir gwneyd hyny hefyd yn llwyddiannus, yr hyn a ammheuwn braidd,) neu oddiyno i waered, cawn fod iddi amrywiol ffrydiau cynnorthwyol—mwy neu lai eu swm—yn arllwys eu cynnwysiad iddi y naill ar ol y llall, ar y naill ochr a'r llall; ac i rai o'r rhai hyny eilwaith geinciau mwy neu lai braisg, yn ei chwyddo i'w maintioli dirfawr, dychrynllyd, a difrodol; pa rai yr awn ymlaen bellach i ddal sylw arnynt yn fwy neillduol ar eu penau eu hunain, a'u holrhain yn helaethach; yr hyn, fe allai, yw y peth mwyaf dyddorol ynglŷn â'n mater.

Ni a ewyllysiem yn fawr allu gwneyd rhyw fath o ddosbarthiad o honynt —athronyddol, neu amseryddol, neu ryw drefn i ba un y gellid eu crynhoi; oblegid fe ddysgwylir hyn, neu rywbeth o'r fath oddiwrthym, dybygid, gan rywrai o leiaf, a theimlem ninnau yn falch yn ein calon i allu cyfarfod i ryw fesur â'r gofyn. Eithr yr ydym yn anobeithio braidd gael y pleser, a chynnysgaethu y nwydd. Yr ydym wedi bod yn aros ychydig arnynt, ond yr ydym yn methu canfod llawer o debygolrwydd rhyngddynt â'u gilydd—neb o honynt—fel ag i'n galluogi i'w dosbarthu yn gyfatebol a gwahaniaethol i foddlonrwydd. Hwyrach fod er hyny y fath beth yn bodoli, er ei fod y tu hwnt i'n golwg ni. Y mae hyny, pa fodd bynag, yn ddigon amlwg yn gyffredin rhyngddynt oll i ryw radd,—y maent yn sefyll mewn perthynas â mynachaeth fel achlysuron neu gymhelliadau iddo, ïe y maent yn rhyw fath o achosion o hono, fel y dywedasom eisoes, er eu bod yn dra annibynol ar eu gilydd—yn ymddangosiadol, beth bynag—er iddynt oll gydarwain i fynachaeth. Lle y byddo ychydig mwy na'i gilydd o debygolrwydd a pherthynas, yn ein barn ni, ni a'i nodwn allan wrth gwrs. Yr ydym yn credu ei fod yn disgyn arnom i wneyd hyny. Gadawer i ni ychwanegu, trwy rag-grybwyll ei fod yn ymddangos i ni fod rhai o honynt yn fwy anianyddol, lleol, a chenedlaethol, tra y gwelir fod eraill yn fwy moesol a chyffredinol: rhai yn fwy damweiniol ac amserol, eraill yn fwy anghenrheidiol a pharhäol. Yr oedd rhai o honynt drachefn yn fwy arwynebol a therfynol, tra yr oedd eraill ar yr un pryd yn fwy dwfn ac effeithiol; a rhai yn fwy disymwth a thrancedig, ac eraill yn fwy graddol ac arosol. Eilwaith, yr oedd rhai o honynt yn fwy beïus, tra yr oedd eraill yn fwy esgusodol, beth bynag am gyfiawnadwy; ac fe allai y gallem ychwanegu fod rhai o honynt yn fwy o ddewisiad, tra yr oedd eraill yn fwy o orfodaeth. Y maent hefyd i'w gwahaniaethu ymhellach yn eglur, os nad ellir eu dosbarthu yn gyfleus, i rai â mwy o law yn ei genedliad dechreuol a'i gynnyrchiad cyntaf, tra yr oedd eraill yn gwasanaethu yn fwy i'w gynnydd a'i ledaniad dilynol.

gan yr haneswyr eglwysig cyffredin, yn gystal a chan efrydwyr hanesiaeth eglwysig yn gyffredinol. Cymhwysir ef, yn fwy neillduol fyth, at hanner blaenaf y bedwaredd ganrif, o herwydd i Gynghor neu Wyslys mawr Nice, neu Nicea, tref yn Asia Leiaf—y cynghor eglwysig cyffredinol cyntaf, pa un a alwyd ynghyd gan yr Ymherawdwr Cristionogol cyntaf, Cystenyn. Dyma y Cynghor, cofier, a ymofynodd yn benaf a chyntaf ynghylch ffurf yr ymadroddion iachus, ac a ddadganodd yn awdurdodol beth oedd uniongred, yn enwedig gyda golwg ar Berson Crist. Cynnaliwyd ef yn y flwyddyn 325 O.C. Gelwir y cyfnod blaenorol i hyn yn Gyn-Niceaidd, a'r un a ddilynodd yn uniongyrchol yn Ol-Niceaidd. Mae y rhaniad hwn yn un o bwys. Y mae yn un sydd ymhell o fod yn gelfyddol, cywrain, neu goegddysgedig. Y mae yn sylfaenedig yn natur pethau. Y mae ffeithiau yn ei wirio yn ddigonol. Hynodid y blaenaf gan newyddiaethau gormesol a melldigedig yn yr eglwys, a gweddnodir yr olaf gan ymddadenhuddiad helaethach ac addfediad llawnach y rhai hyn; ac y mae yn ffaith lled nodedig, ond eithaf gwir, na chododd odid i gyfeilornad, os un, mewn barn na bywyd, mewn amserau diweddarach yn yr eglwys neu allan o honi yn ymosodiad arni, nad yw ei gynddelw i'w gael yma.

Mae yn disgyn arnom, yn ein hymgais i gyflawni y rhan hon o'n gorchwyl, gyfeirio yn gyntaf oll at Asceticiaeth, ac ymhelaethu ychydig arno, yn gymaint a'i fod mor amlwg a diddadl fod y berthynas agosaf yn hanfodi rhyngddo â mynachaeth. Llymfucheddiad Cristionogol yn ddiau, a ddilyn ein cymhariaeth, yw y ffrwd gysborthol fwyaf o lawer, ag sydd yn rhedeg gyntaf, dybygid, i fynachaeth, os nad ydym i'w olygu fel ei brif ffynnonell a'i ystrym. Y mae yn eglur yn myned i fewn i'w hanfod, ac yn gwneyd i fyny un o'i elfenau mwyaf cyfansoddol a bywydol. Ar yr un pryd, gellir yn hawdd wahaniaethu rhyngddynt, er nas gallwn weled yn wych pa fodd y gellir eu gwahanu yn gwbl, fel y dywed rhai y gellir. Mae yn wir fod y gair mynach, yn ol fel ei defnyddir yn arferol, yn ëangach ei ystyr na'r gair Ascetic, ac nad oedd yr Asceticiaid i gyd yn fynachod, hyd yn nôd wedi cyfodiad mynachaeth, chwaithach cyn hyny, pryd nad allent fod, er fod y mynachod—y rhai cyntaf o honynt beth bynag—yn Asceticiaid heb eithriad. Yr oedd hefyd ryw wahaniaeth bychan, arwynebol, rhyngddynt ar gyfrifon allanol eraill, gyda golwg ar amser a ffurf, ynghyd a'r amgylchiad nad oedd yr holl fynachod ond gwŷr lleyg, tra yr oedd Asceticiaid yn llanw pob swyddau eglwysig yn ddiwahaniaeth. Yr oedd y mynachod, pa fodd bynag, yn ddewisadwy i swyddau, a daethant yn ebrwydd yn rhai dewisol iawn hefyd. O'u plith hwy yr etholid y prif swyddogion, hyd yn nôd esgobion, fynychaf o lawer. Mynachod y gelwid y rhai a ymneillduent allan o'r byd i anialdiroedd anghysbell, ac a drigent mewn lleoedd anghyfannedd, neu grefydd-dai cyfluniedig; tra y cymhwysir yr enw Asceticiaid at ddynion oeddynt yn byw, llawer o'r rhai boreuaf o honynt, mewn dinasoedd, &c., fel dynion eraill, gan ymgymysgu, mor bell ag y byddai galwad, â'r byd, ond ddim yn cydymffurfio âg ef; ac i'w gwahaniaethu oddiwrth eraill yn ddigon hynod trwy fyw yn llymach ac yn well na hwy. Hyn yn benaf wedi ei gyplu â threfn amser—y ffaith syml fod y naill wedi dygwydd rhagflaenu y llall—yn y diwedd, fe allai, sydd yn eu gwahaniaethu yn wahanredol, os nad dyma yr oll o'r gwahaniaeth oedd rhyngddynt. Dechreuasai ymgadw gerwin, a llymder mewn dull o fyw, ffynu yn yr eglwys Gristionogol yn gynnar yn yr ail ganrif, tra nad ymffurfiodd mynachaeth hyd yn ail hanner y drydedd, neu yn fore yn y bedwaredd ganrif. Ond yr un peth oeddynt yn ngwahanol deithraddau ei hanes. Nid oes dim yn fwy goleu a dilys nag i'r egwyddor lwyrymwrthodol, lèm, barotôi y ffordd ac arwain ar ei chyfer i'r bywyd mynachaidd, ac ymgyfuno a chydymgorffori âg ef. Hi ydoedd yr ansawdd a dreiddiai trwy fynachaeth. Yr ydoedd ymhleth trwy ei ystof a'i anwe. Nid oes mwy o wahaniaeth rhyngddynt, ar y mwyaf, nag sydd rhwng rhiant a'u hiliogaeth, neu yn fwy priodol rhwng baban a dyn cyflawn dŵf. Yr hedyn a'r eginyn, neu yr eginyn a'r dywysen, a esyd allan yr oll o'r gwahaniaeth sydd rhyngddynt. Llymfucheddiaeth wedi ymddadblygu a'i gario i'w eithafion, neu i'w ganlyniadau priodol, gydag ychwanegiad bychan iawn, ydyw mynachaeth. Ond nid profi mai yr un yn hollol yn yr ystyr fanylaf ydoedd Asceticiaeth a mynachaeth foreuol ymhlith Cristionogion ydym am wneuthur. Y mae yn llawn cymaint i'n pwrpas ni allu dangos fod perthynas agos iawn rhyngddynt, yr hyn sydd ddigon hysbys a diammheuol, a phrofi eu hunrhywdeb manwl. Yn awr, gan fod llymfucheddiaeth yn llanw lle mor nodedig mewn cysylltiad â mynachaeth, ni thâl i ni fyned heibio heb draethu rhywfaint yn helaethach ymhellach arno.

Mae yr enw Asceticiaeth yn tarddu o air Groeg, sydd i'w gyfieithu yn ein hiaith ni yn *ymarfer yn ddyfal*, neu rywbeth lled debyg; a chymhwysir ef, fe ymddengys, yn lled fynych gan ysgrifenwyr Groegaidd, at ymladdwyr ac ymdrechwyr eraill y campau oedd yn eu mysg, pa rai a ymbarotöent trwy ddirwest gyferbyn â'u hymdrechion priodol. Yn ganlynol, mae yn ymddangos i'r gair ddyfod i gael ei ddefnyddio i ddynodi y sawl a ymgadwent oddiwrth fwyniannau anianol, ac a ddilynent fywyd manwl a gofalus, er mwyn hunanddysgyblaeth a chynnydd mewn ymarferion rhinweddol. Yr oedd dilyn buchedd bur a llemdost, gynnwysedig mewn diweirdeb, tlodi, gwyliadwriaethau, ymprydiau, ac ymneillduedd, yn cael ei alw yn *ascesis* gan y Stoiciaid a'r Pythagoriaid.* Prin y mae eisieu i ni ailddyweyd fod pob peth o'r fath o darddiad dwyreiniol. Yr oedd ar led yn fawr iawn, mae yn debyg, mewn gwahanol gysylltiadau a ffurfiau yn Asia a dwyreinbarth Affrica gynt; ac y mae India, er na wyddys hyny yn gyffredin, yn llawn o hono heddyw. Y mae sefydliadau mynachaidd yn lliosog iawn yno. Y mae o saith i wyth cant o ardebion o hen fynachlogydd yn adnabyddus yno y dydd hwn, a llawer yn ychwaneg, mae yn debygol. Y mae mynachlogydd anferthol yn Thibet—rhai, yn ôl M. Huc, yn cynnwys pymtheng mil o rai yn proffesu y grefydd Fuddhaidd. Y mae yr offeiriaid Buddhaidd yn cymeryd llŵ o weddwdod a thlodi, ac yn byw ar gardota. Yr oedd hyn, fel y gwelsom, yn un o brif deithi Esseniaeth, ac yn ngafael â'r Therapentæ.

Nid ellir darllen hanesyddiaeth eglwysig foreuol heb ddyfod yn gyfarwydd â'r geiriau *ascesis* ac *ascetai*—y rhai a ddefnyddir i ddynodi ymattaliaeth ac ympryd mwy na chyffredin, ac yn enwedig ymgadw oddiwrth bob bwydydd symbyliadol er mwyn marweiddiad—ynghyd â'r Cristionogion a wnaent hyny. Yr ydym wedi ein cynnysgaethu â digon o hysbysrwydd o barth i'r llymfucheddwyr gynt, fel ag i wybod eu bod yn cael eu rhanu i ddau ddosbarth,—yr *Abstinentiaid*—gair cyfystyr âg ymattalwyr—sef y rhai a ymgadwent oddiwrth bob moethau, a'r *Continentiaid*, neu ddiweirwyr, sef y rhai a ymgadwent yn ddibriod gyda hyny, ac a ystyrid fel wedi cyrhaedd gradd uwch mewn sancteiddrwydd. Mae yr hanesydd eglwysig Mosheim, yn eiu hysbysu i syniad cyfeiliornus a dinystriol gael ei ddysgu yn yr ail ganrif, a fu yn feithrinol iawn i lymfucheddiad,—sef fod Iesu Grist wedi sefydlu rheol ddeublyg o rinwedd a sancteiddrwydd i ddau ddosbarth gwahanol o Gristionogion. Yr oedd y naill o'r rheolau hyn yn gyffredin, y llall yn anghyffredin; y naill o urddas israddol, y llall yn fwy ardderchog; y naill i ddynion yn nghanol bywyd gweithgar, y llall i'r rhai hyny a hiraethent mewn ymneillduedd cysegredig, ac a ymgeisient yn awyddus, am ogoniant y nefoedd. Gwnaeth y syniad peryglus hwn, meddir, iddynt ranu yr holl athrawiaethau a chyfarwyddiadau moesol a dderbyniasent, pa un bynag ai trwy draddodiad ai ysgrifen, i ddau ddosbarth. Galwent y naill ddosbarth o'r rhai hyn yn orchymynion, a'r llall yn gynghorion. Rhoddasant yr enw gorchymynion i'r deddfau hyny oeddynt rwymedig ar bob math o Gristionogion yn gyffredinol; a chynghorion ar y rhai a berthynent i Gristionogion o radd mwy dyrchafedig, y rhai a osodent ddybenion goruchel a gogoneddus iddynt eu hunain, ac a ymddyheuent yn ddwys am gymundeb agosach â Duw, a mwynhâd helaethach o hono. Yn wir, y mae

* Gwel "*Penny Cyclopædia*," a'r "Gwyddoniadur Cymreig," dan y gair.

yn eithaf eglur nad allai dysgeidiaeth o fath hon lai nag achlesu llymfucheddiad yn fawr, a chynnyrchu Asceticiaid yn doreithiog. Ar yr un pryd, er nad ydym am ryfygu gwrthddadlu yn erbyn yr hyn a osodir ar lawr gan Mosheim, ac a dderbynir yn ddïeithriad gan ysgrifenydd yr erthygl ar Asceticiaeth yn y "Gwyddionadur Cymreig," ni a grefwn yn ostyngedig am ganiatâd i wahaniaethu ychydig oddiwrthynt ill dau ynghylch y mater hwn. A ellir lai na dal Asceticiaeth yn y cyfryw ddysgeidiaeth? Onid yw yn drwythog o hono? onid oedd yn gynnyrch yr ysbryd llymfucheddol, lawn gymaint ag oedd yn gynnyrchiol o hono, o ba le bynag y daeth; nid yw o un gwahaniaeth pa un ai naturiol ai wedi ei atgludo ydoedd? Felly y tueddwn ni i dybio. Onid yw y ffaith yn ddangosiad o sefyllfa pethau ar y pryd gyda golwg ar hyn? Nis gallwn lai na drwgdybio llymfucheddiaeth o fod â llaw yn nargrybwylliad y syniad, pa un bynag a oes cyfathrach rhyngddo â Gnosticiaeth, ynte Iuddewaeth, neu ryw ffynnonell arall heblaw y natur ddynol lygredig. Eithr ni a ewyllysiem olrhain llymfucheddiaeth ychydig ymhellach cyn troi i nodi allan ei achosion. Yn ol tystiolaeth Neander,* arferai y dynion hyny a gysegrent eu bywydau i fyfyriaeth, ymhlith y Paganiaid, lymfucheddiad yn yr ystyriaethau a goffhäwyd. Yr oedd y geiriau athronydd ac Ascetic yn gyfystyr. Dynodai y gair "athroniaeth" gyfeiriad a gogwyddiad yr holl fywyd. Eithr nid oedd, mae yn debyg, erbyn hyn ond mwgwd rhagrithiol yn amgylchiad rhai o honynt. Yn awr dygwyddai weithiau, fel y dangosasom yn ein hysgrif flaenorol, fod rhai o'r llymfucheddwyr Paganaidd yn cael eu harwain gan eu hymdrechfeydd difrifol am berffeithrwydd i gofleidio Cristionogaeth, ac wedi dyfod yn Gristionogion, ymlynent o hyd wrth eu harferion blaenorol o fyw. Mabwysiadodd eraill, yn y rhai y cynnyrchasai Cristionogaeth yn gyntaf duedd mwy difrifol y dull hwn o fyw, fel arwydd o'r cyfnewidiad a weithredasid ynddynt. Gallent a gwnaent ddefnydd o'r sylw a dynent trwy ymddangos yn gyhoeddus wedi ymwisgo â'r τριβῶν—mantell yr athronydd, ac o'r parch a delid iddynt gan y llïaws ar gyfrif eu dull o fyw, i gael ymddyddan â'r rhai hyny—pa un bynag ai o barch ai o gywreinrwydd—a ymgasglent o gwmpas iddynt yn eu rhodfeydd cyffredin, agored, neu yn y lleoedd yr ymgyrchent iddynt, i gyflwyno Cristionogaeth iddynt fel yr athroniaeth newydd a nefol ydoedd wedi dyfod o'r dwyrain. Diau ei fod yn ddarlun wedi ei gymeryd oddiwrth bethau fel yr oeddynt yn yr amseroedd hyny, lle y dywedir wrthym gan Justin Ferthyr iddo un bore, pan wnaeth ei ymddangosiad yn ei rodfa gyhoeddus, gael ei gyfarch yn y man gan amryw yn yr iaith, "Bore dá, athronydd;" tra yr ychwanegodd un o honynt fod ei athraw wedi ei rhoddi yn wers iddo byth i ddiystyru mantellyr athronydd, ond i roesawu y sawl a'i gwisgent gyda phob moesgarwch, ac i geisio eu tynu i ymddyddan. Arweiniodd hyn i gydymddyddan ar nodau gwir grefydd a Christionogaeth.

*(Heb ei orphen.)*

* *Neander's "General Church History," Clark's Foreign Theological Library*, cyf. I., 375.

---

D.S.—Gan fod gwallau o bwys yn argraff ein hysgrif flaenorol ar Fynachaeth yn y TRAETHODYDD, Rhif. LIV., ni a ddefnyddiwn y cyfleusdra presennol i'w diwygio. Tu dal. 261, y 10fed linell o'r gwaelod, yn lle "y dyn,"—*ydyw;* y 7fed linell o'r gwaelod, yn lle "dillynwiw," darllener *dylynwiw*. Eto, tu dal. 267, y 19eg llinell o'r top, *ydyw* eilwaith yn lle "y dyn." Ond y mwyaf pwysig, a digrif ar unwaith, sydd yn nhu dal. 274—y llinell gyntaf ar ben y ddalen. Yn lle "unig o hyn"—nis gwyddom beth oeddid yn wneuthur o hyn fel y mae—dylasai fod yn *unigolyn*—un ar ei ben neu wrtho ei hun.

# Nodiadau Llenyddol.

Er i'r wasg Seisonig yn ystod yr hâf fod yn fwy digynnyrch nag arferol, hyd yn nôd yn y misoedd ag sydd bob blwyddyn yn ddiarebol am ei marw-eidd-dra llênyddol, y mae, yn yr wythnosau diweddaf, wedi adfywio gyda grym mawr, ac wedi bwrw allan rai o'r llyfrau galluocaf a gwerthfawrocaf i lênyddiaeth a chrefydd, a gyhoeddwyd er ys llawer o amser. Yn wir, ni chollai rhai o honynt, mewn cystadleuaeth dêg, âg odid lyfr a gyhoeddwyd er dechreuad y ganrif bresennol. Y mae holl awyddfryd ein cyhoeddwyr mwyaf am destynau dyddorol ac awdwyr dylanwadol, cyn ymollwng i an-turiaethau pwysig, wedi ei gyfarfod i raddau anghyffredin.

Y llyfr sydd wedi tynu mwyaf o sylw, fel y gallesid dysgwyl wrth gofio pwy yw yr awdwr, ydyw *History of Friederich* II. *of Prussia, called Frederick the Great. By* Thomas Carlyle. *In four volumes.* Gwyddid er ys blynyddoedd fod Mr. Carlyle yn cyfansoddi y llyfr hwn, ac yr oedd dysgwyliad mawr am ei ymddangosiad. Er y gallesid meddwl fod ei bris uchel, punt y gyfrol, yn ei daflu allan o gyrhaedd y lliaws, eto fe werthwyd yr argraffiad cyntaf o hono yn ddioed. Ymhen ychydig ddyddiau wedi ei gyhoeddiad, yr oedd y *llyfrwerthwyr* yn cynnyg uwchlaw y pris cyntaf am dano. Y mae yr ail-argraffiad o hono yn awr allan, ac yn gwerthu yn brysur. Yr oeddem wedi gweled yn rhywle fod yr awdwr yn amcanu rhyw gyfnewidiadau ac ychwanegiadau yn yr ail argraffiad; ond cân belled ag y gallem ni weled, trwy sylw cyffredin ar y cyfrolau, nid yw y naill ond copi hollol o'r llall. Dwy gyfrol sydd eto wedi eu cyhoeddi, ac y mae yn dra ansicr pa bryd y cyhoeddir y gweddill. Y mae yr awdwr wedi bod yn ddiweddar ar y Cyfandir yn olrhain llyfrgelloedd, ac yn astudio maesydd brwydrau a buddugoliaethau ei wron, ac yn awr yn ddyfal yn parotôi y ddwy gyfrol arall. Nid yw yn y cyfrolau hyn yn dwyn ei wrthddrych ond hyd at ddiwedd einioes ei dad; ac y mae llawer iawn o'r gwaith yn cael ei wneyd i fyny gydag adroddiad o'r hyn a ddyoddefwyd ganddo pan yn dy-wysog, yn y naill ffordd a'r llall, o herwydd ystranciau hwnw. Mae y tuedd cryf sydd yn Mr. Carlyle i dalu gwarogaeth, bu agos i ni ddywedyd addol-iad, i *nerth* cymeriad fel y cyfryw, yn annibynol i raddau mawr ar y *cyfeir-iad* a gymer y nerth hwnw, yn dyfod i'r golwg yn amlwg, er ar rai prydiau yn dra digrifol, yn y swyn sydd gan dad Frederick arno. Prin, a chymeryd ffeithiau Carlyle ei hunan, yr oedd ynddo un elfen hawddgar i feddwl cyffredin; eto y mae yn eglur mai anhawdd iawn ganddo ef ydyw cydnabod bai ynddo. Ond nid ydym yn amcanu traethawd ar yr hanes. Ni a ym-drechwn gymeryd hamdden, rywbryd, i roddi rhyw grynodeb ac esiamplau o hono i'n darllenwyr, yr hyn fyddai yn gwbl anmhosibl mewn nodiad fel hyn. Y mae yn eglur bod yr awdwr galluog wedi rhoddi ei holl enaid i'r gorchwyl sydd ganddo mewn llaw; gan ei amcanu, y mae yn ddiammheu, fel un o brif, os nad prif gyfansoddiad ei fywyd. Y mae yn anmhosibl ei agor ar unrhyw du dalen bron heb weled ei athrylith ddysglaer yn pelydru drwyddo.

Llyfr o nodwedd pur wahanol, ond nid llai galluog yn ei gylch ei hunan,

na llai pwysig, yn ein bryd ni, i lenyddiaeth y byd, ydyw, *The History of Herodotus. A new English version. Edited with Copious Notes and Appendices, illustrating the History and Geography of Herodotus, from the most recent sources of information; and embodying the chief results, Historical and Ethnographical, which have been obtained in the progress of Cuneiform and Hierograghical Discovery. By* George Rawlinson, M.A., *late Fellow and Tutor of Exeter College, Oxford. Assisted by* Col. Sir Henry Rawlinson, K.C.B., *and* Sir J. G. Wilkinson, F.R.S. *In four volumes, with Maps and Illustrations.* Yr ydym wedi rhoddi y teitl yn gyflawn, am ei fod yn ddysgrifiad cywir o amcan y llyfr, a bod y llyfr ymhob modd yn ateb iddo. Yr oedd y gwaith hwn hefyd wedi ei addaw er ys blynyddoedd, a dysgwyliad mawr am dano. Ac y mae yn anhawdd genym feddwl y bydd neb yn teimlo unrhyw siomedigaeth ynddo. Mae yn cynnwys ffrwyth ymchwil mor fanwl, a llafur mor fawr, mewn cylchoedd mor ddyeithr, ac yn ngoleuni defnyddiau oeddent, hyd y blynyddoedd diweddaf, yn guddiedig hollol oddiwrth y byd oll, ac yn arddangos trwyddo y fath bwyll a barn ar yr amrywiol destynau a ddygir ynddo dan sylw, fel ag y gellir, yn ddibetrus, ei olygu fel y prif gyfraniad a wnaed er ys llawer oes, os nad mewn unrhyw oes, tuag at ddadguddio nodweddau personol, defodau cymdeithasol, a helyntion gwladol, yr hen amseroedd. Nid yw gwaith Herodotus ei hunan yn cymeryd i fyny ond ychydig, mewn cymhariaeth, o'r llyfr. Y mae y rhan fwyaf o lawer o hono yn nodiadau gwerthfawr, ac yn draethodau gofalus, dysgedig, a thrwyadl, yn ngoleuni y darganfyddiadau a wnaed yn yr Aipht, yn Assyria, ac yn Caldea, yn gystal ag yn ngoleuni pob awgrymiad o eiddo pob hen awdwr atynt, ar y cwestiynau dyddorol, ond anhawdd eu penderfynu, sydd yn cyfodi yn naturiol yn y meddwl ymofyngar wrth ddarllen yr hanes. Yn yr ymchwiliadau hyn y mae ffyddlondeb yr hen hanesydd i'r gwirionedd, cân belled ag y cyrhaeddai ei fanteision ef i'w wybod, yn cael yn fynych ei brofi yn ddiwrthddadl; ac yn neillduol gwneir yn amlwg i ni nad oes gan yr Ysgrythyrau sanctaidd ddim i'w ofni oddiwrth unrhyw ymchwil, nac oddiwrth unrhyw ddarganfyddiad,—na wna y cwbl ond cadarnhâu eu hawl i dderbyniad gan y byd, a gwasanaethu er ffurfio dadl newydd yn mhlaid eu hawdurdod ddwyfol. Pris y llyfr ydyw deunaw swllt y gyfrol. Tair cyfrol o hono sydd eto allan o'r wasg. Dysgwylir y bedwaredd yn ddioed.

Y mae rhan o hanes Rhufain, nad oedd genym hyd yn hyn yr un llyfr teilwng arno, yn awr wedi ei gymeryd i fyny, ac yn derbyn pob cyfiawnder, yn yr *History of the Romans under the Empire. By* Charles Merivale, B.D., *late Fellow of St. John's College, Cambridge.* Y mae chwech o gyfrolau helaeth o'r gwaith wedi eu dwyn allan o'r wasg, ac y mae y cyfrolau cyntaf wedi eu hail-argraffu, gydag amryw gyfnewidiadau, ac yn neillduol ychwanegiadau, pwysig. Y mae yr awdwr wedi dwyn yr hanes yn awr hyd amser dinystr Jerusalem, o'r hyn y mae yn rhoddi i ni, yn y gyfrol ddiweddaf, mewn cylch byr, un o'r darluniadau mwyaf bywiog a brawychus a ddarllenasom erioed. Y mae y gwaith hwn drwyddo yn arwyddo y gofal mwyaf i chwilio a chymharu, gydag ymroad a phwyll, yr holl ddefnyddiau cyntefig yr oedd yn anghenrheidiol ymgynghori â hwynt tuag at osod i lawr seiliau yr hanes; gallu anghyffredin i ddarlunio cymeriadau a dysgrifio dygwyddiadau; amcan cywir hollol, dybygid, i gael allan y gwirionedd ar bob peth sydd yn dyfod dan ei sylw; annibyniaeth mwy nag sydd gyffredin

i haneswyr ar deimladau a dadleuon gwladwriaethol ei oes a'i wlad ei hunan, wrth ddarlunio amgylchiadau gwledydd ac amseroedd eraill, a ffurfiau gwladwriaethol cwbl wahanol; ac, yn neillduol, yn cadw yn y golwg yn wastad y gwirionedd mawr fod y Goruchaf yn llywodraethu yn mreniniaeth dynion. Y mae yr holl gyfansoddiad yn arddangos yr ysgolaig manwl, yr hanesydd cywir, yr ysgrifenydd galluog, a'r cristion dirodres, ond cwbl benderfynol. Y mae y gwaith hwn yn gwbl anghenrheidiol er cydio Hanes Rhufain gan Dr. Arnold, â Hanes Adfeiliad a Chwymp yr Ymherodraeth Rufeinig gan Mr. Gibbon; ac yn sicr o gadw ei le yn llênyddiaeth Ewrop a'r byd, fel cyfansoddiad o'r awdurdod uchaf, a rhestru enw yr awdwr yn mhlith prif haneswyr unrhyw oes. Y mae yn dysgwyl y gall orphen y gwaith gyda dwy gyfrol eto, er nad yw yn rhoddi un awgrymiad i ni pa bryd y byddant allan, a bod yn debygol y rhaid aros wrthynt, fe allai, am rai blynyddoedd. Mae yr awdwr yn y cyfrolau nesaf yn myned i dir llawer mwy disathr, lle y rhaid iddo weithio ei ffordd heb gymhorth unrhyw awdwyr o ddim ymddiried;—nas gall, yn fynych, gael allan y gwir ond trwy groesholi tystion celwyddog. Ond yr ydym yn dra hyderus y gorphena y gwaith, ond iddo gael ei amser ei hun, ymhob modd yn deilwng i'r modd y mae wedi ei ddwyn rhagddo hyd yma. Y mae y gwaith wedi ei gyhoeddi am bedair punt a deg swllt,—y tair cyfrol cyntaf yn bedwar swllt ar ddeg yr un—a'r tair olaf yn un swllt ar bymtheg yr un.

Testyn diddiwedd braidd i ysgrifenu arno ydyw hanes y deyrnas hon. Y mae yn awr ger bron y wlad amryw gydymgeiswyr am ei sylw, at y rhanau neillduol o hono a gymerir i fyny ganddynt hwy. Llyfr sydd yn cymeryd i mewn un o'r adegau pwysicaf a berthyn iddi ydyw, *History of England from the Fall of Wolsey to the Death of Elizabeth. By* James Anthony Fronde, M.A., *late Fellow of Exeter College, Oxford.* Mae yr awdwr wedi dwyn allan bedair cyfrol eisoes o'r gwaith, ac eto nid yw wedi dwyn yr hanes ond i ddiwedd oes Harri yr Wythfed. Mae yn cymeryd golwg nodedig o bleidgar ar y teyrn hwnw; ac er ei fod yn amlwg yn dueddol i roddi yr olwg oreu arno, eto y mae wedi dwyn i'r golwg lawer o ffeithiau a thynu sylw at lawer o amgylchiadau, sydd i fesur mawr yn rhoddi ystyr cwbl wahanol i lawer o'i ymddygiadau, i'r syniadau cyffredin sydd wedi ffynu ymhlith haneswyr yn ei gylch. Y mae yr awdwr wedi ymgymeryd â'r gorchwyl, y mae yn amlwg, gyda llwyr benderfyniad i ychwanegu os gallai, mewn gwirionedd, at ein gwybodaeth am helyntion yr amseroedd sydd ganddo dan sylw. Yn ganlynol nid yw yn boddloni ar geisio rhoddi adroddiad yn ei eiriau ei hunan o'r hen ddefnyddiau a arferasid eisoes gan haneswyr blaenorol; ond y mae wedi gwneyd ymchwil manwl, trwy lafur mawr, i hen ysgrifeniadau na ddefnyddiwyd mo honynt erioed o'r blaen. Fel cyfansoddiad y mae y gwaith, fe allai, yn tynu mor agos at berffeithrwydd a dim a ddaeth allan erioed. Y mae yn dwyn y darllenydd yn gwbl gaeth iddo ei hunan. Dygir ni ynddo yn wastadol i gyfarfyddiad â meddwl gwreiddiol o nerth mawr; ac â chalon yn gallu ymdeimlo yn ddwys â'r prydferth a'r tyner, yn gystal ag â'r mawr a'r aruchel; ac âg un sydd yn feistr perffaith ar yr iaith oreu i gyflwyno syniadau ei feddwl a theimladau ei galon ger bron y byd. Ac er ei fod fel hanes braidd yn unochrog, eto, y mae yn ddiammheu y golygir ef bellach yn gwbl anghenrheidiol tuag at gynnorthwyo yr efrydydd i ffurfio iawn olygiadau ar amgylchiadau ein teyrnas yn un o'r cyfnodau pwysicaf a

berthyn iddi. Y mae yn gwbl ansicr i ba nifer o gyfrolau yr estyn yr holl hanes; ond, od ä rhagddo yn ol y dull presennol, prin y gellir dysgwyl iddo gael ei gynnwys mewn llai na deuddeg neu bymtheg o gyfrolau. Pris y ddwy gyfrol gyntaf yw tri swllt ar ddeg yr un; a'r ddwy eraill—pedwar swllt ar ddeg yr un.

Y mae llyfr ag a fu yn dyfod allan yn *rhanau,* am flynyddoedd lawer—tua phum' mlynedd ar hugain, dybygem—yn awr wedi ei gwbleiddio: *A Dictionary of Practical Medicine, comprising General Pathology, the Nature and Treatment of Diseases, Morbid Structures, and the Disorders especially incidental to Climates, to the Sex, and to the different Epochs of Life. With Numerous Prescriptions for the Medicines recommended; a Classification of Diseases according to Pathological Principles; a copious Bibliography, with references; and an Appendix of approved Formulæ. The whole forming a Library of Pathology and Practical Medicine and a Digest of Medical Literature. By* James Copland, M.D., F.R.S., &c., &c. *In three volumes.* Dodasom y teitl yn gyflawn, oddieithr yr hyn sydd gysylltiedig â'r awdwr, am ei fod yn ddysgrifiad cywir a diymffrost o gynnwys y gwaith. Mae y llyfr hwn wedi costio i'w awdwr lafur ac ymchwil am tua deng mlynedd ar hugain, ac yn cynnwys corff o wybodaeth feddygol, mor gywir a helaeth, ag a wnelai y cydnabyddus âg o, dybygem ni, yn feistr pynciol ar arwyddion y gwahanol anhwylderau y mae y cyfansoddiad dynol yn ddarostyngedig iddynt, yn gystal ag ar wybodaeth gywir am y moddion goreu, a ddarganfyddwyd hyd yn hyn, i wrthweithio eu dylanwad dinystriol. Er fod y llyfr wedi ei fwriadu yn benaf i'r meddyg proffesedig, ac mai tra annoeth, yn y cyffredin, yw i ddyn amcanu ei wella ei hun, eto y mae y fath synwyr da yn rhedeg trwyddo, a'i ddysgrifiadau gan mwyaf mor eglur a dirodres, ag i'w wneyd yn llyfr dealladwy i unrhyw ddarllenydd meddylgar, yn neillduol os bydd wedi astudio ychydig ar y gwybodaethau cysylltiedig â'r corff dynol, sydd, erbyn hyn, yn cael eu hystyried yn rhan hanfodol o elfenau addysg gyffredin. Mae y llyfr wedi ennill iddo ei hunan ganmoliaeth uchaf rhai o brif feddygon yr oes, ac felly, ni a obeithiwn, er mwyn eu cydgenedl, na bydd meddygon y dywysogaeth yn esgeuluso tynu pob mantais oddiwrtho a allant gael er eu cynnorthwyo yn eu hymddiried pwysig. Ond yr ydym ni yn cyfeirio ato yn benaf yma, er mwyn yr egluriadau lawer, eill gweinidog yr efengyl fyddo meddylgar gael ynddo, er ei gynnorthwyo i gael allan ystyr rhai rhanau o'r Ysgrythyrau sanctaidd, ac, yn neillduol, i gyflwyno y gwirionedd ger bron ei wrandawyr, os bydd yn tueddu at ddefnyddio unrhyw gymhariaeth o'r fath, yn y fath fodd ag a'i cadwo rhag ei ddarostwng ei hunan yn ngolwg yr un meddyg deallus a allai fod yn gwrandaw arno. Y mae yn gwbl resymol amcanu at egluro yr ysbrydol trwy y naturiol; ond hynod o anhapus ydyw clywed un yn ceisio at hyny, pryd y bydd yn gwbl hawdd gweled nad oes ganddo un ddirnadaeth gywir am yr hyn a ddefnyddia yn gyfrwng yr eglurhad. Tuedd uniongyrchol y fath gamgymeriadau ydyw, peri i'r gwrandawr ammheu a yw y sawl sydd yn ceisio ei ddysgu yn gwybod dim am yr hyn y mynai ei arwain iddo; yn neillduol gan ei fod yn amlwg ar gyfeiliorn oddiwrth yr hyn sydd yn llawer nes ato. Fe gadwai ymgynghoriad â llyfr fel hwn, ar bob peth o'r fath, y pregethwr beth bynag, tra dan ei gyfarwyddyd ef, rhag dywedyd dim na byddai ganddo yr awdurdod uchaf drosto.

Hynod o werthfawr yn y deyrnas hon, ac y dymunem yn fawr weled rhyw beth tebyg iddynt yn Nghymru, er tynu allan rai o'n gwŷr grymus, ydyw y Darlithiau a draddodir mewn cysylltiad â gwahanol sefydliadau, ar ryw destynau pwysig perthynol i seiliau neu gynnwys ein ffydd; gyda'r dealltwriaeth, yn y cyffredin, fod y sawl a ymgymeront â'u traddodi yn ymgymeryd hefyd â'u dwyn allan trwy y wasg. I'r cyfryw ddarlithiau yr ydym yn ddyledus am rai o'r amddiffyniadau mwyaf galluog i grefydd naturiol a dadguddiedig a gyhoeddwyd erioed. Y mae ger ein bron yn awr dair cyfrol o'r fath ddarlithiau, a draddodwyd mewn cysylltiad â gwahanol sefydliadau, ag y dymunem alw sylw ein darllenwyr atynt. Un ydyw, *The Creeds of the Church, in their Relations to the Word of God and to the Conscience of the Christian. The Hulsean Lectures for the year* 1857. *By* Charles Anthony Swainson, M.A., *Principal of the Theological College, and Prebendary of Chichester. Formerly Fellow and Tutor of Christ's College, Cambridge.* Y mae yr awdwr yma yn amcanu edrych, fel y gwelir, ar athrawiaethau Cristionogaeth oddiar safle ag nas gallai golygiad a thraethiad meistrolgar arnynt oddiarno, lai na bod yn dra dyddorol ar unrhyw adeg, ond yn fwy neillduol felly y dyddiau hyn, pan y mae cynifer yn ceisio gosod i fyny ryw safon arall i ffydd heblaw y dadguddiad dwyfol. Y mae yr awdwr, yn amlwg, yn ymdeimlo â'r perygl y mae lliaws o feddyliau yn ein gwlad yn agored iddo oddiwrth yr ymosodiadau a wneir ar yr efengyl gan ysbryd ammheus yr oes; ac er fod yma aml ymadrodd sydd yn ymddangos braidd yn amwysawl, ambell ganiatâd anochelgar, ac ambell honiad ansicr, eto, ar y cyfan, nis gall neb, dybygem, lai na chydnabod ynddo amddiffynydd gwerthfawr a gonest i ffydd yr efengyl, fel y cyflwynir hi ger bron y byd gan yr ysgrifenwyr ysbrydoledig. Pris y llyfr yw naw swllt.

Llyfr o nodwedd uwch, ac un sydd yn amlwg wedi costio i'r awdwr lafur meddwl mawr, manwl, a maith, ydyw, *The Doctrine of the Atonement, Deduced from Scripture and vindicated from Misrepresentations and Objections. Six Discourses, preached before the University of Dublin, being the Donnellan Lectures for the year* 1857. *By* John Cotter Macdonnell, B.D., Ex. Sch. T.C.D., *Vicar of Laracot, Diocese of Meath.* Y mae yn hysbys i bawb cydnabyddus â sefyllfa bresennol Duwinyddiaeth, fod y dadleuon yn erbyn athrawiaethau uniongyrchol y dadguddiad dwyfol, ac yn neillduol athrawiaeth yr iawn, er i fesur mawr yr un yn eu natur, eto wedi newid yn ddirfawr yn eu ffurfiau, i'r hyn oeddent hyd yn nôd ugain mlynedd yn ôl. Y mae yn syn y cyfnewidiad sydd wedi cymeryd lle mewn amser mor fyr. Yr un dadleuon yn gwbl, ac heb braidd ddim gwahaniaeth yn eu ffurf, a ddygid yn erbyn y gwirionedd pan ei hamddiffynid gan y Doctor Owen a'i gydoeswyr galluog, âg a ddygid yn ei erbyn yn mhen cant a hanner o flynyddoedd drachefn, pan y daeth Veysie, a'r Archesgob Magee, a Dr. Pye Smith, a Dr. Wardlaw, ac eraill, i'r maes i'w amddiffyn. Ond erbyn y dyddiau hyn y mae ffurfiau y gwrthddadleuon wedi cyfnewid i'r fath raddau, fel y mae ysgrifeniadau yr hen gewri y cyfeiriasom atynt, er y parhânt byth yn eu gwerth amddiffynol i'r athrawiaeth fel gwirionedd dadguddiedig, eto mewn cymhariaeth, yn gwbl anghyfaddas i ateb i anghenrheidiau y ddadl mewn amgylchiadau mor wahanol. Y mae yn ddymunol iawn felly cyfarfod â llyfr sydd yn cymeryd i fyny blaid y gwirionedd yn ngwyneb yr ymosodiadau presennol arno; yn edrych yn gwbl

ddiofu yn llygad y dadleuwr mwyaf golygus yn ei erbyn; yn teimlo y fath hyder yn ei nerth ag nad yw yn amcanu at unrhyw fantais annheg i'w amddiffyn; yn dynoethi yn gwbl eudeb yr ymosodiadau yr ymffrostiai gelynion y gwirionedd ynddynt, ac yr oedd rhai o'i garedigion braidd yn arswydo rhagddynt; ac yn gadael argyhoeddiad tawel yn meddwl yr ymofynydd diduedd fod y gwirionedd megys ag y mae yn yr Iesu â chadernid tragywyddol ynddo. Cyfryw, yn ein bryd ni, yw y gyfrol hon; ac felly yr ydym, heb broffesu cydolygiad hollol â'r awdwr ymhob gosodiad, yn gallu er hyny ei chymhell yn y modd mwyaf calonog, i sylw ein holl ddarllenwyr. Pris y gyfrol ydyw saith swllt.

Ond y llyfr, uwchlaw y cwbl, yr ydym yn teimlo hyfrydwch yn ein bod yn gallu ei gyflwyno i sylw y rhai mwyaf meddylgar o'n darllenwyr, ydyw, *The Limits of Religious Thought Examined. In Eight Lectures preached before the University of Oxford in the year* 1858 *on the foundation of the Rev.* John Bampton, M.A., *Canon of Salisbury. By* Henry Longueville Mansel, B.D., *Reader in Moral and Metaphysical Philosophy at Magdalen College; Tutor and late Fellow of St. John's College.* Yr oedd Mr. Mansel yn dra adnabyddus o'r blaen i gylch ëang o ddarllenwyr, trwy ei argraffiad o *Artis Logicae Rudimenta* Aldrich, gyda nodiadau rhagorol; trwy ei *Prolegomena Logica* ei hunan; ac, yn neillduol, trwy ei erthygl ardderchog dan y gair *Metaphysics*, yn yr argraffiad sydd yn awr yn cael ei gyhoeddi o'r *Encyclopaedia Britannica.* Yr ydym yn deall ei fod yn cael ei gydnabod yn gyffredinol yn Rhydychain, fel un o'r meddyliau galluocaf a berthyn i'r Brifysgol. Iddo ef, gyda Mr. Veitch, yr ymddiriedwyd golygu cyhoeddiad Darlithiau Syr William Hamilton ar Arddansoddiaeth a Rhesymeg, y rhai, y mae yn dda genym ddeall, sydd ar ddyfod allan o'r wasg. Yr oedd yn llawenydd mawr gan laweroedd glywed ei fod wedi ei benodi, ac wedi ymgymeryd â'r gorchwyl o draddodi y *Bampton Lectures* am y flwyddyn hon, ac nid ychydig y dysgwyliad a goleddid am eu hymddangosiad yn argraffedig; ac yr ydym yn gwbl hyderus, od oedd y dysgwyliad am danynt yn fawr, y bydd y llawenydd o'u cael yn fwy. Fe werthwyd yr argraffiad cyntaf yn hollol mewn ychydig ddyddiau, fel nad oedd copi i'w gael am odid un pris. Fe ofalodd y cyhoeddwr, pa fodd bynag, am ddwyn allan argraffiad arall yn ddioed. Nid ydym wedi gweled yr ail argraffiad, ac nis gwyddom a oes un gwahaniaeth rhyngddo a'r cyntaf. Ein tyb yw, gan nad oedd ond ychydig wythnosau rhwng y ddau argraffiad, nas gallant amrywio dim. Ymofyniad hynod o bwysig i ddyn yn ei gysylltiad â chrefydd yw, Ymha le y terfyna ei ddibyniad ar gasgliadau ei reswm ei hun, a pha bryd, os yw i wneyd hyny oll, y mae i'w ddodi ei hunan i dywysiad rhyw un neu rywbeth uwchlaw iddo? Fe fyn rhai, o leiaf dyna duedd amlwg eu dysgeidiaeth, nad yw dyn i arfer ei reswm personol ei hunan oll mewn crefydd, ond i ymddiried yn gwbl i gyfarwyddyd yr eglwys, gan gredu yn unig ar ei hawdurdod hi, yr hyn nas gall weled un rheswm drosto, y mae cymaint, yn wir, o reswm ag sydd ganddo ef yn ei erbyn: tra y mae eraill yn honi nad oes un awdurdod uwch mewn crefydd, mwy nag mewn dim arall i ddyn, na'i reswm ei hunan; fod dadguddiad, yn ystyr Cristionogion o'r gair, nid yn unig yn beth nad yw yn bod, ond yn beth anmhosibl; ie, yn wir, pe byddai yn bosibl, yn beth afreidiol: y rhaid i'r dadguddiad fod o bethau o fewn cylch ymwybodolrwydd y dyn

wedi eu dadguddio, ac os felly, meddant hwy, yn *afreidiol* iddo; neu ynte, uwchlaw ei ddirnadaeth, ac os felly yn *ddiwerth* iddo. Yn ganlynol nad ydyw ysbrydoliaeth, mewn gwirionedd, yn ddim amgen na gallu i ymaflyd yn ffeithiau mawr ymwybodolrwydd, dwyn y rhai hyny allan ger bron y byd, gan rai yn gywirach a chan eraill yn anghywirach, ac felly fod pob peth a'i proffeso ei hunan yn ddadguddiad, i'w wrthod, ar unwaith, os bydd dim ynddo nas gall y dyn sydd yn ei osod ei hunan yn feirniad arno ei ddwyn dan ddarostyngiad hollol i'w reswm ei hun. O fewn y ddau eithaf hyn y mae dosbarthiadau eraill, yn gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd oddiar yr un egwyddorion, er nad yn sefyll mor dyn drostynt, ond eto y naill mewn gwirionedd yn cymeryd meddwl dyn ei hunan yn derfynau dadguddiad, a'r lleill yn treisio rheswm o'r tu arall i ymostwng i'r hyn a hònir sydd ddadguddiad. Yn awr dyma y cwestiwn mawr, yn ei wahanol gysylltiadau, a ddygir dan ein sylw yn y darlithiau hyn. Ymofynir yn deg i'r lle sydd i reswm a'r lle sydd i ffydd mewn Duwinyddiaeth a Chrefydd; a chan chwilio yn gyntaf i derfynau anghenrheidiol y meddwl dynol yn ei ymchwiliadau cyffredin, a'i gael, *tu allan* i gylch crefydd, dan anghenrheidrwydd yn ngwyneb *rheswm ei hunan* i gredu yr hyn sydd uwchlaw rheswm, y mae yn dangos yn eglur nad yw dadguddiad yn gosod unrhyw anghenrheidrwydd arno nad oedd *tano o'r blaen ac yn annibynol arno*, ac felly fod yn gwbl afresymol ei wrthod ar y tir hwnw. Heb ymhoni fod y dadguddiad dwyfol yn rhoddi eglurhâd boddlonol, mewn ystyr athronyddol, ar y cwestiynau mawr a ddygir ganddo ger ein bron, y mae yn ei gael er hyny yn berffaith i ateb amcan mawr y cyflwyniad o hono ger bron y byd, sef cyfarwyddo ymddygiadau dynion at yr hyn sydd ddyledus arnynt a manteisiol iddynt, gyda golwg ar y cysylltiadau ofnadwy a thragywyddol sydd rhyngddynt â gwrthddrychau nas gallant ffurfio unrhyw ddirnadaeth debyg i gywir mewn ystyr arddansoddol am danynt. Yn nghylch ei ymdriniaeth, y mae yn dwyn ger bron syniadau amryw o'r athronwyr anghristaidd er dangos eu gwrthuni a'u hynfydrwydd yn gwrthod symledd y dadguddiad dwyfol am nas gallant ddwyn ei ffeithiau dan ddarostyngiad i'w rheswm, tra eu hunain yn ymhoni dirnadaeth o'r hyn sydd yn annhraethol bellach oddiwrth reswm. Mae y llyfr wedi ei gyfansoddi yn ngwir ysbryd yr Esgob Butler yn ei *Analogy*, ac yn ngoleuni a than dywysiad, er nad mewn un modd mewn ysbryd gwasaidd, Arddansoddiaeth Syr William Hamilton. Ni a ddymunem gymhell pob gŵr ieuanc meddylgar, a fyno weled cysondeb a rhesymoldeb ymddarostyngiad hollol i awdurdod y dadguddiad dwyfol, a chydweddiad perffaith ffydd ddiffuant, syml, yn nhystiolaeth yr efengyl, â'r athroniaeth uchaf sydd wedi ei chyrhaedd gan y meddwl dynol, fynu y llyfr hwn, ei astudio yn fanwl a gofalus, nes gwneyd ei gynnwys yn eiddo hollol iddo ei hun. Pris y llyfr yw deuddeg swllt.

Bydd yn dda, y mae yn ddiammheu genym, gan lawer o'n darllenwyr gael yr hysbysiad fod cyfrol wedi ei chyhoeddi o *Lectures and Addresses on Literary and Social Topics. By the late* Rev. Frederick W. Robertson, M.A., *of Brighton.* Cyhoeddasid rhai o'r Darlithiau yn y gyfrol hon gan Mr. Robertson ei hunan, ac y mae y gweddill wedi eu cyhoeddi, naill ai oddiwrth ryw goflon yn ei law-ysgrifen ei hunan, neu ynte o nodiadau a gymerwyd gan rywrai pan oedd yn traddodi o'r hyn a leferid

ganddo. Y mae yr awdwr athrylithfawr, yn y gyfrol hon, mewn gwedd wahanol i'r darluniau blaenorol a gawsom o hono yn ei bregéthau, ond y mae mor feddylgar ac mor wreiddiol ac mor *ddifrifol* ac mor hyawdl yn y gyfrol hon, ag yn y cyfrolau eraill. Mae ei *syniadau* neillduol ynghylch y Sabbath, a rhyw destynau eraill, yn dyfod yn bur amlwg yma ger bron y darllenydd. Par hyny, fe allai, i lawer feddwl yn waelach am dani, a'i gwneuthur yn llawer llai derbyniol. Ond, wedi y cwbl, gall y doeth wneyd defnydd da o honi iddo ei hunan, a thrwyddo ei hunan i eraill. Mae y Rhagymadrodd i'r gyfrol yn rhoddi i ni ryw ychydig o gyfeiriad ato, megys cip-olwg, cymaint ag i beri i ni awyddu yn fawr am ychwaneg. Da genym ddeall y gallwn ddysgwyl am dair cyfrol eto o'i ysgrifeniadau. Un o Ddarlithiau ar yr Epistolau at y Corinthiaid, un arall ar Genesis, Samuel, ac Actau yr Apostolion; a chyfrol arall yn cynnwys ei lythyrau ar Gwestiynau Duwinyddol, Athronyddol, a Chymdeithasol.

Derbyniasom y Rhan 1, a'r 2, o'r *Anianydd Cristionogol, neu Gysylltiad Gwyddoniaeth ac Athroniaeth â Chrefydd; gan* Thomas Dick, LL.D., F.R.A.S., *gyda Darluniau: wedi ei gyfieithu gan y Parch.* Thomas Levi. Y mae y llyfr hwn yn dra phoblogaidd yn y deyrnas hon ac yn *Unol* Daleithiau yr America. Y mae y cyfieithiad presennol wedi ei wneyd o'r unfed argraffiad ar hugain. Cyhoeddwyd cyfieithiad blaenorol o hono yn y Gymraeg, yr hwn a wnaed, os ydym yn cofio yn iawn, gan y diweddar Thomas Jones, Amlwch. Ond fe helaethwyd y gwaith gwreiddiol ar ol cyhoeddi y cyfieithiad Cymreig, nes ei wneuthur agos yn gymaint arall, fel yr oedd y drws yn gwbl agored i gyfieithiad newydd; ac y mae yn llawenydd mawr genym fod gŵr mor gymhwys a'n hanwyl gyfaill, Mr. Levi, gwedi cymeryd y gorchwyl hwnw mewn llaw. Nid oes eisieu darllen mwy na'r rhifynau ger ein bron er cael prawf fod y cyfieithydd wedi llwyddo yn rhagorol i drosglwyddo meddwl yr awdwr, mewn iaith mor rwydd, ac eglur, a chywir, ac ystwyth, a chadarn, ag i beri i un allu eu darllen drosodd heb deimlo, oddieithr yn dra achlysurol, nad gwaith gwreiddiol Cymreig diledryw ydyw. Yr ydym yn ystyried hyny yn brif ragoriaeth pob cyfieithiad, ac yn rhagoriaeth nad ydyw ond yn dra anfynych, mewn cymhariaeth, yn cael ei gyrhaedd. Y mae yr Anianydd Cristionogol, pa fodd bynag, yn llyfr ag y gall y Cymro uniaith ei ddeall, ond rhoddi ychydig o'r meddwl sydd yn eiddo iddo ar waith i ymgais at hyny. Yr ydym yn gobeithio y bydd y derbyniad a roddir i'r llyfr y fath ag i sicrhâu, nid yn unig elw cyfreithlawn llafur a masnach i'r cyfieithydd a'r cyhoeddwr, ond i sicrhâu i filoedd ein gwlad fantais yn eu cyrhaedd, yn eu tai, ac yn eu meddiant, i ymgydnabyddu â'r Anfeidrol yn yr amlygiadau a roddes o hono ei hunan i'w grëaduriaid yn holl waith ei ddwylaw, a'u dysgu i ystyried ac i deimlo nad oes dim yn rhy ddistadl i'w ddangos, dim mor fawr ag i'w guddio, na dim mor agos atynt nad yw efe yn nês. Yr ydym o'n calon yn dymuno llwydd i'r anturiaeth.



P. M. EVANS, ARGRAFFYDD, TREFFYNNON.

